"Uncle Tom's Cabin."

# CABAN F'EWYTHR TWM;

NEU,

## Fywyd yn mhlith yr Iselradd.

GAN HARRIET BEECHER STOWE.



O ARGRAFFIAD LLUNDAIN WEDI EI DDIWYGIO GAN ROBERT EVERETT.

*REMSEN*, *N. Y.*:
ARGRAFFWYD GAN JOHN R. EVERETT,
SWYDDFA Y "CENHADWR."
1854.

PRIS PUM SWLLT.

# CABAN F'EWYTHR TWM;

NEU,

## Fywyd yn mhlith yr Iselradd.

GAN HARRIET BEECHER STOWE.

Gyda Naw-ar-hugain o Gerfluniau.

*CYFIEITHIAD HUGH WILLIAMS, GYNT GOLYGYDD Y "CYMRO."*

A ADOLYGWYD AC A DDIWYGIWYD GAN ROBERT EVERETT.

*REMSEN, N. Y.:*
ARGRAFFWYD GAN J. R. EVERETT.
1854.

# RHAGYMADRODD.

Y mae testyn y Llyfr hwn, sef y caethiwed Americanaidd, yn un o'r testynau pwysicaf ag y gall un awdwr nac awdures ysgrifenu arno. Y mae y Llyfr wedi ei ysgrifenu ar ddull anarferol o ddifyrus a deniadol i ddarllenwyr yn gyffredinol, ei ysbryd a'i iaith yn hynaws a boneddigaidd, eto yn ffyddlon a diweniaith yn y darluniadau a roddir o'r anghyfiawnder a'r calodi a ddyoddefir dan y drefniant gaethiwol. Nis gall un dyn o chwaeth a theimlad dros ei gyd-ddyn, ei ddarllen, heb fod ei enaid yn ymgynhyrfu ynddo, mewn dymuniadau ac mewn deisyfiadau at Dad y trugareddau am fod y camwri mawr hwn, sydd yn nôd mor waradwyddus arnom fel gwlad, yn cael ei fythol ddileu, a hyny gyda brys.

Darlunir yn y Llyfr, a hyny yn y dull mwyaf naturiol ac esmwyth, bob rhyw gymeriadau yn mhlith meistriaid a gweision, caethwerthwyr a chaethbrynwyr, helwyr a dalwyr dynion, edrychwyr a phawb, teimladwy a dideimlad. Yn amrywiaeth y cymeriadau, canfyddir y dyn bydol a gofalus, y dyn dyryslyd ei amgylchiadau, yr hunanol a chaled, y diofal, y Cristion tyner a chydwybodol sydd eto dan ddylanwad trefniant anghyfiawn a llygredig; dangosir y cymeriadau mwyaf anwylaidd a nefolaidd yn mherson Eva fach ac Uncle Tom, a'r mwyaf uffernol a ganfyddwyd mewn cnawd dynol erioed yn mherson Simon Legree a rhai eraill cyffelyb iddo. Dangosir y teimladau mwyaf toddedig a drylliedig pan y mae teuluoedd a wasgarwyd dros flynyddoedd, yn y diwedd yn cwrdd yn nghyd, hwyrach yn annysgwyliadwy, ar dir rhyddid ac o gyrhaedd gafael y gorthrymwr mwy.

Y golygfeydd brawychus a ddarlunir, megys y ddiangfa ar y talpiau rhew dros yr Ohio, ymdafliad y fam dros y bwrdd a boddi ar ol colli ei phlentyn, llofruddiaeth ddirgelaidd Prue, fflangelliad Twm i farwolaeth, cyfyngderau a ffoedigaeth Cassy ac Emmeline, a'r cyffelyb, ydynt oll yn ffeithiau adnabyddus am bersonau yn y cyffelyb amgylchiadau. Mae y Llyfr trwyddo oll yn anadlu ysbryd dyngarol, Cristionogol, a thra efengylaidd.

Sefydliad Cyfraith y Caeth Ffoedig oedd yr hyn a gynhyrfodd ysbryd Mrs. Stowe i gyfansoddi a chyhoeddi y Llyfr, a llawer yn ddiau a'i galwant yn wynfydedig ac a fendithiant ei choffadwriaeth am ddyfod allan i ddeffroi y wlad yn erbyn y fath orthrwm. Y mae yn cael ei ddarllen yn y talaethau Deheuol yn gystal a'r Gogledd, a dygir tystiolaeth gan y caethfeistri eu hunain i gywirdeb ei ddarluniadau.

Ni ddaeth o'r Wasg erioed yn ddiau yn yr oesoedd diweddaraf hyn, Lyfr a dderbyniodd gymeradwyaeth mor wresog a darlleniad mor gyffredinol gan y cyhoedd, a'r Llyfr dyddorol hwn. Gwerthwyd tua 50,000 o gopïau o hono yn y ddeufis cyntaf ar ol ei ymddangosiad; ac o hyny hyd yn awr y mae tua 300,000 o gopïau o hono wedi eu gwerthu yn America, ac yn mhell dros 1,000,000 yn Mhrydain Fawr a gwledydd eraill. Effeithia gyfnod newydd ar yr achos ag y daeth allan i'w bleidio. Mae wedi ei gyfieithu eisoes i amrywiol ieithoedd.

Edrychasom yn fanwl a gofalus dros y Cyfieithiad i'r Gymraeg, gan amcanu ac ymdrechu ei gael yn gyfieithiad naturiol a chywir. Yr ydym yn awr yn ei gyflwyno yn bryderus i Gymry America, gan obeithio y rhoddir iddo dderbyniad cynhes a chyffredinol, ac y gwna y lledaeniad o hono yn ein hiaith dan ddwyfol fendith lawer o ddaioni.

*Remsen*, *N. Y.*, *Chwefror* 14, 1854. R. E.

# TAFLEN Y TESTYNAU.

# CABAN F'EWYTHR TWM;

## NEU, FYWYD YN MHLITH YR ISELRADD.

---

### PENNOD I.

YN MHA UN Y GWEL Y DARLLENYDD DDYN O DEIMLAD.

Yn hwyr brydnawn ar ddiwrnod oer yn mis Chwefror, yr oedd dau ŵr boneddig yn eistedd gyda'u gilydd uwch ben eu gwin, mewn parlwr dodrefnus yn nhref P—, yn Kentucky. Nid oedd na gwas na morwyn yn yr ystafell, ac ymddangosai'r ddau foneddwr, a'u cadeiriau yn ymyl eu gilydd, fel pe buasent yn siarad yn bur ddifrifol ar ryw fater neu gilydd.

Er mwyn cyfleusdra, yr ydym, hyd yma, wedi eu galw yn ddau ŵr *boneddig*. Ond digon prin yr oedd un o honynt, ar ol ei chwalu a'i chwilio, yn deilwng o gael ei osod yn y dosbarth hwn. Dyn byr amrosgo ydoedd, a hagr o bryd a gwedd, yn swagro a chymeryd arno, fel ag y bydd iselddyn yn ceisio ymgodi yn y byd, ac yn ymwthio i fysg ei well cyn gyru am dano. Yr oedd ei wisgiad yn cytuno i'r dim â'i ddull ysgoywedd,—gwasgod fraith am dano, a napcyn glâs yn llawn o spotiau melynion am ei wddf, a hwnw wedi ei gylymu â chwlwm dolen, a'i bigau yn y gwynt, yn un hoedyn fel yntau. Gwisgai fodrwyau ar fysedd ei ddwylaw mawrion a hyllion, a chadwen aur fawr wrth ei oriawr, lle crogai twr o seliau o bob lliw, y rhai a ysgydwid ganddo yn ol ac yn mlaen wrth siarad, fel pe buasent yn llawer o bleser iddo. Wrth ymddyddan, yr oedd yn hollol esgeulus o reolau gramadeg, ac yn taflu i mewn, fel y byddai'n gyfleus, lwon a rhegfeydd, pa rai a adawn allan, er maint ein hawydd am fod yn fanwl.

Yr oedd y llall, Mr. Shelby, yn ymddangos fel gŵr boneddig; ac yr oedd dodrefniad y tŷ, ac ymddangosiad cyffredinol yr ystafell, yn dangos amgylchiadau cysurus, ïe, cyfoethog. Fel ag y dywedasom yn barod, yr oeddynt ar ganol ymddyddan pur ddifrifol.

"Dyna fel y settlwn i 'r mater," ebe Mr. Shelby.

"Ni fedra i ddim gneud busnes fel yna—na fedra i 'n wir, Mr. Shelby," ebe'r llall, gan ddal glasiad o win rhyngddo a'r goleu.

"Y gwir ydyw hyn, Haley, mae Twm yn fachgen heb ei fath; ac y mae yn werth hyny, aed i'r man y myno—sobr, gonest, ac yn edrych ar ol fy holl ffarm i, fel y cloc."

"Gonest, yn ol fel y mae niggars yn myn'd, ych chi 'n feddwl," ebe Haley, gan yfed glasiad o frandi.

"Nage'n wir; mae Twm yn fachgen da, sobr, call, a chrefyddol. Fe aeth at grefydd mewn *camp meeting* tua phedair blynedd yn ol, ac yr ydwyf yn meddwl iddo gael crefydd *iawn*. Mi roddais bob ymddiried ynddo byth wedi hyny, am arian, tai, ceffylau,—a gadewais iddo fyn'd a dyfod ar hyd y wlad, ac yr wyf wedi ei gael yn un cywir a theg yn mhob peth."

"Mae rhai pobol na fynan' nhw ddim fod niggars crefyddol i'w cael," ebe Haley, gan estyn ei law yn galon agored, "ond rydw *i 'n* coelio fod. Fu gen i un yn y lot dd'waetha a'th gen i lawr i Orleans—yn wir 'roedd hi gystal a phregath i glywad y creadur hwnw'n gweddio; ac yr oedd o mor ddystaw a llonydd. Mi ges i bris da am dano hefyd; o herwydd fi prynas o'n rhad, gan ddyn oedd yn gorfod gwerthu; mi 'nillis chwe' can' dolar arno fo. Ydw, ydw, 'rwy i 'n ystyried crefydd yn gryn werth mewn niggar, os bydd hi o'r iawn ryw, yn ddiamheu."

"Wel, mae gan Twm grefydd iawn, os bu gan neb erioed un iawn," ebe'r llall. "Dim ond yr Hydref diweddaf, mi gollyngais ef i Cincinnati, heb neb gydag ef, i wneud busnes, a dyfod â phum' can' dolar adref. 'Twm,' ebe fi wrtho, 'yr ydw i 'n dy goelio di am dy fod yn Gristion, mi wn i na thwylli di mo'nof fi.' Fe ddaeth Twm adref fel y dur—mi wyddwn i y doi o. Mi glywais fod rhyw bethau gwael wedi dweyd wrtho, 'Twm, pa'm na chymri di 'r goes i Canada?' 'Na, na, mae mistar wedi nghoelio i, fedrwn i ddim gneud sut beth.' Nhw ddeudson wrtha i wedi'n. Rhaid i mi ddeud fod yn ddrwg gen' i 'madael â Thwm. Chwi ddylech roi'r gweddill o'r ddyled am dano; a chwi wnaech hefyd, Haley, pe bai genych ddim cydwybod."

"Wel mae gen' i gymin' o gydwybod ag fedr dyn mewn busnes fforddio gadw—tipyn bach i gym'ryd fy llŵ arno, fel pedai," ebe'r masnachwr, yn ddigrif; "ac yr wy' i 'n barod i neud unpeth mewn rheswm i blesio ffrindia, ond y mae hyn, welwch chi, dipyn yn rhy galed ar greadur gwan—braidd yn rhy galed."

Ac fe och'neidiodd Haley yn ddwys, gan arllwys rhagor o frandi.

"Wel, ynte, sut y settlwch chwi'r mater," ebe Shelby, ar ol enyd diflas o ddystawrwydd.

"Oes genoch chi 'run hogyn ne hogen, fedrech chi dawlu mewn hefo Twm?"

"Hym!—nac oes, 'run fedra i hepgor yn dda; a dweyd y gwir, gorfodaeth galed sy'n peri i mi werthu ffordd yn y byd. Mae'n gâs gen i 'madael â mhobl, dyna'r gwir."

Ar hyn agorwyd y drws, a daeth bachgenyn i mewn; *quadroon* bach ydoedd, rhwng pedair a phump oed, a rhywbeth yn hynod o ddel a serchus yn ei ymddangosiad. Ei wallt du sidanaidd, yn hongian yn droellog o gwmpas ei wyneb crwn, a dau lygad du, yn llawn o fywyd a chariad, yn serenu oddi tan ei aeliau hirion, fel yr oedd yn yspio yn chwilfrydus i'r ystafell. Gosodasid dull ei gorphoriad allan yn hardd mewn gwisg o goch a melyn, yn ei ffitio i'r dim; a gallasid gweled, rhwng ei osgo digrif, yn gymysg ac yswildod, ei fod yn arfer cael moethau gan ei feistr.

"Holo, Jim Crow!" ebe Mr. Shelby, gan chwibanu, a thaflu swp o resins ato, "cwyd hwnyna."

Neidiodd y bychan nerth ei egni at y rhodd, â'i feistr yn chwerthin am ei ben.

"Tyr'd yma, Jim Crow!" eb efe: aeth y plentyn ato; dododd yntau ei law ar ei ben, a gogleisiodd ef dan ei ên.

"'Rwan, Jim, dangos i'r gŵr boneddig yma sut y medri di ganu a dawnsio."

Dechreuodd y bychan un o'r cerddi digrif a bywiog, sydd yn gyffredin yn mysg y bobl dduon, mewn llais peraidd, clir, gan luchio ei draed a'i ddwylaw, a'i holl gorph yn mhob ystumiau, a chadw amser y dôn i'r dim.

"Brafo!" ebe Haley, ac a daflodd ddarn o eurafal iddo.

"'Rwan, Jim, cerdda fel F'Ewyrth Cudjoe, pan fydd y cryd cymalau arno," ebe Shelby.

Fe drodd y plentyn ei gymalau ystwyth mewn mynyd yn wyrgeimion, ac a gerddodd yn wâr-grwm o glûn i glûn o gwmpas yr ystafell, a ffôn ei feistr yn ei law, â'i wyneb bach cyn sured, gan boeri o'r naill ochr i'r llall, i ddynwared yr hen ŵr.

Torodd y ddau allan i chwerthin nerth eu penau.

"'Rwan, Jim, sut y bydd yr hen Robbins y blaenor yn ledio y Salm?"

Fe dynodd y bychan ei wyneb crwn yn hirlaes, ac a ddechreuodd ganu Salm trwy ei drwyn, mor sobr a sant.

"Hwrra, brafo! dyna fachgen!" ebe Haley; "fydd 'nyna 'n llanc, mi gymra' i fy llŵ. Ddeuda i chi beth," ebe efe, gan daro ei law ar ysgwydd Shelby, "taflwch y gwalch yna i mewn, ac mi rof ben ar y fargen—gna'n wir. Dowch 'rwan, os nad ydi 'nyna 'n gynyg digon teg."

Gyda'r gair yna agorwyd y drws yn araf bach, daeth dynes ieuanc i mewn, *quadroon*, yn ymddangos oddeutu pump-ar-hugain oed.

Nid oedd eisiau dim ond cip-olwg oddiwrth y plentyn ati hi, i weled mai hi oedd ei fam. Yr un llygad llawn tywyll, â'r aeliau hirion, yr un gwallt llathraidd, dû fel y frân. Torodd y llygedyn ar ei boch yn wrid dros ei hwyneb, pan ganfu y dyn dyeithr yn syllu yn nwydus a digywilydd arni. Yr oedd ei gwisgiad yn daclus, ac yn dangos ei chorphoriad hardd yn dra manteisiol; ac ni ddiangodd ei llaw fechan dlws, a'i throed a'i migwrn del, rhag llygad parod y masnachwr, yr hwn a'i mesurodd o'i phen i'w throed ar amrantyn, o herwydd yr oedd yn gynefin â'r gwaith.

"Wel, Eliza," eb ei meistr, pan welodd hi yn sefyll yn amheus yn y drws.

"Chwilio am Harri 'roeddwn i, Syr, gyda'ch cenad;" ac fe redodd y bychan ati, gan ddangos ei roddion yn nghŵr ei wisg.

"Wel, cymerwch ef allan," ebe Shelby; a hi a frysiodd, a'r plentyn ar ei braich.

"Myn cebyst," ebe'r masnachwr, gan droi at Shelby, "dyna ddernyn o eiddo! Chwi allech 'neud eich ffortiwn efo'r ferch yna yn Orleans, y dydd fyd fynoch chi. Mi welas fwy na mil o ddolars, yn fy nydd, yn cael eu talu i lawr am un ddim mymryn clysach na 'nyna."

"Nid oes arnaf fi ddim eisiau gwneud fy ffortiwn o honi hi," ebe Shelby, yn sychlyd; ac i'r dyben o droi'r ymddyddan at rywbeth arall, efe a dynodd y corcyn o botel o win, ac a ofynodd farn ei gyfaill am dano.

"Campus—dim ail iddo, Syr," ebe'r masnachwr; yna efe a drodd, ac a darawodd ei law yn hyf ar ysgwydd Shelby, gan ddywedyd, "Dowch, faint gym'rwch chi am y ferch? faint ga i ddeud? deudwch y gair!"

"Mr. Haley, nid ydyw hi ddim ar werth," ebe Shelby; "ni chymerai fy ngwraig i mo'i phwysau o aur am dani hi."

"Iê, ie, mae'r merched yn deud fel yna bob amser, am na fedran' nhw ddim cyfri'. Dangoswch chi iddyn' nhw faint o *watches*, a phlu, a gowns sidan, fedran' nhw gael am bwysa' un o aur, fydd hi fel arall; dyna marn i."

"Yr ydw i 'n deud i chi, Haley, na wiw siarad; yr ydw i 'n deud *na*, ac yn meddwl y peth ydw i 'n ddeud," ebe Shelby, yn benderfynol.

"Wel, rhaid i chi adal i mi gael y bachgen, ynte," ebe'r masnachwr; "a rhaid i chi gyfadda mod i'n cynyg yn hardd am dano fo."

"Beth ar wyneb pridd y ddaear sy' arnoch chwi eisia gan y plentyn?" ebe Shelby.

"Mi ddeuda i chwi; mae gen' i ffrind yn dechra busnes yn y gangen yma—prynu bechgyn bach pert clysion, a'u codi nhw i'r farchnad. Petha ffansi yn hollol—mi werthan' yn *waiters*, a phetha felly, i'r bobol fawr, fedyr dalu'n uchel am danyn' nhw. Mae'r peth yn gosod tai mawrion allan mor gampus—hogyn o fachgen clws i agor y drws, a waitio a thendio. Mae prisiau da digynyg am danyn' nhw, ac y mae'r cythral bach digri yma yn medru'r dôn i'r dim—mae o jest y peth."

"Mae'n well gen' i beidio i werthu fo," ebe Mr. Shelby, dan sŷn-fyfyrio; "y gwir ydyw hyn, Syr, yr ydwyf fi yn ddyn o deimlad, ac y mae'n gâs gen' i gym'ryd y plentyn oddiwrth ei fam."

"O, y mae? Felly! Ie—rhwbath o'r natur yna. Yr ydw i 'n dyall yn burion. Mae hi 'n hynod o gâs hefo'r merched weithia. Nid alla i aros namser y gweiddi a'r screchian yma. Mae nhw yn annifyr *ofnadw;* ond mi fydda i yn dyfeisio ffordd i 'sgoi petha fel hyn. Beth pydaech chi yn gyru'r lodas o'r ffordd am ddwrnod neu ddau; yna fe ellir gneud y peth yn ddystaw—y cwbwl drosodd erbyn daw hi adra. Ac fe all'ach gwraig chi roi clust-fodrwya, neu own newydd, neu ryw drinciach o'r fath iddi hi, i neud y mater i fyny."

"Na, mae arnaf fi ofn na wnai hyna mo'r tro."

"Dyn a 'styrio gneiff! Nid ydi'r creduriad yma ddim fel pobol wnion, wyddoch; nhw ddôn drwyddi hi 'n bensych, ond i cym'ryd nhw ffordd ddethe. 'Rwan mae rhai 'n deud," ebe Haley, gydag osgo cyfrinachol, "fod masnach fel yma yn difetha teimlada dyn; ond nid ydi ddim yn cael yr effaith yna arna' i. Yn wir, fedras i 'rioed neud fel mae rhai pobol yn gneud. Mi welas i rai yn tynu plentyn o freichia dynes, ac yn 'i werthu o, a hitha 'n 'sgrechian fel peth o'i cho trwy gydol yr amser; 'does dim byd sy' waeth—mae o 'n difetha eiddo—ac yn i gneud nhw yn werth dim yn y byd weithiau. Mi welas i lodes glws unwaith yn Orleans, yn cael ei gwneud yn werth dim trwy ddideimladrwydd. 'Doedd ar y dyn prynodd hi ddim eisio i babi hi; ac yr oedd hitha yn un darawai'r tant mawr, pan goda'i natur hi. 'Rydw i'n deud i chi, mi wasgodd y plentyn yn ei breichia, ac yr oedd hi 'n siarad yn ddychrynllyd. Mae ngwaed i fel pedai o 'n rhedeg yn oer wrth feddwl am dani hi; a phan gym'son nhw 'r plentyn odd' arni hi, a'i rhoi hi dan glo, mi aeth o'i cho 'n lân, ac fu farw y 'mhen 'rwsnos. Gwastraff pur, Syr, o fil o ddolars, achos dim ond eisio tipyn o deimlad—dyna lle mae hi. Y ffordd ore o lawer ydi bod yn deimladwy; felly bydda i."

Ac fe roddodd y masnachwr ei bwys ar gefn y gadair, gan blethu ei freichiau, ac edrych mor ddiniwed, fel pe buasai yn ystyried ei hun yn ail Wilberforce.

Ymddangosai'r gŵr da fel pe buasai yn teimlo yn ddwys ar y mater; o herwydd tra 'r oedd Mr. Shelby yn pilio eurafal yn ddwys-fyfyriol, fe dorodd Haley allan drachefn, gyda gwylder priodol, fel pe buasai'r gwirionedd yn ei orfodi i ddweyd gair neu ddau yn rhagor.

"Nid ydi ddim yn edrych yn dda ar ddyn ei ganmol ei hunan, 'rwan; ond yr ydw i yn credu mod i yn cael nghym'ryd yn un o'r rhai sy'n dwad â'r ffloc o niggars brafia i'r farchnad—o leia' felly mae nhw yn deud wrtha i; ac os gneis i unwaith, mi neis gan'waith—pob un yn llyfndew ac yn edrych yn dda, ac yr ydw i 'n colli mor lleied a nemor un mewn busnes. Ac yr ydw i yn cyfri'r cwbwl i null i o ymddwyn tuag atyn nhw; a theimladrwydd, Syr, mi fentra ddeud, ydi *egwyddor* fy ymddygiad i."

Ni wyddai Mr. Shelby ddim beth i'w ddweyd, o ganlyniad efe a ddywedodd, "Felly'n wir!"

"Mae llawer wedi bod yn chwerthin am fy mhen i, Syr, ac wedi siarad â fi. Nid ydi fy ffordd i ddim yn boblogaidd, ddim yn un gyffredin; ond yr ydw i yn dal ati hi, Syr; yn dal ati hi, ac yn ynill arian, Syr; ydi, Syr, mae hi yn talu i ffordd, fel pedai;" ac fe chwarddodd y masnachwr am ben ei fwysair.

Yr oedd rhywbeth mor bupuraidd a gwreiddiol yn yr esboniadau hyn ar deimladrwydd fel nas gallai Mr. Shelby lai na chwerthin o ran cwmpeini. Ac efallai dy fod dithau yn chwerthin, ddarllenydd anwyl; ond ti a wyddost fod teimladrwydd yn ymddangos y dyddiau hyn yn y fath ystumiau dyeithr, ac nad oes diwedd ar y pethau digrif a ddywedir ac a wneir gan bobl o deimlad.

Cymerodd y masnachwr ei hyfder pan welodd Mr. Shelby yn chwerthin.

"Mae 'n bur od, fedrwn i yn y myw guro hyn i bena' pobl. 'Rwan, dyna Twm Loker, fy hen bartner i, lawr yn Natchez; yr oedd Twm yn eitha' dyn, ond yn chware'r gŵr drwg efo'r niggars,—ar egwyddor, welwch chi, o herwydd 'r oedd Twm mor lân ei galon ag undyn lyncodd laeth 'rioed; dyna 'i *system* o, Syr. Fyddwn i 'n siarad â Thwm. 'Twm,' meddwn i, 'pan fo 'r merched yn ffretio ac yn crio, pwy les i gwthio nhw, a'u taro yn eu talceni? Lol ydy 'r cwbwl,' meddwn i, 'a 'dydi o 'n gneud dim lles. Waeth iddyn' nhw grio tipyn na pheidio,' meddwn i, 'on'd 'tydi o 'n naturiol,' meddwn i, 'ac os na cheiff natur dori allan un ffordd, hi dŷr ffordd arall. Heblaw hyny, Twm,' meddwn i, 'mae o 'n spwylio 'r merched; mae 'n nhw 'n

myn'd yn sâl ac yn ddigalon; ac weithia yn hyll,—'n enwedig merched melynddu, a gwaeth-a'r gŵr drwg ydi tori nhw i mewn. 'Rwan,' meddwn i, 'pa'm na fedrat ti perswadio nhw, a deud yn deg wrthyn' nhw? Cymer di ngair i, Twm, mae tipyn o deimlad deflir i mewn yn myn'd ymhellach o lawer na phwnio a phanu; ac y mae o 'n talu 'n well,' meddwn i, 'cymer di ngair i.' Ond ni fedrai Twm ddim pe crogid o; ac fe ddifethodd gimint, nes y gorfu i mi 'madal â fo, serch i fod o 'n ddyn digon da 'i natur, ac mor deced mewn busnes ag undyn."

"Ac a ydych chwi yn cael fod eich ffordd chwi yn ateb yn well nag un Twm?" ebe Mr. Shelby.

"Mi alla fentro deud hyny, Syr. Welwch chi, pan fedra i, ffordd yn y byd, mi fydda 'n gofalu am y darn casaf o'r busnes, fel gwerthu plant, a phetha felly—myn'd â'r fam o'r golwg —allan o olwg allan o feddwl, wyddoch; a phan fydd y cwbl ar ben, a dim help iddo, maen' nhw 'n naturiol yn cynefino. Dim 'r un fath, wyddoch, a phedai nhw yn bobol wnion, wedi dwyn i fyny i ddysgwyl cadw eu plant, a'u gwragedd, a phetha' felly. Wyddoch nad ydi niggars ddygir i fyny fel dylan' nhw gael, ddim yn disgwyl dim byd o'r fath; o ganlyniad mae petha' fel yma yn dwad yn 'smwythach."

"Mae arnaf fi ofn nad ydyw fy niggars i ddim wedi eu dwyn i fyny fel y dylan' nhw, ynte," ebe Mr. Shelby.

"Digon tebyg. Yr ydych chi, pobol Kentucky, yn spwylio 'ch niggars. Mae 'ch amcan chi yn dda, dim dowt; ond 'dydi o 'n ddim caredigrwydd yn diwedd. 'Rwan, niggar sydd i gael ei lachio a'i faeddu ar draws y byd, a'i werthu i Twm, a Dic, ac ni wyddis pwy, nid caredigrwydd ydi rhoi dysgwyliada' mawr iddo fo, a'i ddwyn o i fynu yn rhy dda, o herwydd y mae'r pwnio a'r panu yn galetach o lawer pan dd'on nhw. 'Rwan, mi fentra i ddeud, y bydda 'ch niggars chi yn hollol ddigalon mewn llefydd ag y mae niggars y planfeydd yn chware ac yn chwerthin fel pethau o'u coia. Mae 'n naturiol i bawb feddwl yn dda o'i ffordd ei hun, wyddoch, Mr. Shelby; ac yr ydw i 'n meddwl mod i 'n trin niggars cystal ag y mae 'n werth 'i trin nhw."

"Peth hapus ydyw bod dyn wrth ei fodd," ebe Mr. Shelby, gan godi ei ysgwyddau, gydag arwydd o deimladau lled annghysurus.

"Wel," ebe Haley, ar ol iddynt fod enyd yn tori cnau mewn dystawrwydd, "beth ydach chi 'n ddeud?"

"Mi gymra'r peth dan f' ystyriaeth, ac mi siaradaf â'r wraig," ebe Shelby. "Ar yr un pryd, Haley, os ydych chwi yn dewis cario'r mater ymlaen yn y ffordd ddystaw y buoch yn son am dani, gwell i chwi gadw eich neges yma i chwi eich hun. Os daw'r gair i glustiau mechgyn i, nid gorchwyl hawdd fydd myn'd a neb oddiyma, cymerwch fy ngair i."

"O! siwr iawn, er mwyn pob daioni; mym, wrth gwrs. Ond mi ddeuda i chi, yr ydw i ar frys gwyllt, ac fydd arna i eisio gwybod gynta byth y gallwch chi, beth y galla i ymddibynu arno," ebe efe, gan wisgo ei gôt fawr.

"Wel, galwch i fyny yma rhwng chwech a saith heno, a chwi gewch eich hateb," ebe Shelby; ac allan â'r masnachwr.

"Fuasai'n dda genyf gicio'r gwalch i lawr y grisiau, pe gallaswn," ebe efe wrtho ei hun, pan welodd y drws wedi ei gau ar ei ol, "gyda'i hyfder taeogaidd; ond efe a ŵyr fod y llaw uchaf ganddo. Pe buasai rhywun yn dweyd y gwerthaswn i Twm i fyn'd i'r dehau gydag un o rascaliaid y masnachwyr yma, atebaswn, 'Ai ci yw dy was, fel y gwnelai gyfryw beth?' Ac yn awr, dyna fel y rhaid iddi fod, o ran dim a wn i, a bachgen Eliza yn y fargen! Mi gaf fyd o anhunedd gyda'r wraig yn nghylch hyn; ac o ran Twm hefyd, ran hyny. Dyna beth ydyw bod mewn dyled—och-a-fi! Mae'r cena' yn gweled ei fantais, ac yn penderfynu gwneud y goreu o honi."

Efallai mai yn nhalaeth Kentucky y gwelir caeth-wasanaeth yn ei ffurf esmwythaf. Mae'r gwaith ar ffermydd yn araf a rheolaidd, heb y tymhorau o frys a gyru sydd ar blanfeydd cotwm y dehau, ac felly llafur y negro yn fwy iachus a chymedrol; ac y mae'r meistradoedd yn foddlon ar fael rhesymol, ac heb y temtasiynau i galon-galedwch sydd bob amser yn gorddiwes y natur ddynol, lle bo siawns bod yn gyfoethog ar unwaith yn un pen i'r clorian, a dim i'w wrthbwyso yn amgen na lles y tlawd a'r di-amddiffyn.

Pwy bynag a ymwelo â rhai ffermydd yno, ac a wel diriondeb caruaidd rhai meistradoedd a meistresi, a ffyddlondeb serchlon rhai caeth-weision, efallai y temtir ef i freuddwydio am y ffug-chwedl o sefydliad patriarchaidd, a phethau cyffelyb; ond y mae cysgod tywyll a bygythiol yn hongian uwch ben y cwbl—sef cysgod y *gyfraith*. Cyhyd ag y bo'r gyfraith yn ystyried yr holl fodau dynol hyn, a chanddynt galonau a serchiadau bywiol, megys cynifer o *anifeiliaid* yn perthyn i'w perchenog—cyhyd ag y byddant yn agored, ar farwolaeth neu ddyryswch yn amgylchiadau eu meistr tyner a charedig, i newid cyfiwr o amddiffyniad a thiriondeb am un o drueni anobeithiol a llafur, cyhyd a hyny y bydd yn anmhosibl gwneud dim yn deg na dymunol yn y gweinyddiad mwyaf rheolaidd o gaeth-wasanaeth.

Yr oedd Mr. Shelby yn burion meistr, yn dda ei natur, yn garedig, ac yn dirion tuag at bawb o'i gwmpas, ac nid oedd prinder o ddim a fedrai wneud y negroaid ar ei fferm yn gysurus. Ond yr oedd wedi myned dros ei

ben a'i glustiau mewn busnes, heb fod mor ofalus ag y dylasai, ac felly daeth dyled arno, a dygwyddodd i Haley gael llawer o'i filiau; mae hynyna o eglurhad yn ddigon i esponio'r ymddyddan blaenorol.

Yn awr, fe ddygwyddodd, pan oedd Eliza wrth y drws, iddi glywed digon i ddeall fod y masnachwr yn ceisio prynu rhywun gan ei meistr.

Buasai yn dda ganddi allu aros i glustfeinio wrth ddyfod allan; ond dygwyddodd fod ei meistres yn galw, a gorfu arni frysio i ateb.

Eto yr oedd yn rhyw feddwl iddi glywed y masnachwr yn cynyg am ei bachgen:—ai posibl iddi gamgymeryd? Dechreuodd ei chalon guro, a hi wasgodd y bychan fel heb wybod, nes yr edrychodd yn sÿn yn ei gwyneb.

"Beth sydd arnoch chwi heddyw, Eliza?" eb ei meistres, pan drodd hi y llestr ymolchi, y taflodd i lawr y fasged gwaith, ac yr estynodd grys nos i'w meistres, yn lle y gown sidan y galwasai am dano.

Fe ddychrynodd Eliza. "O missis," ebe hi, gan godi ei golygon; yna hi a eisteddodd ar gadair ac a dorodd allan i feichio crio.

"Eliza, blentyn! beth ddarfu i chwi'" ebe ei meistres.

"O missis, missis!" ebe Eliza, "mae yna fasnachwr wedi bod yn y parlwr yn siarad â mistar, mi clywas o â'm clustia."

"Wel, lolan wirion, beth os oes?"

"O missis, *ydych* chwi yn meddwl y gwnai meistr werthu Harri bach?" Ac fe dorodd y greadures druan allan i wylo'n ddau mwy.

"Gwerthu Harri! Na, peidiwch a gwirioni. Chwi wyddoch nad ydy'ch meistr byth yn delio hefo'r masnachwyr yna o'r dehau, nac yn meddwl gwerthu 'run o'i weision tra'r ymddygant yn iawn. Y wirion, pwy ydych chwi yn feddwl wnai brynu Harri? Ydych chwi yn meddwl fod y byd i gyd yn meddwl cymaint o hono ag ydych chwi, y lolan! Dowch, codwch eich calon, a chauwch fy ngown i. Dyna fo, 'rwan plethwch fy ngwallt i, yn dlws, fel darfu chwi ddysgu y dydd o'r blaen, a pheidiwch a gwrando wrth y drws yn rhagor."

"Wel, missis, wnaech *chwi* byth adael i—i—"

"Lol wirion! na wnawn. I ba beth yr ydych yn siarad fel yna? Mi fydda mor hawdd genyf fi werthu un o mhlant fy hunan. Ond yn wir, Eliza, yr ydych chwi yn myned yn rhy falch o lawer o'r plentyn yna. Fedr dyn ddim dangos ei drwyn tu fewn i'r drws nad ydych yn meddwl fod arno eisiau prynu Harri."

Ar ol ei chalonogi fel hyn gan dôn hyderus ei meistres, aeth Eliza yn mlaen â'i gwaith yn siriol a phrysur, gan chwerthin am ben ei hofnau.

Yr oedd Mrs. Shelby yn wraig o radd uchel mewn moesoldeb yn gystal a synwyr. At y meddwl cadarn a haelfrydig sydd yn fynych yn hynodi gwragedd Kentucky, yr oedd wedi ychwanegu teimladau ag egwyddorion cryfion o grefydd a moesoldeb, ac wedi eu dwyn allan i ymarferiad gyda llawer o egni a medrusrwydd. Nid oedd ei gŵr wedi gwneud unrhyw broffes o grefydd, eto yr oedd ganddo feddwl mawr o grefydd ei wraig, ac ofnai ei chroesi ar faterion o'r fath. Mae'n sicr ei fod yn gadael iddi gael ei ffordd ei hun yn gwbl yn ei hymdrechion canmoladwy dros gysur, addysg, a dyrchafiad ei gweinidogion, er na chymerai un llaw yn y gwaith ei hunan. Mewn gair, os nad oedd yn credu yr athrawiaeth o weithredoedd da dros ben gan y saint, yr oedd ganddo ryw feddwl, rywfodd neu gilydd, fod gan ei wraig ddigon o grefydd i ddau, a mynwesai ryw gysgod o obaith y cai fyned i'r nefoedd drwy helaethrwydd y rhagoriaethau hyny ynddi hi, nad oedd ef yn honi un hawl ynddynt ei hunan.

Y baich trymaf ar ei feddwl, ar ol siarad â'r masnachwr, oedd yr angenrheidrwydd a welai fod am ddweyd y cwbl wrth ei wraig—a chyfarfod y gwrthwynebiad a fyddai hi yn sicr o wneud.

Ni wyddai Mrs. Shelby ddim am amgylchiadau dyrys ei gŵr; a thrwy ei bod yn adnabod ei dymher garedig, yr oedd hi yn hollol ddidwyll wrth nacâu credu drwg-dybiaeth Eliza. Yn wir, aeth y cwbl o'i chof, heb ail-feddwl am dano; ac yn ei pharotoad i fyned allan am y prydnawn, hi a'i gollyngodd o'i meddwl yn llwyr.

---

## PENNOD II.

### Y FAM.

Yr oedd Eliza wedi ei dwyn i fyny gan ei meistres er yn ieuanc, ac wedi cael llawer o'i ffordd ei hun.

Rhaid fod y teithiwr yn y dehau wedi sylwi yn fynych ar yr agwedd foneddigaidd, a'r mwynder llais ac ymddygiad sydd yn hynodi y merched a elwir *quadroon* neu *mulatto*. Ac y mae'r anwylder naturiol yn fynych yn gysylltedig â harddwch pryd a gwedd o'r fath ragoraf, yr hyn sydd yn gwneud y *quadroon* yn brydferth a serchlon yn ei hymddangosiad personol. Nid un ddychymygol ydyw Eliza, ond yr ydym yn ei darlunio fel ag y gwelsom hi flynyddau yn ol yn Kentucky. Dan nawdd a gofal ei meistres, tyfodd Eliza i fyny yn ddyogel rhag y temtasiynau sydd yn gwneud prydferthwch yn gynysgaeth angeuol i gaethferch. Priodwyd hi â dyn ieuanc hardd a deallus, o'r un lliw a hithau, yr hwn oedd gaethwas ar ffarm gyfagos; ei enw oedd George Harris.

Cafodd y dyn ieuanc yma ei gyflogi gan ei berchenog i weithio mewn ffactri, lle y daeth

ei ddeall a'i fedrusrwydd ag ef yn un o'r pen dynion. Efe a ddyfeisiodd beiriant i lanhau'r carth, pa un, ac ystyried ei fanteision a'i amgylchiadau, a ddangosodd gymaint cywreinrwydd a pheiriant nyddu Whitney.

Llanc prydferth yr olwg a moesgar ei ymddygiad oedd, ac yr oedd pawb yn y ffactri yn hoff o hono. Eto, er hyn i gyd, gan nad oedd yn ddyn yn llygad y gyfraith, dim ond anifail, yr oedd yr holl ragoriaethau hyn yn ddarostyngedig i fympwyau perchenog anwybodus, rhagfarnllyd a gorthrymus. Ar ol i'r gŵr hwn glywed am ddyfais George, efe a farchogodd i'r ffactri, i weled pa beth oedd yr anifail deallus yma yn ei gylch. Derbyniwyd ef gyda phob croeso gan y ffactrwr, yr hwn a ddywedodd ei fod yn hynod o ffortunus berchenogi y fath gaethwas.

Aeth George gydag ef trwy'r ffactri, a dangosodd y peiriannwaith iddo, yn llawn bywiogrwydd, gan siarad mor hylithr, sefyll mor syth, ac edrych mor hardd a gwrol, fel ag y dechreuodd ei berchenog deimlo ei fychander. Pwy fusnes oedd gan ei slâf ef rodiana o gwmpas y wlad, dyfeisio peiriannau, a chodi ei ben yn mysg gwŷr boneddigion? Fe roi ef ddiwedd ar hyny yn bur fuan. Fe'i cymerai adref, ac a'i gosodai wrth y gaib a'r rhaw; "gawn weled fydd o mor ysgafndroed." O ganlyniad, fe synodd y ffactrwr a phawb o fewn clyw, pan alwodd am gyflog George, ac yr hysbysodd ei fwriad o'i gymeryd adref.

"Mr. Harris," ebe'r ffactrwr, "onid ydyw hyn yn bur ddirybudd?"

"Beth os ydyw?—onid fi *pia* fo?"

"Fyddan ni 'n foddlon i dalu rhagor o gyflog."

"Dim pwys yn y byd, Syr. Nid rhaid i mi ddim cyflogi 'run o nwylo, os na bydda i 'n dewis."

"Ond y mae yn un rhagorol o gymhwys at y gwaith yma."

"Ydi, mi wranta; fu o ddim yn gymhwys at fawr ddim ddodas i o'i flaen, mi ro ngair i chi."

"Ond cofiwch mai fo ddyfeisiodd y peiriant yma," ebe un o'r gweithwyr, yn ddigon anlwcus.

"O, ïe! peiriant i arbed gwaith, onite? Fe ddyfeisiai un felly, cym'rwch ngair i; gadewch y niggar yn llonydd am hyny, unrhyw amser. Peiriant i arbed gwaith ydi pob un o honyn nhw. Na, rhaid iddo fo 'i throedio hi."

Safodd George fel un wedi ei drywanu, pan glywodd ei dynged yn cael ei thraethu fel hyn gan awdurdod ag y gwyddai na wiw ei wrthddywedyd. Efe a blethodd ei freichiau, ac a wasgodd ei wefusau yn dŷn, ond yr oedd eirias o deimladau chwerwon o'i fewn, yn taflu ffrydiau o dân trwy ei wythienau. Tynodd ei wynt ato yn fyr, ac yr oedd ei lygaid duon yn melltenu fel tân byw; a digon tebyg y buasai'n tori allan mewn ffordd beryglus, oni buasai i'r ffactrwr gyffwrdd â'i benelin, a sisial yn ddystaw yn ei glust: "George, peidiwch a'i dynu yn eich pen, ewch gydag ef heddyw. Ni a wnawn ein goreu i chwi eto."

Canfu'r perchenog y sisial, a dychymygodd y pwrpas, er na chlywodd air o'r hyn a ddywedwyd; a phenderfynodd yn ei feddwl y dodai ei law yn drom ar ei gaethwas.

Cymerwyd George adref, a dodwyd ef wrth y gwaith iselaf ar y ffarm.

Llwyddodd i osod dant i attal tafod; ond yr oedd saethau ei olygon, crychiad ei dalcen, a syrthiad ei wynebpryd, yn rhanau o iaith natur nas medrai eu cuddio—arwyddion anwadadwy nas medrai'r dyn droi yn anifail.

Yn ystod y tymhór dedwydd y bu yn y ffactri y gwelodd George ei wraig, ac y priododd hi. Yr amser hwnw—trwy fod ei feistr yn ei ffafrio ac yn ymddiried ynddo, yr oedd yn cael myn'd a dyfod fel y mynai. Yr oedd Mrs. Shelby yn cymeradwyo'r briodas, a chyda rhywfaint o falchder merch am wneud *match*, yr oedd yn dda ganddi weled ei phen-morwyn yn cael dyn mor ffafriol, o'r un dosbarth a hi ei hun; felly priodwyd hi yn mharlwr mawr ei meistres, a'i meistres â'i dwylaw ei hun a osododd y blodau *orange* yn ngwallt y briodferch, ac a daflodd drosti y *veil* briodas, yr hon ni bu ond anaml iawn yn orchudd i ben harddach; yr oedd yno ddigon o fenyg gwynion, cacenau, a gwin, a gwahoddedigion yn canmol prydferthwch y forwyn a haelioni a charedigrwydd y feistres. Am flwyddyn neu ddwy, byddai Eliza yn gweled ei gŵr yn aml, ac ni bu un cwmwl ar eu llwybr oddieithr colli dau blentyn, o ba rai yr oedd y fam yn hynod o hoff, a gálarodd ar eu hol mor ddwys ag i alw am ymyraeth ei meistres, yr hon, megys mam, a geisiodd ynill ei nwydau gwresog o fewn cylch rheswm ac ysgrythyr.

Ar ol geni Harri, hi a dawelodd, ac a ddaeth yn fwy sefydlog ei meddwl; ymglymodd ei serch yn y bychan yma, a daeth ei theimladau clwyfus i ymiachau. Yr oedd Eliza yn ddynes hapus, hyd yr amser y tynwyd ei gŵr oddiwrth feistr caredig, ac y gosodwyd ef dan iau haiarnaidd ei berchenog yn ol y gyfraith.

Aeth y ffactrwr, yn ol ei air, i ymweled â Mr. Harris, yn mhen tua phythefnos ar ol iddo gymeryd George ymaith, pryd yr oedd yn gobeithio fod ei dymherau wedi oeri, a gwnaeth ei oreu i gael George yn ol.

"Nid rhaid i chwi ddim poeni i siarad dim yn rhagor," eb efe, yn sarug, "mi wn i musnes, Syr."

"Nid oeddwn i ddim am ymyraeth â'ch busnes chwi, Syr. Meddwl yr oeddwn i y gallas-

ech feddwl ei bod yn fantais gollwng y dyn atom ni am y cyflog a gynygiwyd."

"O, yr ydw i 'n deall yn burion. Mi gwelas i chi yn wincio ac yn sisial, y diwrnod y cym'-ras i o o'r ffactri; ond ni ddowch chi ddim dros fy mhen i fel yna. Mae hon yn wlad rydd, Syr; *a fi bia'r dyn yna*, ac mi 'naf fel y myna i hefo fo; dyna'r fel."

Ac felly syrthiodd gobaith olaf George;—dim o'i flaen ond bywyd o lafur a lludded, wedi ei chwerwi â phob anhunedd a fedrai creulondeb ei ddyfeisio.

Dywedodd barnwr teimladwy unwaith: "Y defnydd gwaethaf a fedrwch wneud o ddyn ydyw ei grogi." Nage, mae defnydd arall a ellir wneud o ddyn ag sydd WAETH!

## PENNOD III.

### TEIMLADAU Y GWR A'R TAD.

Aeth Mrs. Shelby allan i dê, a safai Eliza ar y *verandah*, gan edrych yn lled ddigalon ar ol y cerbyd, pryd y disgynodd llaw ar eu hysgwydd. Hi a drodd, a gloywodd ei llygad gyda gwên siriol.

"George, ai chwi sydd yna? Fel y dychrynsoch chwi fi! Wel, mae'n dda geni'ch gweled. Mae missis wedi myn'd allan am y prydnawn; dowch i fy lle bach i, ni ddaw neb i dori ar ein siarad."

Gyda hyn hi a'i cymerodd i ystafell fechan daclus oedd yn agor i'r *verandah*, lle byddai yn arfer eistedd i wnïo, o fewn cyrhaedd galwad ei meistres.

"Mae'n dda geni'ch gweled!—pam na 'drychwch chi yn siriol?—'drychwch ar Harri—fel mae o 'n prifio." Safodd y bychan yn yswil, gan edrych ar ei dad trwy ei wallt troellog, a gafael yn ngwisg ei fam. "Onid ydi fo 'n glws?" eb Eliza, gan godi ei wallt, a'i gusanu.

"Gwŷn fyd na bussa fo heb ei eni 'rioed!" ebe George, mewn chwerwder. "Fasa'n dda gen i pedaswn ina heb fy ngeni 'rioed."

Eisteddodd Eliza mewn syndod a dychryn, a chan blygu ei phen ar ysgwydd ei gŵr, hi a dorodd allan i wylo.

"Dyna, dyna, Eliza, mae'n rhy ddrwg i mi 'ch gyru chwi i grio fel yna," eb efe, yn serchlon; "mae'n rhy ddrwg. O pe basem ni heb weled ein gilydd erioed, chwi allasech fod yn hapus!"

"George, George, sut y medrwch chwi siarad fel yna? Beth sydd wedi dygwydd, neu i ddygwydd? Yr ydym wedi bod yn hapus iawn yn ddiweddar."

"Felly buom ni, fy ngeneth anwyl i," ebe George. Yna cymerodd ei fachgen ar ei lin, edrychodd yn myw ei lygad anwyl, a thynodd ei law trwy ei wallt troellog.

"Yr un ffunud a chwi, Eliza; a chwi ydyw'r ddynes harddaf a welais erioed, a'r oreu a ddymunwn byth ei gweled; ond, O na buaswn heb eich gweled erioed, na chwithau finau!"

"O, George, sut y medrwch chwi!"

"Iê, Eliza, poen, poen, poen ydyw'r cwbl. Mae nhynged i fel y wermod; a mywyd i 'n llosgi allan. Creadur tlawd, unig, a thruenus ydwyf, ac mi tynaf chwithau i lawr gyda fi, dyna'r cwbl. Pwy les ydyw treio gneud dim yn y byd,—treio gwybod dim,—na threio bod yn ddim? Pwy les ydyw byw? Fasa'n dda gen i pe bawn i wedi marw!"

"O, George anwyl, mae'n bechod siarad fel yna! Mi wn i sut yr ydych yn teimlo ar ol colli eich lle yn y ffactri, ac y mae genych feistr câs; ond byddwch amyneddgar, efallai daw—"

"Amyneddgar!" ebe efe, ar ei thrawa, "oni fum i 'n amyneddgar? 'Ddeudas i air pan gym'rodd o fi o'r factri, heb un rheswm ar wyneb y ddaear, o'r fan lle'r oedd pawb yn garedig? Mi dalais iddo bob dima ynillis i; ac mi ddwed pawb i mi weithio'n dda."

"Wel, y *mae* hi 'n galed," eb Eliza, "eto, ar ol y cwbl, efe ydi'ch meistr, wyddoch."

"Fy meistr! Pwy a'i gwnaeth ef yn feistr i mi? Dyna beth sy' arna' i eisia' wybod—pwy hawl sy' ganddo ef i mi? Yr ydw i yn ddyn cystal ag yntau; yr ydw i yn well dyn nag ef; mi wn fwy am fusnes; mi fedraf arolygu yn well; mi fedraf ddarllen yn well; mi fedraf ysgrifenu yn well; a mi ddysgais y cwbl fy hun, heb ddim diolch iddo ef—mi ddysgais yn ngwaetha yn ei ên; ac yn awr, pa hawl sydd ganddo ef i wneud hen geffyl gwaith o honof fi? —i gym'ryd oddi arna' i waith a fedraf fi wneud, a'i wneud yn well nag ef, a ngosod i wneud gwaith ceffyl? Mae yn treio, ac yn dweyd y mŷn fy nhori i lawr, ac y mae yn rhoi'r gwaith caletaf, gwaelaf, a butraf i mi o wir bwrpas.

"O, George, George, yr ydych yn fy nychrynu i! Ni chlywais i erioed mo honoch yn siarad fel yna o'r blaen; mae arnaf ofn y gwnewch rywbeth dychrynllyd. Nid ydwyf fi ddim yn rhyfeddu at eich teimladau; ond, O, cym'rwch ofal,—gwnewch, gwnewch—er fy mwyn i—er mwyn Harri!"

"Mi gym'ras ofal, ac mi gym'ras amynedd; ond y mae hi'n myn'd waeth waeth—nid eill cig a gwaed ddal dim yn rhagor. Mae yn cymeryd pob mantais i fy sarhau a f' iselu i. Yr oeddwn i 'n meddwl y gall'swn i wneud fy ngwaith yn burion, a bod yn dawel, i gael amser i ddarllen, a dysgu ar ol noswylio; ond po fwyaf wel o fi yn wneud, mwyaf i gyd fŷn yntau. Mae yn dweyd, serch nad ydw i yn deud dim, ei fod o'n gweled fod y gŵr drwg ynw i, ac y mŷn ei dynu allan; ac fe ddaw allan un o'r dyddiau yma, mewn ffordd na bydd ef yn hoff o honi, neu yr wyf fi yn camgymeryd."

"O'r anwyl, beth a wnawn ni?" ebe Eliza, yn dor-calonus.

"Dim ond ddoe ddwaetha," ebe George, "yr oeddwn yn brysur yn llenwi cerig i'r drol, ac fe safodd y mistar bach, Twm, i glecian ei *whip* yn ymyl y ceffyl i'w ddychrynu. Mi ofynais iddo beidio, mor addfwyn ag y medrwn i: ond dal ati hi a wnaeth. Mi ofynais iddo yr ail waith, yna efe a drodd i'm curo i. A phan ymaflais yn ei fraich i'w attal, fe ddechreuodd 'sgrechian a chicio, a rhedodd at ei dad i ddweyd fy mod i yn ei guro. Daeth hwnw fel peth o'i go', ac a ddywedodd y dysgai fi i wybod pwy oedd fy meistr; fe'm rhwymodd i wrth goeden, ac a dorodd wrisgen i'r gŵr bach fy nghuro nes blinai; ac felly fu: os na ddyga i hyn ar gof iddo ryw ddiwrnod!"

Ac fe ddadliwiodd gwynebpryd y dyn ieuanc, a'i lygaid yn llosgi gan eiddigedd, nes dychrynu ei wraig druan. "Pwy wnaeth y dyn yma yn feistr i mi—dyna beth sy' arna' fi eisiau wybod?" eb efe.

"Wel," eb Eliza, "yr oeddwn i bob amser yn meddwl y dylwn i ufuddhau i meistr a meistres, onite fedrwn i ddim bod yn Gristion."

"Mae rhyw synwyr yn hyny yn eich amgylchiad chwi; maent wedi eich dwyn i fyny fel plentyn—wedi eich porthi, eich dilladu, eich meithrin, a'ch dysgu,—yr ydych wedi cael dygiad i fyny—ac y mae rhyw reswm yn eu hawl ynoch. Ond ni chefais i ddim ond fy nghicio, fy mhwnio, a fy rhegu, ac ar y goreu fy ngadael yn llonydd; a phwy ddyled sy' arna' i? Yr ydw i wedi talu am fy nghadw gan'waith drosodd. Ni ddiodda i mo hono—*na wnaf byth!*" eb efe, gan wasgu ei ddyrnau, ac edrych yn ffyrnig.

Aeth Eliza yn fud mewn cryndod. Nis gwelsai ei gŵr yn y fath dymher erioed o'r blaen; ac yr oedd ei golygiadau plentynaidd o foesoldeb yn plygu fel y brwyn yn nghenllif y fath nwydau.

"Chwi wyddoch am Carlo, y ci bach roisoch i mi," ebe George; "y creadur hwnw oedd bron yr unig gysur oedd gen i. Fyddai yn cysgu wrth fy ochr y nos, ac yn fy nghanlyn y dydd, ac yn edrych arnaf fel pe buasai yn gwybod fy nheimladau. Wel, yr oeddwn i yn taflu rhyw 'sgyrniach iddo y dydd o'r blaen wrth ddrws y gegin, a phwy a ddaeth heibio ond mistar, ac fe ddeudodd 'mod i'n cadw'r ci ar ei gost ef, ac na fedrai ddim fforddio i bob niggar gadw ci; fe barodd i mi roi careg wrth ei wddf, a'i daflu i'r llyn."

"O, George, neuthoch chwi ddim!"

"Gneud!—naddo; ond fe wnaeth e. Ac fe luchiodd meistr a Twm geryg at y creadur gwirion. Yr oedd y truan yn edrych arna' i mor dorcalonus, fel pe buasai'n rhyfeddu am na buaswn i yn ei safio. Mi gefais fy nghuro am na wnawn ei foddi fy hun. Ond, ni waeth gen i; geiff meistr weled na wneiff chwipio ddim fy nofi i. Fe ddaw niwrnod ina, os na edrychiff o ati hi."

"Beth wnewch chwi? O, George, peidiwch a gwneud dim sy' ddrwg; os dysgwyliwch chwi wrth yr Arglwydd, ac ymdrechu gwneud yn iawn, ddaw ymwared ganddo ef."

"Nid ydw i ddim yn Gristion, fel chwi, Eliza; mae nghalon i yn llawn chwerwedd; ni fedra i ddim dysgwyl wrth yr Arglwydd. Pam mae o'n gadael i bethau fel yma fod?"

"O, George, rhaid fod genon ni ffydd! Fydd meistres yn deud, pan fydd pob beth yn groes, y rhaid i ni gredu fod Duw yn gneud y cwbl er ein lles ni."

"Mae'n ddigon hawdd i bobl ddeud hyny pan fo'n nhw'n gorwedd ar eu *sofas*, ac yn marchogaeth yn eu cerbydau; ond newidian nhw le â fi, allwn i feddwl fydda ddim mor hawdd. O na fedrwn i fod yn dda; ond y mae nghalon i ar dân, a fedra i ddim boddloni sut yn y byd. Fedrech chwitha ddim yn fy lle i; fedrwch chwi ddim yrwan, os deuda i'r cwbl. Ni wyddoch chwi mor cyfan eto."

"Beth eill fod yn rhagor?"

"Wel, mae mistar yn deud yn ddiweddar, mai ffwl oedd o, am adael i mi briodi oddi ar y ffarm; fod yn gâs ganddo Shelby a'i holl dylwyth, am eu bod yn falch ac yn cario eu penau yn uwch na fo, a 'mod ina' yn dysgu balchder genych chwi; ac y mae yn deud na cha' i ddim dwad yma yn rhagor, ac y mae yn rhaid i mi gym'ryd gwraig ar y ffarm, a byw yno. I ddechra, ddaru o ddim ond grwmblo a chynhenu; ond ddoe, fe ddeudodd y rhaid i mi gym'ryd Mina yn wraig, a byw mewn caban gyda hi, onitê y gwerthiff fi i lawr yr afon."

"Onid ydych wedi fy mhriodi *fi*, gan y gweinidog, cystal a phe buasech yn ddyn gwyn?" eb Eliza, yn ddiniwed.

"Wyddoch chwi ddim na fedr caethwas briodi? Nid oes yr un gyfraith yn y wlad yma i hyny: ni fedra i ddim deud mai chwi ydi ngwraig i, os bydd o 'n dewis deud yn groes. Dyna pa'm 'r ydw i 'n deud y basa 'n dda gen i fod heb eich gweled erioed—na faswn i 'rioed heb fy ngeni; fuasa 'n well i ni ein dau—fasa'n well i'r plentyn yma druan pe b'asa fe erioed heb ei eni. Fe eill hyn i gyd ddygwydd iddo yntau!"

"O, ond y mae meistr mor garedig!"

"Ydi; ond pwy wyr? eill yntau farw; ac yna fe werthir Harri nas gŵyr neb i bwy. Pwy bleser ydi fod o'n dlws, yn gall, ac yn anwyl? Mi ddeuda i chwi, Eliza, fe â cleddyf trwy eich calon chwi eto am bob rhagoriaeth sydd yn eich plentyn—fe fydd yn werth gormod i chwi allu ei gadw."

Syrthiodd y geiriau hyn yn drwm ar galon

Eliza; hi gofiodd am y masnachwr, yr un fath a tharo'r fwyall yn y pren, ac a ddadliwiodd bron mewn llewyg. Hi a edrychodd yn bryderus tua'r *verandah*, lle'r oedd y bychan yn marchogaeth yn ol ac yn mlaen ar ffon Mr. Shelby. Braidd na buasai yn dweyd ei hofnau wrth ei gŵr, ond hi a ymattaliodd.

"Na, na, mae ganddo ddigon ar ei feddwl, druan," ebe hi. "Ni ddyweda i ddim wrtho; heblaw hyny, nid ydi'r peth ddim yn wir; ni fydd meistres byth yn twyllo neb."

"Wel, Eliza, 'ngeneth i," ebe George, yn bruddaidd, "codwch eich ysbryd, ffarwel; dyma fi yn myn'd."

"Myn'd, George—myn'd i b'le?"

"I Canada," eb efe, gan ymsythu; "a phan gyrhaeddaf yno, mi a'ch prynaf chwi—dyna'r unig obaith sydd genym. Mae genych feistr caredig, ac ni omedd eich gwerthu. Mi a'ch prynaf chwi a'r bachgen, os caf Dduw yn help!"

"O, mor ofnadwy fyddai i chwi gael eich dal!"

"Ni chymera i mo 'nal, Eliza; mi fydda *farw* yn nghynta!—rhyddid neu angeu i mi!"

"Ni wnewch chwi ddim lladd eich hunan!"

"Dim achos am hyny; fe laddan nhw fi yn ddigon prysur; ond nid â̂n' nhw byth â fi i lawr yr afon yn fyw."

"O, George, cym'rwch ofal er fy mwyn i! Peidiwch a gwneud dim fo ddrwg; peidiwch a gosod llaw arnoch eich hun, nac ar neb arall. Yr ydych mewn gormod o demtasiwn—gormod o lawer; ond peidiwch—myn'd raid i chwi—ond ewch yn ofalus, ac yn wyliadwrus, a Duw fo'n help i chwi."



"Wel, Eliza, dyma'r plan. Fe gymerodd meistr yn ei ben fy ngyru heibio yma, a llythyr i Mr. Symmes, sy'n byw tua milltir oddiyma, ac yr ydw i yn credu ei fod yn dysgwyl y down i yma i ddeud yr hanes. Byddai wrth fodd ei galon pe gallai boeni 'teulu Shelby' fel y mae yn eu galw. Yr wyf yn myn'd adre' fel pe b'awn yn foddlon i'r cwbl oll, ydych chwi'n deall? Ond yr wyf wedi parotoi, ac y mae genyf rai i'm helpio; yn mhen tuag wythnos mi fyddaf ar goll. Gweddiwch drostw i, Eliza, hwyrach y gwrendy'r Hollalluog arnoch *chwi*."

"O, George, gweddiwch chwitha' hefyd, ac ewch dan ymddiried ynddo Ef, yna ni wnewch ddim sy ddrwg."

"Wel, *ffarwel*," ebe George, gan ddal dwylaw Eliza, ac edrych yn myw ei llygaid, heb syflyd. Safasant yn sŷn; yna'r geiriau olaf, yr ocheneidiau, a'r dagrau—y fath ymadawiad ag a wneir gan rai sydd a'u gobaith o gyfarfod drachefn fel gwe'r pry copyn; a gwahanwyd y gŵr a'r wraig.

## PENNOD IV.

### NOSWAITH YN NGHABAN F'EWYTHR TWM.

Caban o goed heb eu naddu oedd cartrefle F'Ewythr Twm, yn ymyl "y tŷ," fel y bydd y negro, gyda phob dyledus barch, yn galw anneddle ei feistr. Yr oedd darn o ardd o'i flaen, lle, bob haf, y tyfai mafon a mefus, ac amryw ffrwythau a llysiau, dan ofal gwyliadwrus y caethwas. O gylch y drws a'r ffenestri, hyd at y bargod, tyfai blodau amryliw, a dirwynai coeden â rhosynau cochion yma a thraw, heb adael braidd gainc o'r coed geirwon yn y golwg. Gwelid yno hefyd amryw flodau, megys *marigold*, briallu, botwm gŵr ieuanc, a *lavender*,

mam-yn-nghyfraith, a hen ŵr, y rhai oeddynt falchder calon Modryb Cloe.

Gadewch i ni fyned i mewn. Mae'r swper drosodd yn "y tŷ," a Modryb Cloe, yr hon yw y ben-goges, wedi gadael y glanhau a golchi'r llestri i'r gweinidogion yn y gegin, a dyfod adref, i'w lle bach ei hun, i barotoi swper "yr hen ŵr;" gan hyny, gallwch fod yn sicr mai hi a welwch wrth y tân, yn arolygu, gyda mawr ofal, y crochan sydd ar y pentan, ac yn codi cauad y cettal-pobi, o'r hwn y mae arogl "rhywbeth da" yn eich cyfarfod. Mae ganddi wyneb crwn, du a dysglaer, ac mor loyw a phe buasai wedi ei olchi â gwŷn ŵy, yr un fath a'i theisenau tê. Ei hwynebpryd llyfndew, yn pelydru tawelwch a boddlondeb odditan ei phen-wisg brith, yn llawn o *starch*, sydd yn dwyn arwyddion fod y perchenog yn ymwybodol mai hi oedd y goges oreu yn y gymydogaeth, fel yr ystyrid Modryb Cloe gan bawb a'i hadwaenai.

Yr oedd hi yn goges, bob cymal o honi, hyd at asgwrn ei chefn. Nid oedd na chyw iâr, na thwrci, na hwyaden yn y buarth, nad edrychent yn sobr, gan feddwl am eu diwedd, pan welent hi yn nesâu; ac y mae yn ddios, y byddai hi yn meddwl yn ddibaid am bluo, stwffio, sciwrio, a rhostio, i'r fath raddau ag i godi dychryn yn meddwl unrhyw aderyn dôf a dim synwyr yn ei ben. Yr oedd ei chacenau—yn leicacs, bara peillied, wics, a nifer eraill yn rhy aml i'w henwi, yn ddirgelion anamgyffredadwy i'r mân-gogesau o amgylch; a byddai yn chwerthin nes siglo ei hochrau wrth adrodd fel y byddai eraill yn ceisio gwneud yn dobyg, ac yn methu.

Byddai dyfodiad cwmpeini i'r "tŷ," a threfnu ciniawau a swperau mewn "*style*" yn deffroi holl egni ei henaid, ac nid oedd dim a'i gwnai wrth fodd ei chalon yn fwy na gweled bwndeli o drynciau trafaelio ar y *verandah;* o herwydd edrychai y pryd hyny am ymdrechion a buddugoliaethau adnewyddol.

Ond y mynyd yma, sut bynag, mae Mobryb Cloe â'i llygad yn y cettal—lle y gadawn hi nes y gorphenwn ein darlun o'r bwthyn.

Yn un gongl yr oedd gwely, wedi ei orchuddio â chwrlid gwŷn, a darn o *garpet* go fawr yn ei ymyl. Ar y darn *carpet*, safai Modryb Cloe, fel yn perthyn yn ddios i'r uwch-raddolion; ac yr oedd hwn, a'r gwely, a'r gongl i gyd, yn lle heibio i'r cyffredin, ac yn rhy gysegredig i bawb gael myned iddo. Mewn gair, y gongl yma oedd *parlwr* y caban. Yn y gongl arall, yr oedd gwely llawer mwy di-addurn, ac arwyddion mai un i'w ddefnyddio ydoedd. Uwch ben yr aelwyd yr oedd nifer o ddarluniadau ysgrythyrol, a darlun o General Washington, wedi ei dynu a'i liwio mewn ffordd ag a fuasai'n sicr o beri syndod i'r enwog hwnw, pe dygwyddasai iddo weled ei gyffelyb.

Ar fainc geinciog yn y gongl, yr oedd dau hogyn pen-grych, a llygaid duon yn serenu, a bochau tewion dysglaer, yn brysur yn dysgu un fechan i gerdded—yr hyn, fel y mae yn gyffredin, a gynwysid mewn codi ar ei thraed, siglo ychydig, ac yna rholio ar y llawr—a phob tro y gwnai hyn, yr oedd yno'r fath swn a chwerthin a phe buasai wedi cyflawni rhyw gampwaith rhagorol.

Yr oedd ar gyfer y tân, fwrdd, a'r cryd cymalau arno yn lled drwm, a llian glân arno, a chwpanau a soseri o batrŵm coch a gwŷn, yn nghyd ag arwyddion eraill fod pryd bwyd yn agos. Wrth y bwrdd yma yr oedd F'Ewythr Twm, pen-gwas Mr. Shelby; a chan mai efe ydyw asgwrn cefn y stori, rhaid i ni dynu ei lun i'r darllenydd. Dyn mawr, ysgwyddog a chymalog oedd, mor ddued a'r *pitch*, a'i wynebpryd Affricanaidd yn dangos fel mynegfŷs fod ganddo sobrwydd a synwyr, gyda llawer o deimlad a dyngarwch. Yr oedd yn ei holl ymddangosiad arwyddion o hunan-barch a bonedd, wedi eu cyd-dymheru âg iselfryd gostyngedig.

Yr oedd y mynyd yma yn llafurio yn galed uwch ben llechen ysgrifenu, ar ba un yr oedd yn ceisio copio llythyrenau, dan gyfarwyddyd Mas'r George Shelby, llencyn ffraeth a serchlon, tair-ar-ddeg oed, yr hwn a ymddangosai fel meistr i'r dim.

"Nid fel yna, F'Ewythr Twm, nid fel yna," eb efe ar frys, pan oedd yr ysgolhaig, mewn poen a llafur, yn llusgo cynffon yr *g* i fyny yr ochr chwith; "mae 'nyna yn gwneud *q*, welwch chi."

"Wel, welas i 'rioed, mae o?" ebe F'Ewythr Twm, gydag osgo mor ostyngedig, tra'r oedd ei feistr bychan yn scriblo *q* ac *g* yn ddirifedi, er addysg a hyfforddiad ei ysgolhaig; yna, gan gymeryd y pwyntil yn ei law fawr, efe a ddechreuodd drachefn yn araf bach.

"Mor hawdd y mae pobol wnion yn gneud petha!" meddai Modryb Cloe, gan edrych dros ei hysgwydd, wrth iro y grindyll â thamaid o gig moch, a thaflu golwg serchlon ar Mas'r George. "Fel medyr o 'sgyfenu 'rwan! a darllan hefyd! a dwad yma fel hyn min nos, a darllan i wers i ni,—mae o'n fachgan heb i fath!"

"Mae arna i eisio bwyd ofnadwy, Modryb Cloe," ebe George. "Ydi'r gacen yna yn y scelat ddim yn barod?"

"Bron barod, Mas'r George," ebe Modryb Cloe, gan godi'r cauad, a spio i mewn; "yn brownio'n iawn—crasu'n anwyl. Ah, 'dewch chi fi yn llonydd am 'nyna. 'Ddaru Missis neud i Sali bobi torth ryw dd'wrnod, fel i dysgu hi, medda hi. 'O, ffwr a chi missis,' medda fina, 'mae o'n tori nghalon i welad d'fetha bwyd da fel yna!' Y dorth wedi codi i gyd ar un ochor



—dim llun, mwy na ff' hen glocsan i—ffwr' a chi."

A chyda'r diystyrwch yma ar blentynrwydd Sali, fe gododd Modryb Cloe y cauad oddi ar y cettal-pobi, lle y gwelid teisen ysgafn, ddigon i demtio dyn claf, ac na fuasai raid i bobydd pena'r ddinas wrido o'i phlegid, a chan mai dyma oedd canolbwynt y wledd, dechreuodd Modryb Cloe hwylio swper o ddifrif.

"'Rwan, Mose a Pete, ewch 'ddiar y ffordd, chi niggars! Ffwrdd a chi, Poly, nghariad i; roith mammi rywbeth i'w babi yn y man. 'Rwan Mas'r George, rhowch y llyfra naill du, a 'steddwch gyda f' hen ŵr i, a mi ro i'r sassages a llon'd y radall o leicacs ar ych plât chi mewn winciad llygad."

"'Roedd arnyn nhw eisio i mi fyn'd i'r tŷ i swper," ebe George, "ond mi wyddwn i yn well na hyny, Modryb Cloe."

"Felly gwyddach chi—felly gwyddach chi, machgen i," ebe Modryb Cloe, gan lwytho'r cacenau ar ei blât; "wyddach chi fod yr hen fodryb yn cadw'r gora i chi bob amser. O, 'dewch lonydd iddo fo—dos o'na!"

A chyda hyn rhoddodd Modryb Cloe bwniad i George dan ei asenau, gan geisio bod yn hynod o ddigrif, ac a drodd drachefn at y radell.

"'Rwan am y gacen," ebe George, ar ol arafu uwch ben cynyrchion y radell; a chyda hyn ysgydwodd gyllell fawr uwch ben y tamaid rhag-ddywededig.

"O 'rhoswch, Mas'r George," ebe Modryb Cloe, gan afaelyd yn ei fraich, "ydach chi ddim yn meddwl tori'r gacen â'r gyllell fawr drom yna! Hi eiff yn dipia mân—chi 'spwyliwch y codiad clws! Dyma i chi hen gyllell dena, a min arni hi, ydw i yn gadw o bwrpas. Dyna hi, 'rwan, welwch chi—'dwad i lawr fel y bluan. Ffwrdd a hi, bytwch, ni chewch ddim i guro 'nyna."

"Mae Tom Lincoln yn dend," ebe George, a'i gêg yn llawn, "fod i Shani nhw yn well coges na chi."

"Dydi'r Lincons yna ddim o gyfri, ffordd yn y byd!" ebe Modryb Cloe, yn ddirmygus, "yn ymyl 'n pobl *ni* ydwi 'n feddwl. Mae'n nhw 'n burion pobol mewn ffordd gyffredin; ond am gael dim mewn '*style*' 'dydan nhw ddim wedi dechra gwelad y ffordd. Rho'wch Mas'r Lincon, 'rwan, wrth ochor Mas'r Shelby. Druan oedd o! a Missis Lincon, fedyr hi ddwad i mewn i'r *room* fel mistras, fel gwraig foneddig, wyddoch! O, ffwrdd a chi, peidiwch a siarad a fi am y Lincons yna!" Ac fe drodd Modryb Cloe ei phen fel un oedd yn gobeithio ei bod yn gwybod gwell pethau.

"Wel, wel," ebe George, "mi clywais chwi yn dweyd fod Shani yn goges weddol."

"Felly dar'u mi," ebe Modryb Cloe. "Mae Shani yn burion coges mewn ffordd blaen gyffredin; hi bobiff ffyrniad o fara—hi eill ferwi tattws yn burion—nid ydi leiciacs hi ddim byd neillduol 'rwan, leiciacs Shani felly, ond mae'n nhw'n weddol—ond dowch chi at y petha ucha, a beth fedyr hi neud? Hi fedyr neud pasta, digon gwir hi fedyr; ond ffasiwn grystyn? Fedyr hi neud y crystyn ysgafn sy'n toddi yn 'ch cêg chi, ac yn codi fel swigen yn gramenau tenenon? Mi eis i drosodd yno i briodas Miss Mary, ac mi ddangosodd Shani y caceni priodas i mi. Mae Shani a fina yn burion ffryndia, wyddoch. 'Ddeudas i ddim byd; ond, dos o'na, Mas'r George! F'aswn i ddim yn cau fy llygad am wsnos p'daswn i wedi gneud y fath

lot o gacena. 'Doeddan nhw werth dim yn y byd."

"Mi wranta i fod Shani yn meddwl eu bod nhw dan gamp," ebe George.

"Meddwl!—debyg gen i.. Dyna lle 'r oedd hi, yn i dangos nhw, mor ddiniwad—welwch chi,—dyma lle mae hi, *nid ydi Shani yn gwybod dim.* Twt, 'dydi'r teulu ddim byd. 'Does dim dysgwyl iddi hi wybod. Nid i bai hi ydi o. O, Mas'r George, wyddoch chi ddim haner 'ch breintia a'ch dygiad i fyny yn 'ch teulu!" Ac fe ucheneidiodd Modryb Cloe, gan droi ei llygaid fel mewn llesmair.

"Yr ydw i yn ddigon siwr, Modryb Cloe, mod i yn deall fy mreintia pwdin a phaste," ebe George. "Gofynwch i Tom Lincoln os na fydda i yn i fwlio fo ac yn canu fel y ceiliog uwch i ben o bob tro y cyfarfyddwn ni."

Ar hyn fe bwysodd Modryb Cloe ar gefn ei chadair, ac a chwarddodd allan yn iawn, am ben digrifwch Mas'r George; yr oedd y dagrau yn rholio i lawr ei gruddiau gloywddu, ac amrywiai y difyrwch trwy guro cefn George, a'i brocio dan ei asenau, gan ddweyd, "dos o'na," a'i fod ef yn llanc—ei fod yn ddigon o angeu iddi, ac y byddai'n sicr o'i lladd un o'r dyddiau yma; a rhwng pob un o'r prophwydoliaethau angeuol hyn, hi âi ymaith mewn ffit o chwerthin, y naill yn hwy ac yn gryfach na'r llall, nes y dechreuodd George feddwl o ddifrif ei fod yn hogyn pur beryglus, ac y dylai fod yn ofalus iawn sut i siarad "mor ddigrif ag y medrai."

"A mi ddeudsoch wrth Tom, ai do? O'r argan fawr! 'does dim mhel a phlant. A ddaru chi fwlio Tom? O! Mas'r George, 'rydach chi 'n ddigon a gyru chwain i chwerthin!"

"Do siwr," meddai George: "'Tom,' meddwn i wrtho fo, 'mi ddylat ti gael profi pasteiod Modryb Cloe; dyna'r rhai iawn, machgen i,' meddwn i."

"Trueni na chai Tom hefyd," ebe Modryb Cloe, ar galon dyner pa un yr oedd cyflwr tywyll Tom yn gwneud argraff ddwys. "Chi ddylach ofyn iddo ddwad yma i ginio, un o'r d'noda yma, Mas'r George; mi 'drycha'n bur dda arnoch chi. Chi wyddoch, Mas'r George, na ddylach chi ddim edrach yn uwch na phobol, ar gyfri 'ch breintia, o herwydd petha geison ni ydi breintia bob un,—ddylan ni byth annghofio hyny," ebe Modryb Cloe, gan edrych yn syml ryfeddol.

"Wel, mi ofyna i Tom ddwad yma ryw ddiwrnod yr wythnos nesa," ebe George, "a gnewch chi 'ch goreu, Modryb Cloe, mi 'nawn ni iddo agor ei lygaid. Mi 'nawn ni iddo fo fytta fel na esgoriff mono am bythefnos."

"Gnawn, gnawn—mor wirad," ebe Modryb Cloe, wrth fodd ei chalon; "gewch chi wel'd. O'r anwyl, 'daech chi ddim ond meddwl am ambell ginio fu yma. Ydach chi yn cofio'r baste fawr 'neis i pan roison ni ginio i General Knox? Fu bron i mi a missis syrthio allan o gwmpas y crystyn. Fedra i ddim dyfeisio be sy'n taro yn mhenna *ladis* weithia; ond mi gewch i gwelad nhw, ambell waith, pan fotho un fwya prysur, ac yn *seriws*, fel gallwn ni ddeud, dyna'r unig amser y byddan nhw yn troi o'ch deutu a'u bys ymhob brywas. Mi fyne missis i mi neud fel hyn, a gneud fel arall, nes o'r diwedd y trois i yn reit coiglyd, ac ebar fi, ''Rwan, missis, 'drychwch ar y dwylo bach glân neis yna sy' genoch chi, a'ch bysedd hirion, yn llawn modrwya aur, 'run fath a'r lili wen yn 'rardd pan fydd y gwlith heb godi, ac yna 'drychwch ar y nwylo mawr i. 'Rwan, ydach chi ddim yn meddwl fod y Brenin mawr wedi ngeud i yn ffitiach i neud crystyn pasta, a chitha i aros yn y parlwr?' Do, mi fum mor goiglyd a 'nyna, Mas'r George."

"A beth ddeudodd mam?" ebe George.

"Deud!—mi ddaru ryw haner chwerthin, a throi'r llygid braf hyny sy' geni hi, ac, ebr hi, 'Wel, Modryb Cloe, yr ydw i yn meddwl eich bod yn ail i'ch lle,' ac i'r parlwr a hi. Hi ddylsa roi bonclust i mi am fod mor goiglyd; ond, dyna fel y mae hi, fedra i neud dim os bydd *ladis* yn y gegin!"

"Wel, ddoethoch chi drwyddi hi 'n bensych hefo'r cinio hwnw—yr ydw i yn cofio fod pawb yn deud hyny," ebe George.

"Do, ond to? A 'doeddwn i ddim tu 'n ol i'r drws? a mi glywas y General yn gofyn i helpio dair gwaith o'r basta hono, ac ebar fo, 'Mae genoch chi goges gampus, Mrs. Shelby.' Gwarchod pawb, yr o'wn i bron tori ar y nhraws.

"A mi ŵyr y General beth ydi cwcio," ebe Modryb Cloe, gan ymsythu, "Dyn neis iawn ydi'r General! Mae o'n dwad o un o'r tyluodd gora yn Hen Virginia! Mi ŵyr o be' sy'n iawn, cystal a fina,—y General. Welwch chi, mae *pwynts* ymhob pasta, Mas'r George, ond nid pawb ŵyr beth ydan nhw, na be' ddylan nhw fod. Ond y General, mae o'n gwbod; mi wn i odd'wrth y peth ddeudodd o. Ydi, ydi, mae o'n gwbod y pwynts."

Erbyn hyn yr oedd Mas'r George wedi cyrhaedd y bwlch hwnw at ba un y mae hogyn ambell waith yn dyfod (dan amgylchiadau anarferol) pryd na fedrai fwyta tamaid yn rhagor; ac o ganlyniad yr oedd ganddo hamdden i weled y tŵr o benau gwlanog a llygaid dysglaer ag oedd yn edrych arno yn flysig o'r gongl arall.

"Hwda, Mose a Pete," eb efe, gan daflu tameidiau iddynt, "mae arnoch chitha eisio peth, onid oes? Dowch, Modryb Cloe, craswch deisene iddyn nhw."

Yna fe eisteddodd George a Thwm yn nghil y simne, tra bu Modryb Cloe yn crasu pentwr o

o gacenau; ac wedi hyny hi a gymerodd y babi ar ei glin, gan ei phorthi ei hun a'r babi bob yn ail, a rhanu rhwng Mose a Pete, y rhai a ddewisent yn hytrach fwyta eu swper tan y bwrdd, a goglais a chicio, a gwichian, ac ambell dro dynu bodiau'r fechan.

"O, ffwr' a chi, newch chi," meddai'r fam, gan gicio ar amcan dan y bwrdd, pan fyddai gormod o dwrw. "Fedrwch chi ddim bod wrth gwrs pan ddelo pobol wnion i'r tŷ? 'Newch chi dewi? Well i chi edrach ati hi, onite mi tyna i chi dwll botwn yn is pan elo Mas'r George adra!"

Pa ystyr oedd yn y bygythiad arswydus hwn, mae'n anhawdd dweyd; ond y mae'n ddyogel fod y bychain yn methu ei ddeall, o herwydd ychydig iawn o effaith a gafodd arnynt.

"Hyna," ebe F'Ewythr Twm, "mae'n nhw mor llawn o oglais, fedran nhw ddim bod wrth gwrs."

Ar hyn daeth y ddau hogyn odditan y bwrdd, a'u dwylo a'u gwynebau yn driagl i gyd drostynt, ac a ddechreuasant gusanu y fechan nerth eu hegni.

"Ewch o'na chi," ebe'r fam, gan wthio ymaith eu penau gwlanog. "Chwi lynwch wrth eich gilydd, ac ni ddowch chi byth yn rhyddion, os daliwch ati hi fel yna. Cerwch i'r pystyll i 'molchi," ebe hi, gan ychwanegu hergwd at y cynghor, yr hwn a swniodd yn uchel, ond heb gael un effaith oddieithr tynu mwy o chwerthin allan o'r hogiau, fel yr oeddynt yn rhedeg ar draws eu gilydd i'r drws, dan waeddi a bloeddio.

"Welsoch 'rioed hogia o'u batha nhw?" ebe Modryb Cloe, braidd yn dda ei natur, gan godi a gafaelyd mewn tywel a fyddai bob amser wrth law, a gwlychu ei gongl â diferyn o dê, allan o hen depot a chrac ynddo, i rwbio'r triagl oddi ar wyneb y fechan; ac ar ol ei rhwbio nes oedd yn dysgleirio, hi a'i gosododd ar lin Twm, tra'r oedd hi yn tacluso'r llawr. Difyrodd y fechan ei hun wrth afaelyd yn nhrwyn ei thad, cripio ei wyneb, a thynu ei wallt crych, yr hyn beth a ymddangosai yn bleserus dros ben iddi.

"On'd ydi hi yn hogan ddel?" ebe Twm, gan ei dal o hyd braich, er mwyn cael llawn olwg arni; yna efe a gododd ar ei draed, ac a'i dododd ar ei ysgwydd lydan, gan ddawnsio a neidio, a Mas'r George yn clecian ei napcyn arni, a Mose a Pete, wedi dyfod yn ol erbyn hyn, yn rhuo ar ei hol fel eirth, hyd nes y dywedodd Modryb Cloe, eu bod yn ddigon "i hollti ei phen," gyda'u swn. Ond gan fod y gwaith gwaedlyd hwn, yn ol ei dywediad hi, yn cael ei gyflawni yn y caban lawer gwaith bob dydd, ni bu'r hysbysiad yn llwyddiannus i'w dystewi, hyd nes iddynt flino yn gwaeddi, a bloeddio, a neidio.

"Wel, 'rwan, yr ydw i 'n gobeithio fod pen ar hynyna," ebe Modryb Cloe, yr hon fuasai yn brysur i gael allan ryw ddernyn garw o rôlwely (*trundle-bed*); a 'rwan, Mose a Pete, ewch chi i'ch gwely; 'ryda'n ni 'n myn'd i gael cyfarfod gweddi."

"O mam, 'dewch i ni gael aros y c'farfod; mae o mor ryfedd—'rydan ni 'n ei leicio nhw."

"Dowch, Modryb Cloe, g'dewch iddyn nhw eiste' i fyny," ebe George, gan roddi cic i'r hen wely.

Yr oedd yn burion gan Modryb Cloe wthio'r gwely o'r golwg, a hi a ddywedodd, "Wel, f' alla y bydd o'n lles iddyn nhw."

Yna rhoddasant eu penau oll yn nghyd, i ddyfeisio pa fodd i drefnu'r caban at y cwrdd gweddi.

"Be' 'nawn ni am g'deiria? grogi neb ŵyr, nis gwn i," ebe Modryb Cloe. Ond gan fod yno gyfarfod yn cael ei gynal er's wythnosau, heb ddim rhagor o gadeiriau, yr oedd rhyw obaith y deuent drwyddi hi rywsut y tro hwn.

"Ddaru F'Ewyrth Peter ganu dau droed y gadar yna i ffwrdd yr wsnos dd'waetha," ebe Mose.

"Dos di o'na! mi wranta i mai ti a'i tynodd nhw; fel un o dy gastia di," ebe Modryb Cloe.

"Wel, mi sai', ond i chi i rhoi hi yn erbyn y mur," ebe Mose.

"Dim iws i F'Ewyrth Peter eista yni hi," ebe Pete, "achos mi fydd yn myn'd o'r naill ochor i'r llall wrth ganu. Fu agos iddo fyn'd ar draws y *room* y nos o'r blaen."

"G'dewch iddo fyn'd iddi hi ynte," ebe Mose, "a phan ddechriff o ganu 'Dowch bechaduriaid at y dwr,' i lawr a fo;"—a Mose a wnai ddynwared yr hen ŵr yn canu, gan ymgodymu i lawr, i osod allan y trychineb tybiedig.

"Byddwch weddus, 'newch chi," ebe Modryb Cloe, "oes arnoch chi ddim c'wilydd?"

Ond fe ddechreuodd Mas'r George hefyd chwerthin, ac fe ddywedodd fod Mose yn "llanc, heb ddim dowt." Felly aeth cynghor y fam yn ddi-effaith.

"Wel, Twm," ebe Modryb Cloe, "rhaid i ti fyn'd i 'nol y ddwy gascen yna."

"Mae dwy gascen mam 'run fath a chostrel y wraig weddw oedd Mas'r George yn darllen am dani hi yn y Beibil,—'dydan nhw byth yn ffaelio," ebe Mose yn nghlust Pete.

"'Rydw i'n siwr i un daflu chylcha 'rwsnos dd'waetha," ebe Pete, "a gollwng lot i'r llawr pan oeddan nhw'n canu; 'roedd hono'n ffaelio, on'd oedd hi?"

Tra bu'r sisial yma yn myned yn mlaen rhwng Pete a Mose, rholiwyd dwy gascen i mewn i'r caban, ac ar ol dodi ceryg dan ei hochrau, rhag iddynt rolio, dodwyd planciau yn groes iddynt; yr hyn, gyda throi ambell badell a thwb a'u gwaelod i fyny, a dodi'r cadeiriau musgrell wrth y mur, a wnaeth ddigon o eisteddleoedd.

"Mae Mas'r George yn 'llenwr mor dda, mi wn y gneiff o aros i ddarllen," ebe Modryb Cloe, "mae'n blesar gwrando arno fo."

Cydsyniodd George yn eithaf parod, o herwydd y mae'r bachgen bob amser yn hoff o ymddangos yn ddyn.

Llanwyd yr ystafell yn fuan â phob math, o'r hen batriarch penwyn o bedwar ugain, hyd yr hogen a'r hogyn pymtheg oed. Tarawsant ati i ddweyd ychydig o'r hanes,—sut yr oedd Modryb Sarah wedi cael napcyn gôch newydd, a sut yr oedd "missis" yn myn'd i roi'r gown *muslin* i Lizzy, pan wnai hi ei gown newydd; a sut yr oedd Mr. Shelby yn meddwl prynu merlyn gwine, yr hwn fyddai yn ychwanegiad anwyl i'r lle. Yr oedd rhai o'r addolwyr yn perthyn i berchenogion y gymydogaeth, ac wedi cael cenad i ddyfod, ac yr oedd ganddynt hwythau ryw ddarnau o hanes y dweyd a'r gwneud yn eu gwahanol ffermydd, yr hyn a aeth o gwmpas yn gyffelyb i'r un fath fân chwedlau yn mysg yr uwchradd.

Yn mhen tipyn fe ddechreuwyd canu, er pleser mawr iddynt oll; ac er maint y llusg a'r trwyniad, yr oedd yno leisiau pereiddlawn a soniarus, a thonau bywiog a llawn o ysbryd. Y geiriau oedd yr hymnau cyffredin yn yr eglwysi a'r capeli o gwmpas, ac ambell dro rai mwy tanbaid a ddygid o'r *camp meetings*.

Yr oedd byrdwn un o honynt fel hyn, a chanasant nerth eu penau, drosodd a throsodd drachefn:

"Marw ar faes y gwaed,
Marw ar faes y gwaed,
A nefoedd byth i mi."

Un arall mewn ffafr neillduol oedd fel hyn—

"O! 'rwy'n myn'd i ogoniant—
A ddewch chi gyda mi?
A welwch chwi'r angylion
Sydd yn fy ngalw i?
A'r ddinas nefol euraidd,
A'r oesoedd maith heb ri'?"

Yr oedd eraill hefyd, gyda chyfeiriadau mynych at "lànau'r Iorddonen," "gwlad Canaan," a "Chaersalem newydd," o herwydd y mae meddwl bywiog y negro bob amser yn ymlynu wrth hymnau fo'n darlunio gwledydd hafaidd hyfryd; a thra y buont yn canu yr oedd rhai yn gorfoleddu, eraill yn curo dwylo, ac eraill a'u dagrau 'n llifo, ac yn ysgwyd dwylo y naill a'r llall, fel pe buasent wedi croesi'r afon.

Ar ol hyn bu cynghori, a dweyd profiad, yn gymysg a chanu. Ac fe gododd un hen wreigen fusgrell, ar ba un yr edrychid megys hen brophwydes, a chan bwyso ar ei ffon, hi a ddywedodd:

"Wel, 'mhlant i! Mae'n dda gan i 'ch gweld a'ch clywed chi unwaith eto, o herwydd nis gwn i pwy mor fuan y bydda i 'n myn'd i'r nefoedd; ond y mae pob peth yn barod gen i, 'mhlant i; mwndal bach i yn fy llaw i, a monet am 'mhen i, dim ond aros i'r cerbyd ddwad i fyn'd a fi adra; ambell waith yn y nos, fydda i 'n meddwl 'mod i'n clywad swn y 'lwynion, ac mi fydda'n edrych allan o hyd; 'rwan byddwch chitha'n barod hefyd, o herwydd 'rydw i'n deud i chi i gyd, blant," ebe hi, gan daro ei ffon yn y llawr, "mai lle rhyfedd ydi'r *nefoedd!* Lle rhyfedd 'mhlant i—wyddoch chi ddim yn y byd am dano—mae o'n lle *rhyfeddol.*" Ac fe eisteddodd yr hen wreigan druan, a'i dagrau'n llifo, bron allan o wynt, tra'r oedd y cwbl yn cyd-floeddio—

"I fryniau Caersalem,
O dowch gyda mi—dowch gyda mi."

Darllenodd Mas'r George y pennodau olaf yn Llyfr y Datguddiad, ar ddymuniad neillduol y cyfarfod, a thorent allan yn aml â "*Dear me,*" "Glywch chi 'nyna?" "Glywsoch chi 'rioed?" "Ai tybed y daw hyna i gyd i ben?"

Yr oedd George yn llanc bach deallus, ac wedi ei addysgu yn fanwl, gan ei fam, yn yr Ysgrythyrau; a phan ddaeth fel hyn yn ganolbwynt o sylw, efe a daflodd aír o esboniad i mewn yn awr ac yn y man, mewn dull lled sobr, a chanmolwyd ef gan yr ieuainc yn nghanol bendithion yr oedranus; yn wir hwy a gytunasant oll na "fedrai gweinidog ddim gneud yn well," a'i "fod o'n un rhyfeddol."

Yr oedd F'Ewyrth Twm yn cael ei ystyried trwy'r gymydogaeth fel patriarch mewn pethau crefyddol. Trwy fod ei gyfansoddiad naturiol yn tueddu at bethau felly, a thrwy fod ei ddygiad i fyny yn rhagori ar y cyffredin o'i gydradd, edrychid arno gyda chryn lawer o barch, fel rhyw weinidog yn eu mysg: a gallasai dull ei gynghorion syml a sobr fod o les i lawer un gwell ei ddysg. Ond mewn gweddi yr oedd ei ddawn yn dysgleirio fwyaf. Nid oedd dim a fedrai ragori ar symlrwydd teimladwy a difrifoldeb plentynaidd ei weddi, wedi ei britho âg eirchion ysgrythyrol, y rhai oeddynt yn mhleth â'i holl gyfansoddiad, ac wedi tyfu yn rhan o hono, gan ddiferu dros ei wefusau fel heb yn wybod iddo. Mewn geiriau hen negro duwiol, yr oedd yn "gweddio yn syth i fyny." Ac yr oedd ei weddi yn cael y fath effaith ar y gwrandawyr, fel na chlywid gair o honi ambell waith, gan yr "amen," a'r "diolch byth," a dorent allan ar bob llaw.

---

Tra bu hyn yn myned yn mlaen yn nghaban y gwas, yr oedd yn bur wahanol yn mharlwr y meistr.

Yr oedd Haley a Mr. Shelby yn eistedd yn yr ystafell ragddywededig, a'r bwrdd yn llawn papyrau ac offer ysgrifenu.

Ymddangosai Mr. Shelby yn brysur yn cyfrif bwndel o filiau, y rhai a wthiai drosodd at y masnachwr, iddo yntau eu cyfrif hefyd.

"Pob peth yn iawn," ebe Haley, "'nawr dodwch eich llaw wrth rhai'n."

Tynodd Mr. Shelby y gweithredoedd gwerthiad ato, ac ysgrifenodd ei enw fel dyn yn gwneud câs-waith, ac yna gwthiodd hwynt a'r arian ar draws y bwrdd. Yna tynodd Haley ddernyn o groen allan o'i goden, ac ar ol edrych arno'n graff, efe a'i hestynodd i Mr. Shelby, yr hwn a ymaflodd ynddo braidd yn awyddus.

"Wel, dyna 'nyna wedi orphen," ebe'r masnachwr, gan godi ar ei draed.

"*Y mae o*," ebe Mr. Shelby mewn tôn sŷnfyfyriol; ac ar ol tynu ochenaid drom, efe a ddywedodd, "*wedi ei orphen.*"

"Prin y mae o'n plesio, allwn i feddwl," ebe Haley.

"Haley," ebe Mr. Shelby, "yr ydwyf yn hyderu y gwnewch chwi gadw'ch gair, na werthwch chwi mo Twm, heb wybod i feddiant pwy y bydd o i fyn'd."

"Wel, yr ydach chi 'ch hunan newydd 'neud, Syr," ebe'r prynwr.

"Chwi wyddoch yn burion mai amgylchiadau ddarfu fy *ngorfodi*," ebe Shelby yn ffroen-uchel.

"Wel, hwyrach y gallan nhw *ngorfodi* ina hefyd," ebe Haley. "Sut bynag, mi 'na i ngora i gael cornel dda i Twm; am iddo fo gael un cam ar fy llaw i, allwch fod yn ddigon esmwyth. Os oes dim a fedra i ddiolch i Dduw am dano fo, mi fedra i ddiolch nad ydw i ddim yn ddyn dideimlad."

Ar ol yr esboniadau a gawsai Mr. Shelby yn barod o *deimladrwydd* Haley, ni chododd hyn ddim llawer ar ei feddwl; ond gan mai dyma'r cysur goreu a allai dynu o'r amgylchiad, efe a adawodd iddo fyned allan gyda'r gair, ac a drodd i ysmocio segar wrtho ei hun.

## PENNOD V.

### YN DANGOS TEIMLADAU EIDDO BYW WRTH NEWID PERCHENOG.

Yr oedd Mr. a Mrs. Shelby wedi myned i'w hystafell am y nos. Eisteddai ef mewn cadair freichiau esmwyth, yn darllen llythyrau a gawsai gyda'r post yn hwyr brydnawn, a safai hithau ar gyfer y drych i ddad-ddyrysu y plethiadau a'r troellau a wnaethai Eliza yn ei gwallt; o herwydd yr oedd wedi gyru ei morwyn i'w gwely, am fod ei llygaid yn gochion, a'i hwynebpryd yn drymaidd. Ac, fel yr oedd yn ddigon naturiol, fe ddaeth ymddyddan y prydnawn i'w chof, a chan droi at ei gŵr, hi a ddywedodd,

"Arthur, pwy oedd y creadur anfoesgar yna ddaeth gyda chwi i ginio heddyw?"

"Haley, ydyw ei enw," ebe Shelby, gyda thro lled anesmwyth yn y gadair, a dal ei lygad ar y llythyr.

"Haley! Pwy ydyw hwnw, a pheth sydd arno eisiau yma?"

"Wel, mi fum i yn gwneud busnes efo fo pan oeddwn i yn Natchez ddiweddaf," ebe Shelby.

"Ac ar gyfrif hyny fe wnaeth mor hyf a chymryd ei gartref yma, a throi i mewn i ginio, ai do?"

"Na, fi ofynodd iddo; 'roedd genym gyfrifon i'w setlo," ebe Shelby.

"Ai prynwr dynion ydyw?" ebe Mrs. Shelby, gan sylwi fod gradd o ddyryswch yn null ei gŵr.

"Beth roddodd hyny yn eich pen, 'ngeneth i?" ebe Shelby gan godi ei olygon.

"Dim—ond i Eliza ddyfod yma, ar ol cinio, dan grio a nadu, a dweyd eich bod chwi yn siarad gyda masnachwr, yr hwn oedd am brynu ei bachgen hi—y ffolog fach wirion!"

"Ho, hi ddar'u?" ebe Shelby, gan ail edrych am fynyd ar ei lythyr, heb wybod ei fod yn ei ddal y pen chwith i fyny. "Rhaid i'r peth ddwad allan," ebe efe wrtho ei hun, "ac ni waeth 'rwan na rhyw dro arall."

"Mi ddywedais i wrth Eliza," ebe Mrs. Shelby, dan frwsio ei gwallt, "mai hen ffolog oedd hi am ei phoen, nad ydych chwi byth yn delio â'r fath bobl. Mi wyddwn i 'n burion nad oeddych ddim yn meddwl gwerthu 'run o'r dwylo, yn enwedig i'r fath greadur a hwnyna."

"Wel, Emily," ebe yntau, "felly y byddwn ina bob amser yn meddwl ac yn dweyd; ond y gwir ydyw, fod fy amgylchiadau i 'r fath ag y rhaid i mi werthu rhai."

"I'r creadur yna? Anmhosibl! Fedrwch chwi ddim bod o ddifrif, Mr. Shelby."

"Ydw 'n wir, fel y mae gwaetha gen i ddeud," ebe Shelby; "yr ydw i wedi cytuno i werthu Twm."

"P'beth! Twm ni?—y creadur da a ffyddlon yna!—fu'n was da i chwi er pan yn blentyn! O, Mr. Shelby! a chwithau wedi addaw ei wneud yn rhydd hefyd—fuoch chwi a minau yn siarad wrtho am hyny gan'waith. Wel, mi fedra goelio unpeth ar ol hynyna; mi fedra goelio *'rwan* y gwerthech chwi Harri bach, bachgen Eliza," ebe Mrs. Shelby, mewn tôn rhwng poen a digter.

"Wel, gan fod yn rhaid i chwi gael gwybod y cwbl, dyna fel y mae hi. Yr ydw i wedi gwerthu Twm a Harri hefyd; a phrin y medra i weled y dylwn i gael fy nhrin fel adyn, am wneud peth a wneir gan bawb bob dydd o'r flwyddyn."

"Ond, p'am, o bawb arall, bigo allan y rhai hyn?" ebe Mrs. Shelby. "P'am gwerthu y ddau yma, o'r cwbl sydd genym, os rhaid gwerthu fodd yn y byd?"

"Am y caf fwy am danynt,—dyna'r p'am. Mi fedrwn ddewis un arall, pe baech chwi yn foddlon. Mae'r creadur wedi cynyg yn uchel am Eliza, os ydi'n well genych chwi."

"Y filan!" ebe Mrs. Shelby, yn ddigofus.

"Wel, ni wrandewais i ddim arno am fynyd

—o ran parch i'ch teimladau chwi; felly canmolwch fi am rywbeth."

"O, Mr. Shelby anwyl, maddeuwch i mi," ebe hithau, "mi fum yn rhy fyrbwyll. Fe ddaeth hyn allan yn sydyn, a minau yn anmharod; ond 'does bosibl na adewch i mi eiriol dros y creaduriaid tlawd yma. Mae Twm yn ddyn mawreddus, er ei fod yn ddu. Pe b'ai achos, Mr. Shelby, yr ydwyf fi yn credu y byddai farw drosoch chwi."

"Mi wn hyny'n burion; ond pa les ydyw hyn i gyd? Ni fedda i mo'r help."

"P'am na aberthwch chwi rywbeth? Yr wyf fi yn eithaf parod i gymeryd fy rhan o'r annghyfleusdra. O, Mr. Shelby, yr ydwyf fi wedi gwneud fy ngoreu—fel y dylai gwraig Gristionogol—i gyflawni fy nyledswydd tuag at y creaduriaid truain ac anwybodus sydd yn ymddybynu arnom. Mi ofalais am danynt, mi a'u dysgais, mi a wyliais drostynt, ac mi wn eu trafferthion a'u pleserau er's blynyddoedd; a sut y medraf fi byth godi 'mhen yn eu mysg yn rhagor, os, am ryw ychydig o ynill gwael, y gwerthwn ni 'r fath greadur ffyddlon, gwerthfawr, a didwyll ag ydyw Twm, a'i rwygo ar unwaith oddiwrth bob peth ag y dysgwyd ef i'w garu a'i werthfawrogi? Mi a ddysgais iddynt ddyledswyddau teuluaidd, rhieni a phlant, gŵr a gwraig; a sut y medraf fi ddyoddef y fath brawf cyhoeddus nad ydym yn prisio unrhyw gwlwm, unrhyw ddyledswydd, unrhyw berthynas, boed mor gysegredig ag y b'o, mewn cydmariaeth i arian? Mi fum yn siarad wrth Eliza yn nghylch ei bachgen, ei dyledswydd tuag ato fel mam Gristionogol, i wylio drosto, gweddio drosto, a'i ddwyn i fyny mewn ffordd Gristionogol; ac yn awr beth fydd genyf i'w ddweyd, os cymerwch chwi'r plentyn oddiarni, a'i werthu, enaid a chorph, i'r dyn diegwyddor ac annuwiol yna, er mwyn safio tipyn o arian? Mi a ddywedais wrthi fod un enaid yn werth yr holl arian sydd yn y byd; a sut y medr hi fy nghoelio pan wel ni yn gwerthu ei phlentyn? ei werthu, efallai, i ddinystr anocheladwy, gorph ac enaid!"

"Mae'n ddrwg iawn gen i eich bod yn teimlo fel yna, Emily, ydyw yn wir y mae," ebe Mr. Shelby; "ac y mae genyf barch mawr i'ch teimladau chwi hefyd, er nad wyf yn cymeryd arnaf fod yn rhanog o honynt i'r pen draw; ond mi ddeuda i chwi 'rwan o ddifrif, nad ydynt o les yn y byd—nid oes gen i ddim help.

"Nid oeddwn i ddim yn bwriadu gadael i chwi wybod hyn, Emily; ond, ar un gair, rhaid gwerthu'r ddau yma neu werthu pob peth. Rhaid iddynt hwy neu'r cwbl fyned. Mae Haley wedi cael gafael mewn *mortgage*, yr hon a ysguba'r cwbl o'i blaen, os na fedraf fi ei chymeryd i fyny ar unwaith. Yr ydwyf wedi cribinio, a chrafu, a benthyca—mi wneis bob peth ond begio—ac yr oeddwn yn fyr o bris y ddau yma, a gorfu i mi eu rhoddi i fyny. Fe gymerodd Haley ffansi yn y plentyn; ac fe gytunodd i setlo'r mater y ffordd yna, ac nid un ffordd arall. Yr oeddwn yn ei law, ac fe wnaeth i mi wneud. Os ydych yn teimlo cymaint dros y ddau yna, a fyddai yn well genych werthu'r *cwbl?*"

Safodd Mrs. Shelby fel un wedi ei tharo âg ergyd. Yn y diwedd hi a drodd, a'i gwyneb yn ei dwylaw, ac a roddodd ochenaid ddofn.

"Dyma felldith Duw ar gaeth-wasanaeth! peth chwerw, chwerw, a melldigedig ydyw—melldith i'r meistr a melldith i'r gwas! Mi fum yn ynfyd wrth feddwl erioed y gallaswn dynu unrhyw dda o'r fath ddrwg anaele. Mae'n bechod meddiannu caethwas dan gyfreithiau fel yr eiddom ni; yr oeddwn yn teimlo felly bob amser—yr oeddwn yn meddwl felly pan yn blentyn—ac yr oeddwn yn parhau i feddwl felly ar ol ymuno â'r eglwys; eto meddyliais y gallwn ei orcuro—meddyliais y medrwn, trwy diriondeb, gofal, ac addysg, wneud cyflwr fy nghaethion yn well na'r eiddo pobl rydd—ynfydu'r oeddwn i!"

"Emily anwyl, yr ydych yn troi yn *abolitionist* i'r pen draw."

"*Abolitionist!* pe gwyddent hwy yr haner wn i am gaeth-fasnach, yna hwy *allent* siarad. Nid oes dim achos am iddynt hwy ddweyd un gair wrthym ni; chwi wyddoch na feddyliais i erioed fod caeth-wasanaeth yn iawn—na fum i erioed yn foddlon i gadw caethion."

"Yr ydych yn gwahaniaethu yn hynyna oddi wrth lawer o bobl synwyrol a chrefyddol," ebe Mr. Shelby. "Ydych chwi yn cofio pregeth Mr. B. y Sul o'r blaen?"

"Nid oes arnaf fi ddim eisiau clywed y fath bregethau; na chwant clywed Mr. B. yn ein heglwys ni byth yn rhagor. Hwyrach na fedr gweinidogion ddim help i'r drwg—fedran nhw mo'i symud ymaith ddim mwy nag y medrwn ninau—ond ei amddiffyn!—mae hyny bob amser yn groes i fy synwyr cyffredin i. Ac nid wyf fi ddim yn meddwl eich bod chwithau yn meddwl llawer o'r bregeth, ychwaith."

"Wel," ebe Shelby, "rhaid i mi gyfaddef fod y gweinidogion yma weithiau yn cario pethau llawer yn mhellach nag y meiddiai rhyw bechaduriaid truain fel ni wneud. Rhaid i ni, bobl y byd, gau ein hamrantau ar lawer peth, ac ymgynefino â hyn a'r llall sydd heb fod fel y dylent i'r dim. Ond prin y medrwn ni oddef clywed gwragedd a gweinidogion yn dyfod allan yn ffrwt, ac yn myned heibio i ni'r dynion, mewn materion o weddeidd-dra neu foesau; dyna'r gwir. Ond cofiwch, fy ngeneth anwyl, edrych ar yr angenrheidrwydd o hyn, a chwi a welwch i mi wneud goreu gallwn i dan yr amgylchiadau.

"O, do, do!" ebe Mrs. Shelby, gan deimlo ei

horiawr aur, ac edrych yn syn; "nid rhyw lawer o bethau fel hyn sydd genyf," ebe hi, dan syn-fyfyrio; "ond a wnai hon ddim?—hi gostiodd lawer pan brynwyd hi. Pe bawn i ddim ond gallu safio plentyn Eliza, mi aberthwn un peth sy' genyf."

"Mae'n ddrwg, yn ddrwg iawn genyf, Emily," ebe Mr. Shelby, "mae'n ddrwg genyf eich bod yn cymeryd cymaint atoch; ond ni wna les yn y byd. Y gwir am dani ydyw hyn, Emily, mae'r mater wedi ei setlo; mae'r papyrau wedi eu hysgrifenu, ac yn nwylaw Haley; a rhaid i chwi fod yn ddiolchgar nad ydyw pethau ddim gwaeth. Fu ar law y dyn yna ein difetha ni bob copa o honom; ond 'rwan 'rydan ni 'n glir. Pe baech chwi yn adnabod y dyn yna cystal ag yr adwaenwn i ef, chwi ddywedech ein bod yn bur lwcus."

"A ydyw efe mor galed a hyny?"

"O! na, nid dyn caled, chwaith, ond rhywbeth yn debyg i ledr y fent—gwydyn—dim ond prynu a gwerthu, a maelio—oer, gafaelgar, ac mor ddi-ildio ag angeu a'r bedd. Fe werthai ei fam ei hun am ynill go dda, heb chwenych unrhyw niwed i'r hen wraig ychwaith."

"A'r annghenfil yna bia plentyn Eliza, a Thwm, y goreu a'r ffyddlonaf dan haul?"

"Wel, fy anwylyd, dyma'r gwir—mae hyn bron a fy llethu i—nis gallaf aros meddwl am dano: mae Haley ar frys ac eisiau cymeryd meddiant yfory. Yr ydwyf fi yn myned i gael y ceffyl allan ben boreu, i fyn'd oddiar y ffordd. Ni fedra i ddim siarad â Thwm, dyna'r gwir; a gwell i chwithau gymeryd Eliza yn y cerbyd i rywle. Gadewch i'r peth gael ei wneud pan fo hi o'r golwg."

"Na, na," ebe Mrs. Shelby, "ni bydd genyf fi law yn y byd i fod yn gyfranog nac i helpu yn y gwaith creulon yma. Mi af i weled Twm druan yn ei drallod, Duw a'i helpo. Doed fel y delo, hwy gânt weled fod eu meistres yn teimlo drostynt. Ond am Eliza, ni feiddia' i ddim meddwl am dani hi. Yr Arglwydd faddeuo i ni. Beth a wnaethom i ddwyn y fath orfodaeth greulon am ein penau?"

Ychydig feddyliodd Mr. a Mrs. Shelby, fod un yn gwrando'r cwbl o'r ymddyddan yma.

Yr oedd closet helaeth yn ymyl eu hystafell, a drws o'r cefn yn agor iddo. Pan yrodd Mrs. Shelby Eliza i'w gwely hi a feddyliodd, yn ei phrydér, am ymguddio; a dyna lle bu, a'i chlust wrth yr hollt yn yr ystyllod, heb golli cymaint a gair o'r ymddyddan.

Pan dawsant a son, hi a ymlusgodd ymaith yn ddystaw. Yn welwlas ei lliw, yn rhynllyd, ei hwynebpryd yn hagr, a'i gwefusau yn gwasgu yn nghyd, ymddangosai fel dynes arall, hollol wahanol i'r greadures wylaidd ac ofnus a fyddai yn arfer a bod. Hi aeth ar flaenau ei thraed heibio i ddrws ei meistres, a chododd ei dwylaw mewn appeliad o ddyfnder ei chalon at Dduw. Yna hi a drodd i'w hystafell ei hun. Lle bach glân taclus ydoedd, ar yr un llawr ag ystafell ei meistres. Dyna'r lle'r oedd y ffenestr heulog, y man y bu gan'waith yn gwnïo dan ganu; yr ochr arall yr oedd *shelf* y llyfrau, a llawer o drinciach wedi eu gosod yn ddestlus o ddeutu, megis anrhegion gwyliau, ac felly yn y blaen; y fan yma yr oedd y ddillad-gell, a'r drors; mewn gair yma'r oedd ei chartref, ac, ar y cyfan, un hapus fu. Ond yna, ar y gwely, y cysgai ei bachgen tlws, ei wallt modrwyog o gylch ei wyneb, ei wefusau rhosynaidd yn hanner agored, ei ddwylaw bach tewion wedi eu taflu dros y dillad, a gwên fel pelydr haul yn lledu dros ei holl wyneb.

"Machgen anwyl i! druan oeddat ti!" ebe Eliza, "maen' nhw wedi dy werthu di! ond mi fyn dy fam dy gadw di eto!"

Ni syrthiodd deigryn ar y gobenydd hwnw. Mewn cyfwng fel hwn nid oes gan y galon ddagrau i'w hebgor; gwaed yn unig ddifera o honi—gwaedu'n ddystaw y mae. Hi a gymerodd ddernyn o bapyr, ac a ysgrifenodd ar frys â phensil fel hyn:—

"O mistres, fy anwyl fistres, peidiwch a meddwl fy mod yn anniolchgar—peidiwch a meddwl yn fach o honof ffordd yn y byd—mi glywais y cwbl a ddywedodd meistr a chwithau heno. Yr wyf yn myned i dreio achub fy mhlentyn—fedrwch chwi ddim fy meio! Duw a'ch bendithio, ac a dalo i chwi am eich holl garedigrwydd!"

Ar ol plygu a chyfarwyddo ei llythyr ar frys, hi a wnaeth sypyn o ddillad i'r plentyn, yr hwn a gylymodd mewn napcyn yn dŷn am ei chanol; ac, mor dyner ydyw serch y fam, nid annghofiodd yn yr awr gyfyng hono, ddodi un neu ddau o'i deganau chwareu yn y sypyn, a chadw llun *parrot* o bob lliwiau i'w ddifyru pan fyddai raid ei ddeffro. Nid hawdd oedd deffro'r cysgadur bach; ond, ar ol tipyn o ysgwyd, efe a eisteddodd i fyny, ac a ddechreuodd chwareu â'i aderyn, tra bu ei fam yn gwisgo ei *bonnet* a'i *shawl*.

"I b'le 'rydach chi 'n myn'd mam?" eb efe, pan aeth hi at y gwely i roddi ei gôt a'i gap am dano.

Ei fam a nesaodd ac a edrychodd gyda'r fath ddwysder yn ei lygaid, fel y meddyliodd yr un bach ar unwaith fod rhywbeth anarferol yn bod.

"Hust, Harri," ebe hi; "paid a siarad yn uchel, onite mi clywan' ni. 'Roedd dyn drwg yn myn'd i ddwyn Harri bach oddiar ei fam, a myn'd a fo i ffwrdd yn y t'wyllwch; ond neiff mam ddim gadael iddo—mae hi 'n rhoi cap a chôt ei bachgen bach am dano, ac yn myn'd i dd'engyd i ffwrdd efo fo, rhag i'r dyn hyll ei ddal o."

Gyda dweyd hyn, hi a gauodd ac a fotymodd ddillad y plentyn, ac a'i cymerodd yn ei breichiau, gan sisial wrtho am fod yn ddystaw; yna hi a agorodd y drws i'r *verandah*, ac a aeth allan yn ddystaw bach.

Yr oedd hi 'n noswaith rewlyd, serenog, oleu, ac fe gylymodd y fam ei *shawl* yn dŷn am y plentyn, yr hwn, yn ei ddychryn, druan, a afaelodd yn dŷn am ei gwddf.

Yr oedd yr hen Bruno, ci Newfoundland mawr, yn gorwedd yn agos i'r drws, a phan glywodd y swn, efe a chwyrnodd. Ond pan alwyd ei enw gan ei hen ffrind, efe a ysgydwodd ei gynffon, ac a ymbarotodd i fyned gyda hi, er fod argoelion amlwg yn ei wynebpryd nad oedd yn deall yn iawn y pwrpas o rodiana fel hyn yn nyfnder y nos. Ymddangosai fod petrusder neillduol yn ei feddwl; o herwydd safai yn fynych, gan edrych yn drallodus ar Eliza, ac wedi hyny ar y tŷ, ac fel pe buasai yn meddwl drachefn fod pob peth yn iawn, âi ar ei hol dan drotian. Yn mhen ychydig fynydau, daethant at ffenestr Caban F'Ewythr Twm, lle y safodd Eliza, ac y curodd yn ysgafn ar y ffenestr.

Yr oedd y cyfarfod gweddi yn nhŷ F'Ewythr Twm wedi parhau yn hir, yn enwedig y canu hymnau; a thrwy fod F'Ewythr Twm wedi dal ati i ganu ar ol hyny wrtho ei hun, y canlyniad fu, ei fod ef a'i ymgeledd gymhwys eto heb gysgu, er ei bod rhwng deuddeg ac un o'r gloch.

"Bobl anwyl! be' sy' 'na?" ebe Modryb Cloe, gan neidio o'i gwely, a thynu'r *curtains* o'r naill du. "Fel 'rydw i 'n fyw yn y fan yma, dyma Lizzy! Gwisga am danat, Twm, mewn mynyd! A dyna'r hen Bruno yn crafu'r llawr—beth ar wyneb y ddaear? Dyma fi'n agor y drws."

Ac ar y gair, dyna'r drws yn llydan agored, a syrthiodd y goleu o'r ganwyll oedd yn llaw Twm ar wyneb hagr a llygaid gwylltion Eliza.

"Yr Arglwydd gym'ro drugaredd arnon ni, Lizzy, 'rydach chi yn ddigon a dychryn undyn! Ydach chi 'n sâl? neu be' ddaru chi?"

"'Rydw i'n d'engyd i ffwrdd, F'Ewythr Twm a Modryb Cloe—ac yn myn'd a machgen bach hefo fi. Mae meistir wedi werthu o."

"Wedi werthu o?" ebe'r ddau, fel adsain, gan godi eu dwylaw yn haner gwallgof.

."Ydi, wedi werthu o!" eb Eliza, gyda llais grymus; "mi aethum heno i'r *closet* yn ymyl drws fy meistres, ac mi glywais meistr yn deud iddo werthu Harri, a chwithau, F'Ewythr Twm, i'r prynwr dynion, a'i fod yntau yn myn'd i rywle ar gefn ceffyl yn y bore, a'r dyn i gym'ryd meddiant heddyw."

Fe safodd Twm i wrando ar hyn â'i ddwylaw ar i fyny, ei lygaid yn llydain agored, fel dyn mewn breuddwyd. Ond yn araf bach, ac o dipyn i beth, fel y dechreuodd ddeall, efe a syrthiodd yn ei ddeublyg, yn hytrach nag eistedd, yn ei hen gadair, ac a blygodd ei ben rhwng ei ddeulin.

"Yr Arglwydd gym'ro drugaredd arnon ni!" ebe Modryb Cloe. "O! 'does bosib i fod o'n wir! Be' na'th o, fel rhaid i meistir i werthu *fo?*"

"Ni wnaeth o ddim yn y byd, nid dyna mo'r peth. Nid oes ar meistr ddim eisiau gwerthu, a missis—mae hi 'n dda, bob amser yn dda. Mi clywais hi yn eiriol ac yn begio droson ni; ond fe ddeudodd yntau nad oedd dim wnai les—ei fod yn nyled y dyn yma—a bod y llaw ucha' gan hwnw—ac os na thalai y cwbl ar unwaith, y byddai raid gwerthu pob peth yn y lle, a phawb sy'n perthyn iddo, a mudo i rŷw fan arall. Do, mi clywais ef yn dweyd, nad oedd dim ond un o ddau beth—gwerthu'r ddau yma, neu werthu y cwbl, am fod y dyn mor galed arno fo. Fe ddeudodd meistr fod yn ddrwg iawn ganddo; ond, O! missis, mi ddylsech ei chlywed hi'n siarad! Os nad ydyw hi yn Gristion ac yn angel, ni fu 'run erioed. Yr wyf fi yn lodes ddrwg fod yn ei gadael hi fel yma! ond ni fedra i mo'r help. Hi ddywedodd ei hunan fod un enaid yn werth mwy na'r holl fyd; ac y mae gan y bachgen yma enaid, ac os gadawaf iddo gael ei gym'ryd ymaith, pwy ŵyr beth ddaw o hono? Rhaid fod hyn yn iawn; ac os nad ydyw yn iawn, Duw faddeuo i mi, o herwydd ni fedra i ddim peidio myned."

"Wel, Twm," ebe Modryb Cloe, "pa'm nad ei ditha hefyd? nei di aros i gael dy ddragio i lawr yr afon, lle maen' nhw yn lladd niggars efo gwaith caled ac eisio bwyd? Fydda'n well gen i farw bob dydd o'r flwyddyn na myn'd yno. Mae gen't ti ddigon o amser; dos hefo Lizzy—ac y mae gen' ti '*bass*' i fyn'd a dwad fel y myni di. Tyr'd, brysia, mi wna ina fwndal o ddillad i ti."

Fe gododd Twm ei ben yn araf bach, ac a edrychodd yn alarus, ond yn ddigon tawel, o gwmpas.

"Na, na; nid â i ddim. Aed Eliza—mae hi yn ei lle i fyn'd. Ni ddyweda i byth paid. Nid ydi o ddim yn naturiol iddi hi aros; ond mi glywsoch beth ddeudodd hi. Os rhaid ngwerthu fi, neu ynte bawb sydd yn y lle, a phob peth fyn'd i ddinystr, yna gwerthan fi; mae'n debyg y medra i ddyodda hyny cystal a 'run o honyn nhw," eb efe, tra'r oedd rhyw beth rhwng llefain ac ochenaid yn ysgwyd ei frest lydan fel llewyg. "Cafodd meistr fi bob amser yn y fan a'r lle—ac mi caiff fi eto. Ni thwyllais i mo hono 'rioed, ac ni wneis i ddim defnydd o *mhass* yn groes i ngair, ac ni wnaf ddim byth ychwaith. Mae'n well i mi fy hunan fyn'd, na thori'r lle i fyny, a gwerthu'r cwbl. Nid oes dim bai ar mistar, Cloe, ac mi gymyr ofal am danat ti a'r pl—"

Yn y fan yma, trodd ei lygad at y gwely yn y gongl, yn llawn o rai pen-grych, a thorodd i lawr yn lân. Efe a blygodd ar gefn y gadair, ac a guddiodd ei wyneb â'i ddwylaw mawrion. Ysgydwyd yr hen gadair gan nadau wylofus, a threiglodd dagrau mawrion rhwng ei fysedd i'r llawr—y fath ddagrau, ddyn, ag a wylaist ti ar arch dy gyntaf-anedig fab; y fath ddagrau, wraig, ac a wylaist tithau pan glywaist y rhwnc yn ngwddf dy blentyn; o herwydd dyn oedd yntau fel tithau. A chofia, wraig, er dy fod mewn sidanau a pherlau, nad wyt ddim ond gwraig, ac yn nghyfyngderau mawrion natur yr un yw gofid y naill a'r llall!

"A pheth arall," eb Eliza, dan sefyll yn y drws, "mi welais fy ngŵr prydnawn heddyw, ond ychydig wyddwn i beth oedd yn fy aros. Maent wedi ei wthio yntau bron dros ei gylchau, ac fe ddeudodd wrthyf heddyw ei fod am ddianc i ffwrdd. Treiwch, os bydd modd, anfon gair iddo. Deudwch sut yr eis i, a pha'm yr eis i; a deudwch 'mod i am dreio cael hyd i Canada. Cofiwch fi ato, a deudwch wrtho, os na welaf fi o byth wedi hyny"—hi a drodd draw, a'i chefn atynt am fynyd, ac yna, mewn llais crynedig, hi a ychwanegodd, "deudwch wrtho am fod mor dda ag y gallo, ac am dreio nghyfarfod i yn y nef."

"Galwch ar Bruno i mewn yna," ebe hi. "Cauwch y drws ar y creadur gwirion. Ni wiw iddo fy nghanlyn i." Yna ychydig eiriau olaf a dagrau, ychydig ffarwelio a bendithio, hi a wasgodd ei phlentyn dychrynedig yn ei chesail, ac a gychwynodd mor ddystaw ag y gallai.

## PENNOD VI.

### PETHAU YN DYFOD I'R AMLWG.

Nid aeth Mr. a Mrs. Shelby i orphwys yn gynar ar ol yr hir siarad y noswaith o'r blaen; ac o ganlyniad cysgasant y boreu dranoeth yn hwy nag arferol.

"Pa beth sy'n cadw Eliza mor hir?" ebe Mrs. Shelby ar ol canu'r gloch lawer gwaith i ddim pwrpas.

Yr oedd Mr. Shelby yn sefyll o flaen y drych, yn minio ei ellyn: a chyda hyn agorwyd y drws, a daeth bachgenyn dû i mewn gyda'r dwfr cynhes.

"Andi," eb ei feistres, "picia at ddrws Eliza, a dywed wrthi fy mod i wedi canu'r gloch dair gwaith. Y beth wirion!" ychwanegodd, wrthi ei hun, gyda haner ochenaid.

Daeth Andi yn ol yn fuan, â'i lygaid yn rhwth agored gan syndod.

"O missis! y mae drors Eliza i gyd yn agored, a'i phethau wedi eu chwalu ar led yn mhob man, ac yr ydwy'n coelio yn fy nghalon ei bod wedi myn'd i ffwrdd yn lân deg!"

Tarawodd y gwirionedd ar feddwl Mr. Shelby a'i wraig ar unwaith.

Gwaeddodd Mr. Shelby,—"Yr oedd hi yn amheu, ac y mae hi wedi myn'd!"

"Moliant i'r Arglwydd!" ebe Mrs. Shelby; "yr wy'n gobeithio ei bod!"

"Wraig, yr ydych yn siarad yn ynfyd. Bydd yn beth chwithig iawn i mi os ydyw hi wedi myned. Yr oedd Haley yn gweled fy mod yn anfoddlon i werthu'r hogyn, ac fe feddylia fod genyf ryw law yn y gwaith o'i yru o'r ffordd. Y mae'n cyfiwrdd â'm hanrhydedd i." Ac aeth Mr. Shelby allan o'r ystafell yn frysiog.

Yr oedd hen redeg, a gwaeddi, ac agor a chau drysau, a gwynebau o bob lliw yn ymddangos yma ac acw, am oddeutu chwarter awr. Un yn unig oedd yn hollol ddystaw—yr unig un a fedrai daflu unrhyw oleuni ar y mater—a hono oedd y ben-goges, Modryb Cloe. Yn ddystaw, â chwmwl trwm yn gorchuddio y gwynebpryd a fuasai unwaith yn llawen, aeth yn mlaen gyda'i gwaith o wneud y teisenau boregwest, fel pe na buasai yn gweled nac yn clywed dim o'r cythrwfl o'i hamgylch.

Yn ebrwydd gwelid o gwmpas dwsin o greaduriaid, fel impiaid duon bychain, yn eistedd fel brain ar ganllawiau'r *verandah*, pawb am y cyntaf i ddweyd y newydd drwg wrth y Mas'r Haley.

"Mi fydd o'i go' yn gynddeiriog," ebe Andi.

"Oni wneiff o dyngu!" meddai'r dû bychan, Jake.

"Gwneiff; y mae o'n tyngu yn ofnadwy," ebe Mandi ben-grych. "Mi clywis i o heddyw ar ginio. Mi glywis y cwbl, pan oeddwn yn y *closet* lle y mae missis yn cadw'r llestri mawrion."

A Mandi, yr hon nad arferai erioed i feddwl am un gair a glywai, mwy na chath ddû, a gymerodd arni fod yn annghyffredin o ddoeth, ac aeth o gwmpas yn falch iawn, gan annghofio dywedyd ei bod yn cysgu yn drwm yr holl amser y bu yn y *closet.*

O'r diwedd ymddangosodd Haley, yn ei fotasau a'i spardynau, ac anerchwyd ef ar bob llaw â'r newydd drwg. Ni siomwyd y cenawon bach ar y *verandah* yn eu gobaith o'i glywed "yn tyngu," yr hyn a wnaeth gyda'r fath ffraethineb a gwresogrwydd ag a foddlonodd eu calon, er eu bod yn gorfod gwyro a llechian yma thraw oddiar ffordd ei chwip hela; ac o'r diwedd syrthiasant yn bentwr ar y gwelltglas, yn nghanol bonllef o grechwen, gan daflu eu sodlau i fyny, a bloeddio o ewyllys calon.

"O na chawn afael ar y cythreuliaid bychin yna!" ebe Haley, gan fwngial rhwng ei ddannedd.

"Ond ni cheisoch chi ddim gafael arnon ni eto!" ebe Andi, gydag ymffrost gorfoleddus, a gwneud rhes o 'stumiau digrif y tu cefn i'r masnachwr anlwcus, pan oedd yn gwbl allan o glyw.

"Yrwan, Shelby, rhyw dro go od ydi hwn," ebe Haley, gan fyned i mewn i'r parlwr yn ddisymwth. "Y mae'n debyg fod y lodas wedi d'engyd, a'i chyw gyda hi."

"Mr. Haley, mae Mrs. Shelby yn bresenol," meddai Mr. Shelby.

"Begio'ch pardwn, ma'm," ebe Haley, gan led-ymgrymu, a gostwng ei aeliau; "ond eto, yr ydw i'n deud, fel y deudas o'r blaen, rhyw stori go ryfedd ydyw hon. Ydi hi'n wir, Syr?"

"Syr," ebe Mr. Shelby, "os ydych am ymddyddan â mi, y mae'n rhaid i chwi ymddwyn rywbeth yn debyg i ŵr boneddig. Andi, cymer het a chwip Mr. Haley. Eisteddwch i lawr, Syr. Y mae'n rhy wir, Syr; y mae'n ddrwg genyf ddywedyd fod y ddynes ieuanc, wedi ei chyffroi trwy gip-glywed, neu drwy rywbeth a ddywedwyd wrthi yn nghylch y mater yma, wedi cymeryd ei phlentyn a myned i ffordd yn y nos."

"Rhaid i mi ddeud, 'mod i'n dysgwyl delio gonest yn y mater yma," ebe Haley.

"Wel, Syr," ebe Mr. Shelby, gan droi yn sydyn arno, "pa beth ydwyf fi i ddeall wrth yr ymadrodd yna? Os oes undyn yn amau fy ngonestrwydd i, nid oes genyf ond un ateb i'w roddi iddo."

Pan glywodd Haley hyn, efe a ostyngodd ychydig ar ei lais, ac a ddywedodd, "Y mae'n galed iawn ar ddŷn, ar ol gneud cytundeb teg, i gael ei yspeilio fel hyn."

"Mr. Haley," ebe Mr. Shelby, "pe na buaswn yn meddwl eich bod wedi cael rhyw achos o siomedigaeth, ni buaswn yn goddef eich ymddygiad anfoesgar pan yn dyfod i mewn i'm parlwr y bore heddyw. Mi ddywedaf hyn, modd bynag, gan fod pethau yn galw am hyny, na ddyoddefaf i undyn daflu ataf fi fy mod yn ymddwyn yn annheg yn yr achos yma. Ac yn mhellach yr wyf yn rhwym i roi i chwi bob cynorthwy, megys rhoddi benthyg ceffylau, gweision, neu unpeth arall at eich gwasanaeth, i geisio gael gafael drachefn yn eich eiddo. Felly, yn fyr, Haley," eb efe, gan ddisgyn i lawr o'i leferydd uchel ac awdurdodol, i'w fwyneidd-dra cyffredinol, "Y ffordd oreu i chwi yw cadw tymer dda, a bwyta boregwest, ac yna ni a ystyriwn pa beth i'w wneud."

Ond cyfododd Mrs. Shelby ar ei thraed, a dywedodd fod pethau yn galw arni i'w gadael y boreu hwnw; a chan orchymyn i wreigen felynddu barotoi coffi i'r gŵr boneddig, hi a adawodd yr ystafell.

"Nid yw eich boneddiges yn hoff iawn o'ch gostyngedig was," ebe Haley, gydag ymdrech trwsgl i'w wneud ei hunan gartref.

"Nid wyf fi yn arfer clywed fy ngwraig yn cael siarad am dani mor ysgafn," atebai Mr. Shelby, yn sychlyd.

"Gofyn eich nawdd; dim ond ysmaldod, chwi wyddoch," meddai Haley, gan geisio gwenu.

"Y mae rhai geiriau cellwerus yn llai boddhaol na'u gilydd," ebai Mr. Shelby.

"Yn goiglyd gythreulig, ar ol i mi roi fy llaw wrth y papyrau hyny! melldith iddo!" meddai Haley, wrtho ei hun. "Yn benuchel iawn, er doe!"

Ni chododd cwymp prif-weinidog llywodraeth erioed y fath gyffroad ag a wnaeth helynt Twm yn mysg ei gyd-weision yn y lle. Yr oedd yn nghêg pawb, yn mhob man; nid oedd dim yn myn'd yn mlaen yn y tŷ nac ar y maes, ond dadleu pa beth a fyddai'r canlyniad. Yr oedd ffoedigaeth Eliza hefyd—dygwyddiad anarferol yn y lle hwnw—yn ychwanegiad rhyfeddol at y swn, a'r dwndwr, a'r siarad.

Yr oedd Sam Ddu, fel y gelwid ef, o herwydd ei fod yn deirgwaith duach na neb arall o feibion Ham yn y fan a'r lle, yn troi y peth yn ei feddwl yn ddwys, ac yn ei chwilio yn drwyadl, gyda'r fath olygiad cyrhaeddgar at ei les ei hun, ag a fuasai yn anrhydedd i unrhyw wladgarwr gwyn ei groen yn Washington.

"Gwynt drwg yw hwnw na chwyth i unman—dyna wir," ebe Sam, yn fyr-eiriog, gan dynu i fyny ei glôs, a rhedeg hoelen hir i mewn yn lle'r botwm oedd wedi colli, ac ar yr un pryd yn edrych yn hynod o falch o'i fedrusrwydd celfyddydol.

"Iē, gwynt drwg ydi hwnw na chwyth i rywle," ebe efe'r ail waith.

"Yn awr, y mae'r Twm yna i lawr—y mae lle i ryw niggar fyn'd i fyny—a pha'm nad eiff y niggar yma i fyny?—dyna hi! Twm yn marchogaeth hyd y wlad—bwtsias wedi eu blacio—*pass* yn ei boced mor *grand* a Chuffee —pwy ond y fo? Yn awr, pa'm na ddylai Sam?—dyna'r peth sy' arna'i eisio'i wybod!"

"Hwi, Sam!—mae Mas'r d'eisio di i fyn'd i ddal Wil a Jerry," meddai Andy, gan dori ar sisial Sam.

"Hai! beth sy' ar droed 'rwan, fachgen?"

"Wyddast ti ddim fod Lizzy wedi rhedeg i ffwrdd yn lân, â'i bachgen gyda hi!"

"Dysga di dy nain," ebe Sam, yn ddiystyrllyd; "mi wyddwn i hyny ymhell o dy flaen di; nid ydi'r niggar yma ddim mor ddall ag yr wyt ti'n meddwl."

"Wel, beth bynag, y mae Mas'r eisio i ni daclu'r ddau geffyl, Wil a Jerry, yn iawn; ac yr wyt ti a mina i fyn'd gyda Mas'r Haley i chwilio am dani hi."

"Da iawn! Dyna hi'n gweithio!" ebe Sam. "Sam ydi'r dyn sy eisia'r dyddia yma. Efe ydi'r niggar. Gei di wel'd y dalia i hi; geiff Mas'r wel'd beth fedr Sam wneud."

"Ha, Sam," ebe Andi, "well i ti feddwl ddwywaith; 'does ar missis ddim eisio'i dal hi;

a hwyrach na chei di ond diolch bach am dy boen."

"Hai!" ebe Sam, gan rythu ei lygaid bolwŷnion, "sut yr wyt ti'n gwybod hyny?"

"Mi clywis hi'n deud hyny, fy hun, y bore newydd hwn, pan oeddwn yn myn'd â'r dŵr shafio mewn i meistr. Hi gyrodd fi i edrych p'am nad oedd Eliza yn dwad i'w helpu i wisgo am dani: a phan ddeudas i bod hi wedi myn'd, neidiodd missis i fyny, a—'Moliant i'r Arglwydd,' medda hi; ond yr oedd mas'r yn edrych fel dyn o'i go; 'Wraig,' medda fo, 'yr ydach yn siarad yn ynfyd.' Ond gei di wel'd y daw hi â fo o gwmpas; mi wn i o'r gore sut y bydd hi; coelia di fi, mae hi'n saffach yn wastad bod o'r un tu i'r clawdd a missis."

Ar hyn crafodd Sam Ddu ei ben crych; ac er nad oedd llawer o ddoethineb ynddo, eto yr oedd yno rywbeth ag sydd o ddefnydd mawr i bobl gyfrwys, o bob lliw a gwlad, ac a elwir yn gyffredin "gwybod ar ba du i'r bara y mae'r 'menyn." Ac wedi synu am fynydyn, bachodd i fyny ei glôs drachefn; rhyw ffordd oedd hon ganddo i ddad-ddyrysu ei feddwl.

"'Does dim sicrwydd—nac oes, am ddim yn y byd *yma*," ebe efe o'r diwedd.

Yr oedd Sam yn siarad fel philosophydd, gan roddi pwyslais ar y gair *yma*, fel pe buasai yn gwybod am ryw lawer iawn o fydoedd, ac o ganlyniad wedi gwneud ei feddwl i fyny yn bwyllog.

"Yrwan, mi f'aswn yn meddwl y b'asai missis yn chwilio'r holl fyd am Lizzy," meddai Sam, yn ddifrifol.

"Felly y gwnaethai, ond ti ddim yn gwel'd trwy ysgol,—y niggar dû," ebe Andi; "'does ar missis ddim eisio i'r Mas'r Haley yma gael bachgen Lizzy; dyna'r gwir i ti."

"Hai!" meddai Sam, gyda rhyw swn gogleisiol nas gall neb ei ddynwared na'i amgyffred ond y rhai a'i clywsant yn mhlith y bobl dduon eu hunain.

"Ac mi ddeuda i ti chwaneg," ebe Andi, "yr ydw i'n dysgwyl y bydd yn well i ti gym'ryd y goes ar ol y ceffylau yna—a hyny yn bur fuan hefyd—yr ydw i wedi clywed missis yn gofyn am danat ti—yr wyt ti wedi bod yn siarad llawn gormod o lol."

Ar hyn dechreuodd Sam ymysgwyd o ddifrif, ac yn mhen ychydig dyma fe i lawr tua'r tŷ, gyda Wil a Jerry, ar lawn tith, a chan daflu ei hun yn chwimwth oddiar gefn ei geffyl, cyn iddo gael amser i sefyll, aeth i ben ei yrfa fel corwynt. Ebol ieuanc nwyfus oedd ceffyl Haley, yn gwingo ac yn neidio, ac yn tynu yn galed yn erbyn ei denyn.

"Ho, ho!" ebe Sam, "yr wyt ti'n anesmwyth, wyt ti?" A'i wyneb dû yn sirioli gyda rhyw wên gyfrwys-ddrwg. "Mi na i dy setlo di yn bur fuan."

Yr oedd ffawydden fawr yn cysgodi'r lle, a'r cnau ffawydd bychain, llymion, cornelog, yn gorwedd yn dew ar y ddaear dani. Cymerodd Sam un o'r rhai hyn rhwng ei fysedd, a chan gymeryd arno lywethu a llonyddu yr ebol, a thynhau'r cenglau, gwthiodd un o'r cnau bychain yn ddirgelaidd ac yn ddichlyn o dan y cyfrwy, fel y byddai i'r pwys lleiaf ar ei gefn beri i'r anifail wingo, heb adael briw i'w weled.

"Dyna fo!" ebe Sam, gan rolio ei lygaid, gyda gwen ystrywus; "ddaru mi setlo fo!"

Gyda hyny dyma Mrs. Shelby yn ymddangos ar y *verandah*, gan amneidio arno. Aeth Sam yn mlaen gyda'r fath benderfyniad o ymddangos yn foesgar ag un ymgeisydd am swydd wag yn llys St. James neu yn Washington.

"Ymh'le y buost ti'n ymdroi, Sam? Mi anfonais Andi i beri i ti frysio.

"Bendith arnoch chwi, missis!" ebe Sam, "ni chymer y ceffylau mo'u dàl mewn mynyd; yr oeddan nhw i ffwrdd draw 'mhell yn y borfa—a Duw wŷr ymh'le!"

"Sam, pa'm y mae'n rhaid i mi grybwyll wrthyt mor fynych am beidio dweyd, 'Duw a'ch bendithio,' a 'Duw a wŷr,' a'r fath bethau? Geiriau anystyriol ydynt."

"O, Duw 'm helpo i!—Yr ydw i yn gollwng yn annghof, missis: ond ni na i byth ddeud felly eto."

"Taw, Sam, yr wyt ti newydd ddywedyd y mynyd yma."

"A ddaru mi? Duw catto ni!—'doeddwn i ddim yn meddwl am ddeud."

"Y mae'n rhaid i ti fod yn ofalus, Sam."

"Gadewch i mi gael 'ngwynt, missis, a mi na i gychwyn yn dêg. Mi fydda' i yn ofalus iawn."

"Wel, Sam, yr wyt ti i fyned gyda Mr. Haley, i ddangos y ffordd iddo ac i'w helpu. Cymer ofal at y ceffylau, Sam; ti wyddost fod Jerry yn lled gloff yr wythnos ddiweddaf; *paid a'u gyru yn rhy galed.*"

Dywedwyd y geiriau olaf hyn gan Mrs. Shelby yn ddystaw, a chyda phwyslais cryf.

"Byddwch yn esmwyth—y fi ydi'r bachgen!" ebai Sam, gan droi ei lygaid, ac edrych fel yn llawn o ddeall. "Duw a ŵyr! Hai! Dim deud hyny!" eb efe, gan attal ei anadl yn sydyn, gyda'r fath ymchwydd digrifol, nes peri i'w feistres chwerthin, er ei gwaethaf: "Gwna, missis, mi 'drycha i ar ol y cyffylau!"

"'Rwan, Andi," meddai Sam, gan ddyfod yn ol i'w hen le o dan y ffawydd, "ni synwn i ddim, wel'di, pe gnai 'nifal yr hen ŵr boneddig yna daflu ei sodlau i fyny pan eiff ar ei gefn o. Ti wyddost, Andi, fod creduriad yn gneud felly weithia;" a chyda hyny rhoes Sam bwniad i Andi yn ei ystlys, yn slei ryfeddol.

"Hai!" ebe Andi, gan ddangos ei fod yn deall yn y mynyd.

"Iē, wel'di, Andi, y mae missis eisio cym'ryd yn ara'—y mae hyny'n ddigon plaen i'r dyn dŷla'. Mi 'na'i dipyn bach i'w phlesio. 'Rwan, wel'di, dim ond gadael y cyffylau yma yn rhydd, i redeg o gwmpas y fan yma, ac i lawr i'r coed yna, mi wranta' na cheiff mas'r ddim cychwyn ar frys gwyllt."—Chwarddai Andi.

"Wel'di," meddai Sam, "wel'di, Andi, *pe bai'r* fath beth ag i geffyl Mas'r Haley ddigwydd troi yn gastiog, a thaflu ei ben ol i fyny, mi awn ni'n dau i'w helpu, gnawn; *mi helpwn ni fo*, O gnawn!" A throdd Sam ac Andi eu penau ar eu hysgwyddau, gan dori allan mewn rhyw wich o chwerthin annghyffredin, ond lled ddystaw, a chlecian ei bysedd, a churo eu sodlau, gydag eithaf difyrwch.

Ar hyn ymddangosodd Haley ar y *verandah*. Wedi llareiddio ychydig trwy yfed amryw gwpaneidiau o goffi da iawn, daeth allan dan wenu a siarad yn lled addfwyn. A Sam ac Andi, wedi crafangu rhyw ddarnau o ddail palmwydd, a alwent yn hetiau, a redasant at y pŷst lle yr oedd y ceffylau yn rhwym, i fod yn barod i "helpu mas'r."

Yr oedd pob math o bleth wedi myned ymaith yn llwyr o amgylch het Sam; ac yr oedd y dellt wedi ymranu oddiwrth eu gilydd, ac yn sefyll mor sythion, nes rhoddi iddi y fath olygiad gwyllt o ryddid a hèriad ag a weddai i unrhyw benaeth yn mhlith y Fejeeaid; ac yr oedd holl gantel het Andi wedi cael ei dynu i ffordd yn lân, a tharawodd y coryn am ei ben gyda'r fath ddyrnod ac mor ddichlyn, ac edrychodd o'i gwmpas mor llòn, yn gystal a dywedyd, "Pwy sy'n dweyd nad oes gen i 'run het?"

"Wel, 'mechgyn i," ebe Haley, "edrychwch yn fywiog yrwan; nid oes genym ddim amser i'w golli."

"Nac oes ddim tammed, mas'r!" ebe Sam, gan roddi ffrwyn Haley yn ei law, a chan ddal ei wrthafl, ac Andi ar yr un pryd yn dattod tenyn y ddau geffyl arall.

Y mynyd y cyffyrddodd Haley â'r cyfrwy, fe neidiodd y creadur bywiog oddiar y llawr yn sydyn, ac a daflodd ei feistr nes oedd yn rholio ar y gwelltglas. Neidiodd Sam at y ffrwyn gydag ysgrech wallgofus; ond yn lle cael gafael ynddi, tarawodd gantel ei hen ddeilen o het yn llygad y ceffyl, yr hyn, yn lle ei lonyddu, a'i gwylltiodd yn waeth. Felly, gyda grym angerddol efe a daflodd Sam ar ei balfau, a chan roddi dau neu dri o chwythiadau diystyrllyd o'i ffroen, lluchiodd ei sodlau i'r awyr, carlamodd ymaith tua gwaelod y cae, a Wil a Jerry ar ei ol, y rhai a ollyngwyd yn rhyddion gan Andi, yn ol cytundeb, gan eu rhuso âg amrywiol floeddiadau erchyll. Ac yn awr fe dorodd allan fath o derfysg annesgrifiadwy. Rhedodd Sam ac Andi, gan waeddi a bloeddio—a'r cŵn yn cyfarth allan o bob congl—a Mike, Mose, Mandi, Ffanni, a phob hogyn a hogen yn y fan a'r lle, yn rhedeg, yn curo dwylo, yn gwaeddi ac yn 'sgrechian nerth eu penau, gyda zel a brwdfrydedd diflino.

Ymddangosai ceffyl gwŷn Haley, yr hwn oedd yn hynod o gyflym a bywiog, megys wrth fodd ei galon yn y terfysg; â chanddo gae agos i haner milltir o'i flaen yn rhedfa, a hwnw yn llechweddu yn raddol ar bob tu i goedtir diderfyn, ymddangosai fel yn cymeryd rhyw hyfrydwch neillduol wrth edrych pa mor agos y gallai oddef i'w ymlidwyr agosâu ato, ac yna pan ddeuent o fewn lled llaw i'w gyrhaedd, gyda naid a ffroen-chwythiad, y bwystfil dryg-ionus a yrai i lawr i ryw gilfach yn y coedtir. Nid oedd dim yn mhellach o feddwl Sam nag i un o'r ceffylau gael ei ddal cyn pen yr amser ag a ymddangosai iddo ef yn fwyaf cyfaddas—yn sicr yr oedd yr ymdrechiadau a wnaeth yn dra gwrol. Ac fel cleddyf Richard yn Mhalestina, yr hwn a fflamiai yn flaenaf un yn nhewder y gâd ffyrnicaf, yr oedd hen het Sam yn mhob man lle yr oedd y perygl lleiaf i geffyl gael ei ddal;—yna y rhuthrai yn mlaen gan floeddio, "Yrwan am dani hi!—daliwch o! daliwch o!" nes gyru pobpeth ar ffo mewn mynydyn.

Rhedai Haley i fyny ac i wared, gan dyngu a rhegu, a stampio ei draed bob yn ail. Ofer oedd i Mr. Shelby geisio bloeddio allan ei hyfforddiadau oddiar y *verandah*, a Mrs. Shelby o ffenestr ei hystafell weithiau yn chwerthin ac weithiau yn rhyfeddu—ac ar yr un pryd yr oedd ganddi ryw led-amheuaeth pa beth oedd yn ngwaelod yr holl derfysg hwn.

O'r diwedd, tua deuddeg o'r gloch, daeth Sam tuag adref yn fuddugoliaethus ar gefn Jerry, a cheffyl Haley wrth ei ochr, yn chwys ac yn darth, ond â llygad yn melltenu a ffroenau chwyddedig, gan ddangos nad oedd ysbryd rhyddid wedi hollol ymlonyddu eto.

"Mi daliwyd o!" ebai efe, yn orfoleddus. "Oni b'asai fi, gall'sent dori ar eu traws, bob un o honynt; ond mi daliais i fo!"

"Tydi!" ebe Haley, mewn tymher rwgnachlyd. "Oni buasit ti, ni buasai hyn yn dygwydd."

"Gwarchod ni, mas'r," ebe Sam, mewn tôn ddifrifol dros ben, "a minau wedi bod yn rhedeg ac yn ymlid nes y mae'r chwys yn diferu oddiwrtha' i!"

"Wel, wel!" meddai Haley, "yr wyt ti wedi colli i mi agos i dair awr o amser gyda dy ffolineb melldigedig. Yn awr, gadewch i ni fyn'd ymaith, a dim 'chwaneg o wirioni.

"Dyn anwyl, mas'r," ebe Sam, mewn tôn ymbiliol, "mi 'ddyliwn i bod chi am ein lladd ni allan ac allan, y ceffylau a'r cwbl. Dyma ni i gyd agos a dropio i lawr, a'r cre'duriad yn foddfa o chwys. 'Does bosib fod mas'r ddim yn meddwl cychwyn cyn cinio. Y mae ceffyl

mas'r eisio cael ei rwbio; 'drychwch fel y mae wedi ei splashio ei hun; ac y mae Jerry yn gloff hefyd; 'dwyf fi ddim yn meddwl y bydd missis yn fodlon i ni gychwyn fel hyn, beth bynag. Dyn a styrio, mas'r, ni ddown ni o hyd iddi, er i ni aros tipyn. Nid oedd Lizzy erioed yn medru cerdded yn dda iawn."

Mrs. Shelby, yr hon oedd yn clywed yr holl ymddyddan hwn oddiar y *verandah*, er mawr ddifyrwch iddi ei hun, yn awr a benderfynodd chwareu ei rhan hithau. Daeth yn mlaen, gan gyd-ymdeimlo yn hynod o addfwyn âg anffawd Haley, a phwyso yn daer arno aros i giniaw, dywedodd y byddai ar y bwrdd yn ddioed.

Fel hyn, ac ystyried pobpeth, aeth Haley i mewn i'r parlwr gyda rhyw weddusrwydd lled amheuol, a Sam, gan rolio ei lygaid ar ei ol â rhyw feddwl tu hwnt i amgyffred, aeth â'r ceffylau i fuarth yr ystablau.

"A welaist ti o, Andi?—a welaist ti o?" ebe Sam, wedi iddo ddyfod yn dêg i gysgod yr ysgubor a rhwymo'r ceffyl wrth y post. "O dyn, yr oedd hi bron gystal a phregeth—i'w wel'd o'n dawnsio ac yn cicio ac yn tyngu. On'd oeddwn i'n gwrando! Tynga d'oreu yr hen fachgen (ebe fi wrthaf fy hun;) a fyni di dy geffyl yrwan, neu a wnei di aros nes y cei di fo? (ebe fi.) Dyn anwyl, Andi, yr ydw i yn meddwl fy mod yn ei wel'd o y mynyd yma."



A rhoddodd Sam ac Andi eu pwys ar yr ysgubor, gan chwerthin nes oeddynt ar ymdori.

"Mi ddylsit wel'd mor gynddeiriog oedd pan ddois i â'r ceffyl i fyny. Gwarchod ni, mi f'asa yn fy lladd i pe b'asai yn meiddio; a minau yn sefyll yno mor ddiniwed!"

"Dyn anwyl, mi gwelais i di," ebe Andi; "on'd wyt ti yn hen rogyn, Sam?"

"Yr ydw i braidd yn meddwl fy mod," ebe Sam; "a welaist ti missis yn ffenest y llofft? Mi gwelais i hi'n chwerthin."

"Yn wir, nid oeddwn i yn gwel'd dim yn y byd, yr oeddwn i yn rhedeg mor ofnadwy," ebe Andi.

"Wel, wel'di," meddai Sam, gan fyned yn ddifrifol i lanhau ebol Mr. Haley, "yr ydw i wedi cael rhyw arferiad o *ddal sylw* ar bethau, Andi. Arferiad o bwys mawr ydi hon, Andi; ac mi ro'wn i ti gynghor i 'stydio hyny pan wyt yn ifanc. Côd i fyny'r troed ôl yna, Andi. On'd wyt ti yn gwel'd, Andi, y *dal sylw* sy'n gwneud yr holl wahaniaeth rhyngom ni'r niggars. On'd oeddwn i yn gwybod pa ffordd yr oedd y gwynt yn chwythu y bore heddyw? On'd oeddwn i yn gwel'd beth oedd ar missis eisio, er nad oedd hi yn cym'ryd arni? Dyna ydi *dal sylw*, Andi. Yr ydw i yn amau mai rhywbeth a elwi di yn synwyr ydyw. Nid ydyw synwyrau pawb yr un fath â'u gilydd, ond y mae gneud defnydd iawn o honynt yn myn'd ymhell iawn."

"Yr ydw i'n meddwl pe na b'aswn i yn helpu i ti ddal sylw y bore heddyw, na b'asit ti yn gwel'd dy ffordd mor bert," ebe Andi.

"Andi!" meddai Sam, "bachgen go smart wyt ti, 'does dim dadl. Mae gen i feddwl mawr am danat ti, Andi, ac nid oes arna' i ddim c'wilydd cym'ryd fy nysgu gen't ti. Ni ddylem ni edrych yn ysgafn ar neb, Andi, o herwydd y mae'r calla'n colli weithia, wyddost. Ac felly, Andi, gâd i ni fyn'd i'r gegin. Yr ydw i 'n sicir y rhydd missis i ni damad go dda'r tro yma.

## PENNOD VII.

### CALEDFYD Y FAM.

Mae'n anmhosibl dychymygu am un creadur dynol yn fwy unig ac amddifad nag ydoedd Eliza pan lamodd allan dros drothwy Caban F'Ewythr Twm.

Yr oedd peryglon a dyoddefiadau ei gŵr, a pherygl mawr ei phlentyn, yn nghyda rhyw wag ofn am ei pherygl ei hunan, yn gadael yr unig gartref fu ganddi erioed, a'r ffrind oreu oedd ganddi, yn bŵn mawr ar ei meddwl. Hefyd, gadael pob hen gydnabod—y fan lle magwyd hi, y coed y bu'n chware danynt, y llwyni yn mysg pa rai y bu'n rhodiana'n hapus lawer min nos gyda'i hanwyl George—pob peth, fel y gwelai hwynt ar noswaith rewlyd a serenog, fel pe buasent yn achwyn arni am eu gadael, ac yn gofyn i ba le y gallai fyned o'r fath gartref anwyl a hwnw?

Ond yr oedd anwyldeb mam yn gryfach na'r cwbl, ac wedi ei weithio i fath o wallgofrwydd wrth feddwl am berygl arswydus ei phlentyn. Yr oedd y bachgen yn ddigon o faint i gerdded wrth ei hochr, a than amgylchiadau cyffredin buasai yn ei arwain gerfydd ei law; ond yn awr yr oedd y meddwl am ei ddodi allan o'i breichiau yn ei dychrynu, a hi a'i gwasgodd ef at ei chalon, fel yr oedd yn brysio ymaith.

Yr oedd y ddaear rewlyd yn grinsian dan ei thraed, a dychrynid hi gan y swn; rhedai y gwaed yn ol i'w chalon, pan ysgydwai deilen neu gysgod ar draws eu llwybr, a phrysurai ei cherddediad. Synai ynddi ei hun o ba le y daethai y nerth oedd ganddi; o herwydd ni theimlai y bachgen o fwy pwysau na phluen, ac ymddangosai y grym goruwch-naturiol oedd yn ei gyru yn mlaen fel yn cynyddu gyda'i hofnau, tra y llithrai yn aml dros ei gwefusau, saeth-weddiau at y Ffrind sydd fry—"Duw a'm helpo! O Arglwydd, cadw fi!"

Tydi fam, beth pe buasai dy Harri neu dy Wili *di*, i gael ei gymeryd ymaith gan farchnatwr cïaidd mewn gwaed a chnawd dynion, y bore fory—beth pe buasit wedi gweled y dyn â'th lygaid, a chlywed fod y papyrau wedi eu hysgrifenu, ac yn ei feddiant ef, ac nad oedd genyt ddim ond o haner nos dan y bore i ddianc,—pwy mor fuan y gallesit *ti* gerdded? Pa sawl milltir a fuasit yn drafaelio yn yr ychydig oriau byrion hyny, â'th anwylyd yn dy gesail—ei ben anwyl ar dy ysgwydd,—a'i freichiau bychain ystwyth yn gwlwm am dy wddf?

O herwydd fe gysgodd y plentyn. Ar y cyntaf, yr oedd y dychryn a'r newydd-beth yn ei gadw yn effro; ond trwy fod ei fam yn ei gadw yn hollol ddystaw, ac yn dal i ddweyd wrtho y byddai hi yn sicr o'i "safio os na wnai gadw sŵn," efe a lechodd yn ei mynwes, heb ddim ond gofyn fel hyn pan deimlodd ei hun yn gysglyd:

"Mam, oes eisio i mi gadw yn effro?"

"Nag oes, machgen i; cysga, os oes arnat eisiau."

"Ond, mam, os gna i gysgu, 'newch chi adael iddo fo nghael i?"

"Na wnaf! Duw fo'n gymhorth i mi," ebe'r fam, a'i grudd yn llwytach, a'i llygaid mawrion yn fwy tanbaid.

"Ydach chi'n siwr, on'd ydach chi, mam?"

"Ydw'n ddigon siwr!" ebe'r fam, mewn llais ag oedd bron a chodi ofn arni, o herwydd ymddangosai fel llais ysbryd o'i mewn nad oedd yn rhan o honi hi ei hun; a phlygodd y plentyn ei ben blinedig ar ei hysgwydd, gan syrthio i drymgwsg mewn ychydig fynydau. O fel yr oedd cyffyrddiad ei freichiau cynes am ei gwddf, a'i anadliad esmwyth i'w brest, yn tanio ei hysbryd o'r newydd! Ymddangosai fel pe buasai nerth yn dylifo yn ffrwd o wefryddiaeth oddiwrth bob ysgafn gyffyrddiad ac ysgydwad o eiddo yr un bach cysglyd anwyl a ddygai yn ei mynwes. Mae rhywbeth mawreddus yn nylanwad y meddwl ar y corph, yr hwn, dros amser, a fedr wneud y cnawd yn ddideimlad, a chryfhau gewynau fel y dûr, gan wneuthur gwron daear o'r llestri gwanaf.

Fel yr oedd hi yn myned rhagddi, aeth cloddiau'r ffarm a gwrychoedd y dolau a'r coed-tir heibio iddi fel breuddwyd; eto yn mlaen a hi, gan adael y naill gynefin beth ar ol y llall, heb aros, heb arafu, hyd nes canfu awyr goch y bore lawer milltir tu draw i ddim a adwaenai, ar ganol y ffordd fawr.

Buasai lawer gwaith gyda'i meistres yn ymweled â rhyw gydnabod yn mhentref bach T—, yn lled agos i'r afon Ohio, a gwyddai'r ffordd yno yn burion. Cyrhaedd yno a chroesi'r afon, oedd ei chynllun cyntaf i ddianc; tu draw i hyny, nid oedd ganddi ddim ond hyderu ar Dduw.

Pan ddechreuodd ceffylau a throliau ddyfod ar hyd y ffordd, hi a ganfu yn union, fel pe buasai wedi ei hysbrydoli, y tynai sylw wrth fyned ar y fath frys gwyllt. Yna hi a osododd y bychan i gerdded, ac a daclusodd ei gown a'i bonnet, gan gerdded mor ddichlyn ag y medrai i gadw ymddangosiad. Yr oedd wedi darparu ystôr o gacenau ac afalau yn ei bwndel, y rhai a ddefnyddid ganddi i yru'r bychan yn ei flaen, trwy rolio afal ychydig latheni, a'r plentyn yn rhedeg â'i holl egni ar ei ol; gwnaeth hyn gynifer o weithiau ag a'u dygodd lawer haner milltir yn y blaen.

Yn mhen rhyw gymaint o amser, daethant i ganol lle coediog, trwy yr hwn y rhedai nant grisialaidd. A chan fod y plentyn yn cwyno syched ac eisiau bwyd, hi a ddringodd dros y clawdd gydag ef; ac eisteddasant yn nghysgod craig fawr oedd rhyngddynt a'r ffordd, lle y cafodd Harri ei foreufwyd allan o'r bwndel. Ni fedrai'r plentyn oddef gweled ei fam heb fwyta; a phan gydiodd am ei gwddf i geisio gwthio tamaid i'w genau, hi a deimlodd rywbeth yn codi yn ei llwnc, a bron a'i thagu.

"Na, na, Harri, machgen anwyl i! fedr mami ddim bwyta hyd nes byddi di allan o berygl! Rhaid i ni fyn'd a myn'd, hyd nes down ni at yr afon." Yna hi a frysiodd drachefn i'r ffordd, a cherddodd rhagddi yn ofalus fel o'r blaen.

Yr oedd erbyn hyn lawer milltir tu draw i bawb a'i hadwaenai. Ac os dygwyddai iddi gyfarfod rhywun a wyddai pwy oedd, barnai fod nodweddiad adnabyddus y teulu am eu caredigrwydd yn ddigon o esgus rhag iddynt feddwl mai ar ffô yr oedd. Yr oedd hefyd mor wŷned ei lliw, fel mai anhawdd gwybod fod gwaed negroaidd ynddi, a thrwy fod y plentyn yn wŷn hefyd, yr oedd yn llawer haws iddi fyned heb i neb ei drwg-dybio.

Ar ol ymresymu fel hyn â hi ei hunan, hi a drodd tua'r prydnawn i dŷ ffarm glanwaith, i orphwyso, ac i brynu tamaid o giniaw iddi hi a'r plentyn; o herwydd, fel yr oedd y pellder yn lleihau'r perygl, yr oedd ei nerth rhyfeddol hithau'n llacio, a theimlai eisiau bwyd a blinder.

Yr oedd gwraig y tŷ yn garedig ac yn siar-

adus, ac wrth ei bodd, mwy na pheidio, am gael rhywun i droi i mewn i ymgomio â hi; a derbyniodd chwedl Eliza yn ddigon di-feddwl-ddrwg, sef "ei bod yn myned dipyn yn mhellach, i dreulio wythnos gyda'i ffrindiau,"—yr hyn a ddymunai yn ei chalon mai gwir oedd.

Oddeutu awr cyn machlud haul, hi a gyrhaeddodd bentref T—, ar lân afon Ohio, yn flinedig, a'i thraed yn ddolurus, ond eto yn gryf o galon. Ei hedrychiad cyntaf oedd ar yr afon, pa un, megys yr Iorddonen, oedd rhyngddi a Chanaan ei rhyddid yr ochr draw.

Yr oedd yn awr yn ddechreu'r gwanwyn, a'r afon yn llawn llifogydd, ac yn gynhyrfus, a darnau mawr o rew yn rholio yma a thraw yn ei dyfroedd cymysglyd. Trwy fod ceulanau'r afon ar ochr Kentucky yn fath o figa-moga, a phentir yn rhedeg yn mhell i'r ffrwd, yr oedd llawer iawn o'r rhew wedi ei gloi i fyny, a'r lle cul ar gyfer y pentir yn dŷn o hono, ar draws eu gilydd yn mhob ystumiau; ac felly y rhew oddi-arnodd yn croni fel math o argae, yr hwn oedd yn siglo i fyny ac i lawr gan rediad y dyfroedd fel rhyw gors fawr ddychrynllyd, ac yn cyrhaedd bron at y lân yn ochr Kentucky.

Safodd Eliza am fynydyn, i syllu'n sŷn ar yr olygfa anffafriol hon, a chanfu ar unwaith na fedrai cwch y fferi groesi; yna hi a drodd i mewn i ryw dafarndŷ bychan yn ymyl i holi ac ymofyn.

Yr oedd gwraig y tŷ yn brysur gyda'i phadelli a'i photiau, yn ffrio ac yn stiwio gogyfer â'r hwyrbryd, a hi a drodd, â'i chigwain yn ei llaw, pan glywodd lais mwynaidd Eliza, ac a ofynodd,

"Beth sydd?"

"A oes cwch fferi yn croesi drosodd i B—, heddyw?" eb Eliza.

"Nag oes yn wir; mae wedi peidio rhedeg drosodd er's tipyn o amser."

Sylwodd y wraig ar wynebpryd siomedig a gwelw-lâs Eliza, a gofynodd mewn tôn deimladwy:

"Fe allai fod arnoch chwi eisiau myn'd trosodd?—oes rhywun yn sâl? 'Rydych yn ymddangos yn awyddus dros ben."

"Mae bachgen bach i mi mewn perygl mawr iawn," eb Eliza. "Ni chlywais i ddim nes oedd hi'n hwyr neithiwr, ac mi gerddais o bell ffordd heddyw, mewn dysgwyliad o fedru croesi'r fferi."

"Wel, y mae 'nyna yn anlwcus," ebe'r wraig; o herwydd deffrowyd teimladau'r fam ynddi; "mae'n ddrwg gen 'y nghalon i drostoch chwi. Solomon!" ebe hi allan o'r ffenestr, tua rhyw le bach yn y cefn; a daeth dyn at y drws a ffedog ledr o'i flaen, a'i ddwylaw yn fudron.

"Gwrando, Sol," ebe hi, "ydi'r dyn yna yn myn'd a'r barila dros yr afon heno?"

"Fe ddeudodd y treia fo, os bydda hi rwbeth yn debyg," ebe'r dyn.

"Mae dyn dipyn is i lawr yma yn meddwl myn'd trosodd heno, os geill o sut yn y byd; fe ddaw yma i swper yn y man, ac hwyrach mai gwell i chwi eiste i lawr a gorphwyso. Dyna fachgen bach clws," ebe hi, dan gynyg cacen iddo.

Ond yr oedd y plentyn druan wedi ei wisgo allan, ac yn crio o wir flinder.

"Druan bach, nid ydi fo ddim yn arfer cerdded, ac mi gyrais inau fo'n lled galed heddyw," eb Eliza.

"Wel, cym'rwch ef i mewn yna," ebe'r wraig, gan agor drws ystafell fechan, lle'r oedd gwely glân a chysurus. Dododd Eliza ef ar y gwely, ac ymaflodd yn ei ddwylaw hyd oni chysgodd yn drwm. Ond nid oedd orphwysfa iddi hi; yr oedd y meddwl am yr heliwr yn dyfod ar ei thrywydd yn llosgi fel tân yn ei hesgyrn; a daliodd i syllu, â golwg hiraethlon, ar y dyfroedd dyfnion oedd rhyngddi hi a'i rhyddid.

Ond rhaid i ni ei gadael yma am dro, hyd oni roddwn hanes ei hymlidwyr.

---

Er fod Mrs. Shelby wedi addaw y byddai y ciniaw ar y bwrdd yn gynar, fe gafwyd allan yn fuan, fel ag y cafwyd lawer gwaith o'r blaen, fod yn gofyn cael mwy nag un i wneuthur bargen. Felly, er rhoddi'r gorchymyn yn nghlyw Haley, ac er fod haner dwsin o'r rhai bychain wedi cludo gair drachefn a thrachefn at Modryb Cloe, ni wnai'r swyddoges hono ddim ond rhyw ffroenio yn ddirmygus gan daflu ei phen, a myned o gylch ei gorchwylion gydag arafwch anarferol a dull paid-a-brysio.

Rywfodd neu gilydd, yr oedd y gweinidogion yn gyffredin yn meddwl na byddai eu meistres yn ddig iawn, os dygwyddai i'r ciniaw fod yn hwyr; a rhyfedd gynifer o ddamweiniau a ddygwyddodd y diwrnod hwnw, i ddyrysu parotoad y ciniaw. Aeth un impin anlwcus, ac a gollodd y grafi, a rhaid i Modryb Cloe wneud peth ffres, yr hwn a osodwyd ar y tân yn berffaith reolaidd, a Modryb Cloe yn ei droi â'i llwy mor araf a malwen, ac yn ateb pob cais am frysio gyda, "Ni rof fi ddim grafi oer ar y bwrdd i helpu hela neb?" Llithrodd un wrth gario'r dwfr, a gorfu arno fyned cyn belled a'r ffynon i geisio rhagor drachefn; a gollyngodd un arall yr ymenyn ar y llawr; a dygid gair o bryd i bryd, fod "Mas'r Haley 'n bur anesmwyth, na fedrai ddim eiste' ar ei gader sut yn y byd;—ei fod yn cerdded o gwmpas, ac yn spio trwy'r ffenestri a thrwy'r drws."

"Sarfio fo'n iawn!" ebe Modryb Cloe, yn eiddigus. "Hi fydd yn waeth nag anesmwyth arno fo un o'r d'rnoda yma, os na altriff o'i

ffordd. Ddaw i fistir *ynta* i yru am dano fo, a geir gweled sut y bydd o'n edrach pryd hyny!"

"Mi eiff o i'r llyn o dân a brwmstan, yn siwr i chi," ebe Jake bach.

"Dim ond mae o'n haeddu!" ebe Modryb Cloe, dan wasgu ei dannedd; "llawer, llawer, llawer calon dorodd o,—'rydw i yn deud i chi bob un o honoch chi," ebe hi, dan sefyll a chodi ei chigwain yn ei llaw, "mae hi 'run fath ag yr oedd Mas'r George yn darllen yn y Datguddiad—eneidia yn llefain dan yr allor! yn llefain ar Dduw am ddial ar rai fel hwn—a bob yn dipyn mi wrendy'r Arglwydd arnyn nhw—gneiff mi neiff!',

Yr oedd Modryb Cloe yn fath o oracl yn y gegin, a phawb yno yn gwrando arni â safn agored: a'r pryd hyn, wedi cael y ciniaw oddiar y ffordd, yr oedd yr holl gegin yn cael hamdden i dyru o'i chwmpas i siarad.

"Geiff rhai fel yna'i llosgi am byth, 'does dim dowt, oni chân nhw?" ebe Andi.

"Mi leicwn i gwel'd nhw, gnawn yn wir!" ebe Jake bach.

"Blant!" ebe llais a wnaeth iddynt oll neidio. F'Ewythr Twm ydoedd, yr hwn a ddaethai i mewn, ac a safodd wrth y drws i wrando arnynt. "Blant!" eb efe, "mae arna'i ofn na wyddoch chi ddim beth ydach chi 'n ddeud. Mae *byth* yn air dychrynllyd, blant; yn arswydus meddwl am dano. Ni ddylach chi ddim dymuno 'nyna i 'run creadur rhesymol."

"Nid ydan ni ddim yn dymuno i neb ond masnachwrs 'neidia," ebe Andi; "ni fedyr neb ddim help dymuno i'r rheini, maen' nhw mor ofnadwy o ddrwg."

"On'd ydi natur 'i hunan yn gweiddi yn i herbyn nhw?" ebe Modryb Cloe. "On'd ydan nhw'n tynu'r plentyn sugno odd'ar fron ei fam, ac yn i werthu fo, a'r plant bach sy'n crio, ac yn cydio yn nillad i mam,—on'd ydan nhw yn 'i llusgo nhw i ffwrdd, ac yn gwerthu rheini? On'd ydan nhw yn dwyn gwŷr oddiar eu gwragedd?" ebe Mobryb Cloe, a'r dagrau yn dechreu rholio, "pryd y mae o fel myn'd â'u bywyd nhw?—a beth maen' nhw'n deimlo trwy gydol yr amser?—on'd ydan nhw'n yfed ac yn smocio, ac yn i chym'ryd hi'n ddigon esmwyth? Yn wir, os na neiff y gŵr drwg eu cym'ryd nhw, beth ydi'r gŵr drwg da, tybed?" Ac fe guddiodd Modryb Cloe ei gwyneb yn ei 'ffedog fraith, gan feichio crio o ddifrif calon.

"Mae'r Gair yn deud, 'Gweddiwch dros y rhai a wnant niwed i chwi,'" ebe Twm.

"Gweddio drostyn nhw, yn wir!" ebe Modryb Cloe, "mae hi'n rhy galed o lawer! ni fedra i mor gweddio drostyn nhw!"

"Dyna ydi natur, Cloe, ac y mae natur yn gref," ebe Twm; "ond y mae gras Duw yn gryfach; ac heblaw hyny, mi ddylat feddwl am gyflwr arswydus enaid y dyn a wnelo'r fath betha—ac mi ddylat ddiolch i Dduw nad wyt ti ddim *'run fath* a fo, Cloe. Mi fydda'n well gen i gael fy ngwerthu fil o weithiau drosodd, na ngalw i gyfrif am y petha' sy' gen y creadur truenus yna i ateb am danynt."

"Felly fina, o lawer," ebe Jake. "Mi fase'n galed arnon ni, oni fase hi, Andi?"

Fe scrwtiodd Andi ei ysgwyddau, fel arwydd o'i gydsyniad.

"Mae'n dda gen i nad aeth Meistr ddim ffwrdd bore heddyw, fel 'roedd o'n bwriadu," ebe Twm; "ddaru hyny 'y mrifo i yn fwy na'r gwerthu. Allsa fod yn naturiol iddo fo, ond fasa'n galed iawn arna i, sy'n ei 'nabod o er pan oedd o'n blentyn; ond mi fum i'n siarad efo mistar, ac yr ydw i'n dechre bodloni i 'wyllys yr Arglwydd 'rwan. Nid oedd gan Mistar ddim help; mi na'th yn ei le, ond y mae arna i ofn yr eiff pob peth o chwith 'rol i mi fyn'd i ffwrdd. Nid oes dim dysgwyl i Mistar fod ymhob man, a gwelad pob peth, fel 'roeddwn i, a dwad a deupen llinyn yn nghyd. Mae'r bechgyn yn amcanu'n dda, ond y mae nhw yn bur esgeulus a di-ofal. Dyna be' sy' mlino i."

Gyda hyn canwyd y gloch, a gyrwyd am Twm i fyned i mewn i'r parlwr.

"Twm," eb ei feistr wrtho, yn garedig, "mae arnaf eisiau i ti ddal sylw fy mod i yn ymrwymo i dalu mil o ddolars i'r gŵr boneddig yma, os na byddi di yn y fan a'r lle pan ddaw ef i alw am danat; mae yn myned heddyw o gylch rhyw faterion eraill, a gelli di gymeryd y diwrnod i ti dy hun. Dos i'r fan y mynot ti, machgen i."

"Diolch i chi, Mistar," ebe Twm.

"Ac edrych di atat dy hun," ebe Haley, "a phaid ti a chwareu castiau niggars hefo dy fistar; o herwydd mi fyna i bob *cent* o'r arian ganddo fo, os na byddi di yma. Pe bai o yn gwrando arna' i, ni choelia fo 'run o honoch chi—mor llithrig a llyswennod!"

"Mistar," ebe Twm—ac efe a safodd yn syth—"yr oeddwn i yn wyth oed pan ddaru fy hen feistres eich rhoi chwi yn 'y mreichia i, a phrin yr oeddach chi yn flwydd oed. 'Dyna,' ebe hi, 'Twm, dyna dy fistir ifanc *di*, cymer ofal o hono fo,' ebe hi. A 'rwan, gadewch i mi ofyn i chi mistar, a ddaru mi 'rioed dori ngair hefo chi, neu'ch croesi chi, 'n enwedig er pan ydw 'n Gristion?"

Yr oedd Mr. Shelby wedi ei lwyr orchfygu, a dechreuodd ei lygaid lenwi o ddagrau

"Machgen anwyl i," eb efe, "mae Duw yn gwybod nad wyt ti yn dweyd dim ond y gwir; a phe gallwn i helpio fy hun, ni fedrai'r holl fyd ddim dy brynu di."

"A chyn wired a mod inau yn wraig Gristionogol," ebe Mrs. Shelby, "ti gei ddyfod yn ol mor gynted ag y gallaf fi gael y modd i wneud

hyny. A Syr," ebe hi wrth Haley, "byddwch ofalus i bwy y gwerthwch ef, a gadewch i mi gael gwybod."

"Dyn a 'styrio," ebe Haley, "o ran hyny, hwyrach y dof fi a fo'n ol ymhen y flwyddyn, heb fod flewyn gwaeth, ac y gwertha i fo i chi."

"Myfi a'i prynaf y pryd hyny, ac ni chewch fod yn eich colled," ebe Mrs. Shelby.

"Wrth gwrs," ebe yntau, "yr un peth yn union i mi; ni waeth gen i ddwad â nhw i fyny na myn'd â nhw i lawr, ond i mi gael busnes da. Nid oes arna i ddim ond eisio ynill fy nhamad, wyddoch, ma'm; ac mae'n debyg mai dyna sy' ar bawb o honon ni eisio."

Teimlodd Mr. a Mrs. Shelby iselhad ac atgasrwydd yn hyfder digywilydd y masnachwr, ac eto gwelodd y naill a'r llall ei bod yn gwbl angenrheidiol gadael iddo, a gosod attaliad ar eu teimladau. A pho fwyaf ariangar a dideimlad yr ymddangosai, mwyaf fyth oedd ofnau Mrs. Shelby y llwyddai i ddal Eliza a'i phlentyn, ac wrth reswm, mwyaf awyddus fyth oedd i'w gadw yno trwy bob dyfais o fewn i ymenydd merch. O ganlyniad, hi wenodd, ac a gydsyniodd, ac a siaradodd yn gyfeillgar, gan wneud pob peth a fedrai i dynu ei sylw oddiar y cloc.

Am ddau o'r gloch, daeth Sam ac Andi â'r ceffylau at y post, wedi eu hadfywio yn rhyfeddol trwy eu gwib-deithiau yn y bore.

Dyna lle'r oedd Sam, newydd ei flonegu gan giniaw, yn llawn zel a phrysurdeb. A phan nesaodd Haley atynt, yr oedd Sam yn ymffrostio wrth Andi mewn iaith oruchelaidd, pa mor lwyddiannus fyddent ar ol iddo ef gael "cychwyn yn iawn."

"Mae yn ddigon tebyg nad ydi dy feistr ddim yn cadw cŵn," ebe Haley, yn feddylgar, pan ar godi ei droed i'r wrthafl.

"Lots o honyn nhw!" ebe Sam, yn orchestol; "dyna Bruno,—ci heb ei fath ydi fo; a 'blaw hyny, mae pob niggar o honon ni yn cadw corgi o ryw fath neu gilydd."

"Pw—pw!" ebe Haley—ac efe a ddywedodd rywbeth arall hefyd am y cyfryw gŵn, i'r hyn yr atebodd Sam dan fwmian:—

"Nis gwn i pwy les ydi rhegu nhw, beth bynag."

"Ond a ydi dy fistar yn cadw cŵn i hèl niggars? (mi wranta nad ydi o, 'ran hyny.")

Fe wyddai Sam yn burion beth oedd arno eisiau; ond efe a edrychodd mor wirion a'r post.

"Mae'n cŵn ni yn smelio o gwmpas yn lled sharp. Allwn i feddwl bod nhw jest y peth, serch na cheison nhw fawr o ddysg. Mae'n nhw'n gŵn *gweddol* at un peth, ond i chi cychwyn nhw. Tyr'd yma, Bruno!" eb efe, gan chwibanu ar y Newfoundland mawr amrosgo, yr hwn a ddaeth ato o glûn i glûn.

"Dos i dy grogi!" ebe Haley, gan neidio ar gefn ei geffyl. "Tyr'd o'na,—tymbla i fyny!"

Fe dymblodd Sam i fyny ar winciad llygad, ond wrth wneud efe a ogleisiodd Andi dan ei asenau, nes y torodd hwnw allan i chwerthin nerth ei ben, er mawr ddigofaint i Haley, yr hwn a geisiodd ei daro â'i chwip.

"Mae'n rhyfedd gen i atat ti, Andi," ebe Sam, gan gymeryd arno fod yn bur sobr. "Mae hwn yn fater o bwys. Rhaid i ti beidio gneud sport. Nid dyna'r ffordd i helpio mas'r."

"Mi gymra' i'r ffordd syth at yr afon," ebe Haley, yn benderfynol, ar ol myned o gyffiniau y ffarm. "Mi wn i ffordd pob un o honyn nhw—mae'n nhw yn cym'ryd y goes i'r ffordd tàn ddaear."

"Siwr iawn!" ebe Sam, "dyna'r fel! Mae Mas'r Haley yn ei hitio hi i'r dim! 'Rwan, mae dwy ffordd at yr afon,—ffordd fudyr a'r ffordd fawr—p'run mae mas'r yn feddwl gym'ryd?"

Trodd Andi ei lygad yn ddiniwed ar Sam, pan glywodd ef mor ddysgedig mewn daearyddiaeth, ond dywedodd yntau yr un peth bron yn yr un anadliad.

"'Herwydd p'am," ebe Sam, "'rydw i braidd yn meddwl y cymrai Lizzy'r ffordd fudyr, am mai ar hono mae lleia' o drafaelio."

Er fod Haley yn hen aderyn, ac yn bur naturiol i ddrwg-dybio peiswyn, tueddwyd ef i gymeryd gair Sam.

"Oni bai'ch bod chi'ch dau y fath gelwyddgŵn diffaith," ebe Haley, megys rhyngddo âg ef ei hun, gan sŷn-fyfyrio.

Yr oedd agwedd a thôn Haley wrth ddweyd hyn mor ddigrif yn ngolwg Andi, fel yr arosodd ychydig ar ol, gan chwerthin nes oedd bron syrthio oddiar ei geffyl; ond tynodd Sam ei wyneb cyhyd a heddyw ac yfory.

"Wrth gwrs," ebe Sam, "eill mas'r 'neud ffordd fyno fo; myn'd ffordd fawr os bydd mas'r yn dewis—'run peth yn union i ni. A 'rwan wrth feddwl am hyny, 'ddyliwn i mai'r ffordd fawr pia hi o'r haner."

"Fyddai'n naturiol iddi gym'ryd ffordd anghysbell," ebe Haley wrtho ei hun, heb hidio mo Sam.

"'Does dim posib deud," ebe Sam; petha od iawn ydi merched. Ni 'nan' nhw ddim yn y byd ddisgwyliach chi iddyn' nhw neud; yn groes i hyny yn gyffredin iawn. Mae merched wedi gneud o chwith; felly, os ydach chi yn meddwl mai'r ffordd yma'r euthon nhw, gwell i chi fyn'd ffordd acw, yna fyddwch yn siwr o ddwad o hyd iddyn' nhw. 'Rwan, 'rydw i'n meddwl ynof fy hun i Lizzy gym'ryd y ffordd fudr; felly mae'n well i ni gym'ryd y ffordd fawr."

Nid oedd yr olwg ddofn a gwreiddiol hon o'r rhyw fenywaidd yn cael llawer o effaith ar Ha-

ley, i'w droi i'r ffordd fawr; ac efe a ddywedodd yn benderfynol y cymerai'r ffordd arall, a gofynodd i Sam pa hyd y byddent cyn dyfod ati.

"Dipyn bach ymlaen," ebe Sam, gan wincio'r llygad nesaf at Andi; ac yn dweyd yn sobr anarferol, "ond yr ydw i yn ail feddwl ar y mater, a marn i ydi na ddylan' ni ddim cym'ryd y ffordd hono. Ni fu'm i 'rioed ar hyd'ddi hi sut yn y byd. Mae hi'n annghysball ofnadwy, ac mi alle'n golli'r ffordd—a be' ddoe o honon ni, y taid a ŵyr."

"Mi âf fi ffordd hono, serch hyny," ebe Haley.

"'Rwan, 'rydw i'n cofio clywad deud bod hi wedi chau fyny yngwaelod y nant, onitô, Andi?"

Nid oedd Andi ddim yn "siwr," efe a "glywsai sôn" am y ffordd, a dyna'r cwbl. Ni buasai erioed ar hyd'ddi. Yn fyr, penderfynodd Andi sefyll yn glir.

Arfer Haley fyddai taro'r fantol o debygolrwydd yn ol maint y celwydd, boed bach neu fawr, a barnodd y tro yma fod y fantol yn troi tua'r ffordd fudyr. Barnodd mai yn ddifeddwl y gollyngasai Sam hyn allan ar y cyntaf; ac mai ymddyrysu mewn celwydd yr oedd o hyd wedi hyny, i'r dyben o'i berswadio ef i fyned ryw ffordd groes i'r hon yr aethai Eliza.

O ganlyniad, pan ddangosodd Sam y ffordd, trodd Haley ei geffyl iddi ar drôt wyllt, a Sam ac Andi ar ei ol. Hen ffordd oedd hon, a ddefnyddid gynt i fyned at yr afon, ond wedi ei gadael er's llawer blwyddyn, ar ol agor y ffordd *durnpike*. Ond yr oedd eto yn agored am ychydig filltiroedd, ac wedi hyny croesid hi gan amryw ffermydd a chloddiau. Fe wyddai Sam hyny'n burion; yn wir, yr oedd wedi ei chau i fyny cyhyd, fel na chlywsai Andi erioed son am dani. Gan hyny, efe a aeth yn mlaen gan arwyddo ymostyngiad i'w doethineb hwy, ond yn grwgnach yn awr ac yn y man, mai ffordd ddrwg gynddeiriog oedd, ac na wyddai beth a ddeuai o droed Jerry.

"'Rwan waeth i chi un gair na chant," ebe Haley, "mi adwen i chi; ni chewch chi mo hona i oddiar y ffordd yma er maint eich sŵn, —am hyny cauwch eich cegau!"

"Mi fyniff mas'r ei ffordd ei hun," ebe Sam, â gwyneb hir, ac ar yr un pryd yn crychu congl ei gêg ar Andi, yr hwn oedd bron a thori ar ei draws gan chwerthin.

Yr oedd Sam yn llawn llygaid, ac yn cymeryd arno weled yr holl wlad o'i amgylch—weithiau efe a grochlefai fod bonnet ar ben rhyw dwmpath yn mhell bell draw, ac yna gofynai i Andi ai nid Eliza oedd honacw yn ngwaelod y pant—a phob amser yn tori allan fel hyn, yn y lle mwyaf tyllog a eherigog o'r ffordd, lle y byddai brysio cerddediad yn fwyaf annghyfleus i bawb, ac felly yn cadw Haley ar ddrain a mieri.

Ar ol marchogaeth fel hyn tuag awr, daeth y tri yn sydyn i ydlan rhyw ffarm fawr. Nid oedd yno un enaid byw oddeutu'r tŷ, o herwydd yr oeddynt oll yn mhell yn y caeau. Ond gan fod yr ysgubor yn hollol ar draws y ffordd, yr oedd yn ddigon amlwg eu bod ar ben eu siwrne yn y ffordd hono.

"Oni ddeudas i wrth mas'r mai dyma fel 'roedd hi?" ebe Sam, gyda golwg dyn wedi cael llawer o gam. "Sut medyr pobol ddiarth ddisgwyl 'nabod y wlad yn well na rhai wedi geni a'u magu ynddi hi?"

"Y rascal drwg!" ebe Haley, "mi wyddat ti hyn yn burion."

"Oni ddeudas i gwyddwn i? ond 'choeliach chi mona i. Mi ddeudas wrth mas'r fod ffordd wedi chau fyny, ac nad oeddwn i ddim yn dysgwyl gallan ni fyn'd at yr afon—mi clywodd Andi fi."

Nid oedd wiw ceisio gwadu hyn, a gorfu ar Haley roi'r gwyneb goreu ar y mater, a phocedu'r siomedigaeth goreu gallai. Yna troisant eu hwynebau ill tri tua'r ffordd fawr.

Rhwng pob oediad a'i gilydd, yr oedd Eliza wedi cyrhaedd y tafarndy a dodi ei phlentyn i gysgu, tua thri chwarter awr cyn i Haley a'r ddau heliwr duon gyrhaedd y lle. Yr oedd Eliza yn sefyll wrth y ffenestr yn edrych ffordd arall, pan ganfu Sam hi â'i lygad barcut. Tua dwylath o'r tu ol iddo yr oedd Haley ac Andi. Bron yn yr un adeg, llwyddodd Sam i golli ei het, a gwnaeth nâd na fedrai neb ond ei hunan mo'i gwneud. Deallodd Eliza pwy oeddynt, a neidiodd yn ol, tra'r aethant hwy o gylch congl y tŷ at ddrws y neuadd.

Ymddangosai i Eliza fod mil o fywydau wedi eu crynhoi yn y foment hono. Yr oedd drws ei hystafell yn agor ar yr afon. Hi a gipiodd y plentyn, ac a redodd i lawr y grisiau tua'r dwfr. Cafodd Haley lawn olwg arni, pan ddiflanodd i lawr y geulan; a chan neidio oddiar ei geffyl, a galw yn uchel ar Sam ac Andi, aeth ar ei hol fel ci ar ol carw. Yn y foment gyfyng hono, prin y cyffyrddai ei thraed â'r llawr, ac yr oedd ar lân yr afon mewn amrantyn. Hi glywai swn eu traed o'r tu ol; a chyda'r fath egni ag a rydd Duw yn unig mewn cyfwng, gyda bloedd a naid hi a ehedodd dros y ffrwd dychrynllyd oedd rhyngddi a'r rhew. Yr oedd yn naid arswydus—anmhosibl i ddim ond gwallgofrwydd a llwyr ymroddiad enaid; a safodd Haley, Sam, ac Andi wrth ei gweled, gan godi eu llais a'u dwylo ar unwaith.

Pan ddisgynodd hi ar y darn anferth o rew gwyrdd-lâs, dechreuodd hwnw rolio a chracio oddi tani;—ond nid arosodd arno amrantyn. Gyda bloedd wallgofus, ac egni garuwch-naturiol, hi a neidiodd i un arall, ac arall, ac arall drachefn; dan lithro, llamu, syrthio, ac i fyny'r eilwaith! Daw ei hesgidiau wedi myned,



traed ei hosanau wedi rhwygo, a'i gwaed yn lliwio pob cam a roddai. Ond nis gwelodd hi ddim, ni theimlodd ddim, hyd nes y canfu ddyn, megys mewn breuddwyd, ar ochr Ohio i'r afon, yn rhoddi help llaw iddi i fyny'r geulan.

"Wel, lodes heb ei hail wyt ti, pwy bynag wyt ti!" ebe'r dyn, gyda llŵ.

"O Mr. Symmes!—safiwch fi!—O safiwch fi!—cuddiwch fi!" eb Eliza.

"Beth!—beth ydi hyn?" ebe'r dyn. "Ngair gwir i, os nad lodes Shelby ydi hi!"

"Fy mhlentyn!—y bachgen bach hwn!—efe a'i gwerthodd!—a dacw ei feistr ef!" ebe hi, gan bwyntio i'r tu arall i'r afon, i ochr Kentucky. "O Mr. Symmes! y mae genych chwithau fachgen bach!"

"Felly y mae geni," eb efe, fel yr helpiai hi yn garedig i ddringo y geulan serth. "'Blaw hyny, 'rwyt ti'n lodes wych i'r eitha'. Mi fyddai'n leicio gwel'd metel, p'le bynag y bo fo."

Ar ol iddi gyrhaedd pen y geulan, safai y dyn yn ddystaw gan sỳn-fyfyrio; ac eb efe—

"Mi fydde'n dda gin i allu gwneud rhywbeth trosot ti; ond nid oes gen i un man y gallwn dy gym'ryd iddo. Y peth gora a alla i 'neud ydi dy gynghori i fyn'd i'r tŷ acw," eb efe, gan bwyntio at dŷ gwỳn mawr oedd yn sefyll ar ei ben ei hun, ar y naill ochr i brif heol y pentref. "Dos yno; mae pobl y tŷ yn rhai c'redig iawn,—ddaw dim peryg arnat ti yno,—mi 'nân' nhw dy helpio di,—mae nhw i fyny â phob peth o'r fath."

"Bendith yr Arglwydd arnoch chi!" eb Eliza.

"Dim achos, dim achos yn y byd," ebe y gŵr, "'t oedd hyny neis i ddim gwerth son am dano."

"Ond, O Syr! ni wnewch chwi ddim deud wrth neb—a wnewch chwi?" ebe Eliza.

"Dos i'r t'rane, 'lodes; be' wyt ti'n feddwl ydw i? Na-wna, byth ddweyd i neb," ebe y gŵr. "Tyr'd 'rwan, dos yn dy flaen fel 'lodes bert, s'nwyrol, fel mae'n ymddangos i mi dy fod di. Mi 'rwyt ti chwedi ynill dy ryddid; a mi cei o hefyd, er dim a 'na i i dy rwystro di."

Gwasgodd Eliza y plentyn i'w mynwes, a phrysurai ymaith, a'r dyn yn sefyll, ac yn edrych ar ei hol.

"Hwyrach na 'styria Shelby dro fel hyn yn dro mwya' cym'dogol yn y byd," ebe fe wrtho ei hun. "Ond be' fedr dyn 'neud;—os daw yntau byth ar draws lodes i mine yn 'r un cyflwr, bydd croeso iddo dalu'n ol. Fedr'is i 'rioed, r'wsut, 'drychyd ar un math o gryadur 'n mydrechu a 'mygnio i redeg i ffwrdd, a'r cŵn ar eu hole nhw, a pheidio rhoi help iddyn nhw. Peth arall, 'tydw i ddim yn gallu gwel'd 'run rheswm p'am y dylwn i hela a hyntio tros bobl er'ill."

Felly yr ymresymai y Kentuckiad anllythyrenog ac anwybodus hwn, yr hwn na chawsai ei addysgu yn ol y gyfraith yn ei ddyledswyddau gwladwriaethol, ond a aethai yn ol teimladau cynhenid ei natur. Pe buasai mewn uwch sefyllfa, ac wedi cael yr addysg gyffredin, ni buasai yn ymddwyn mor ddyngarol ag y gwnaeth.

Safai Haley fel delw, yn syllu ac yn tremio, nes aeth Eliza o'r golwg y tu arall i'r afon,—pan y trodd olwg synllyd ar Sam ac Andi.

"Dene strôc o fusnes go lew yn y fan ene!" ebe Sam.

"Y mae saith o gythreuliaid yn y lodes,

'rwy'n credu," ebe Haley, "yr oedd hi yn neidio ac yn picio fel cath wyllt."

"Wel, 'rwan," ebe Sam, "fi'n gobethio y gneith Mas'r Haley 'n 'scusodi ni i beidio treio teithio y ffordd ene—'does arnon ni ddim blŷs ei threio hi sut yn y byd!" eb efe, gan chwerthin yn groch.

"Ai chwerthin 'rwyt ti?" ebe Haley.

"Bendith arnoch chi, Mas'r!" ebe Sam, gallwn i ddim wrtho fo 'rwan!" gan ollwng y ffrwyn i'w deimladau. "Ynt oedd hi mor ddigri', yn neidio ac yn picio ar hyd y rhew, a hwnw'n clecian ac yn crecian; a'i chlywed hi dwmp—damp—dwns—dans—spring—sprang! Taid anwyl! wel 'roedd hi yn i gneud hi!" Yna chwarddai y ddau nes oedd y dŵr yn rhedeg o'u llygaid.

"Mi 'na i chi chwerthin 'rochor arall i'ch cêge, 'n union!" ebe Haley gan geisio at eu penau hwy efo ei chwip. Rhedodd y ddau nerth y traed i fyny'r banc, gan grechwenu a chwerthin; a neidiasant ar gefnau Bill a Jerry cyn i Haley allu eu cyffwrdd.

"Prydnawn da, Mas'r!" ebe Sam—"gwranta i bod missis yn anesmwyth 'n achos Jerry; Mas'r Haley dim 'n heisio ni bellach. Leicia missis dim i ni yru Bill a Jerry dros bont Lizzy



heno!" a chan fowio ar Mr. Haley a rhoi pwniad i Andi yn ei ochr, ymaith â'r ddau ar garlam wyllt, gan chwerthin a chrechwenu wrth fodd eu calonau, a'u swn a ddygid am gryn amser gyda'r gwynt i glustiau Haley.

## PENNOD VIII.

### ELIZA ALLAN O AFAEL YR HELIWR.

Gwnaeth Eliza ei llwybr dychrynllyd dros yr afon yn mîn t'wyllnos; a chododd tarth yn araf oddiar y dwfr, a chauodd hi allan o'r golwg yr ochr draw. Nid oedd un gobaith y gallai ei hymlidwyr ei chanlyn dros lifogydd yr afon, a'r darnau peryglus o rew oedd yn siglo ac yn rholio ynddi. O ganlyniad, fe drodd Haley yn arafaidd ac yn ddrwg ei natur tua'r tafarndy, i droi a throsi yn ei feddwl pa beth a wnai nesaf. Agorodd y wraig ddrws y parlwr iddo, lle'r oedd y llawr wedi ei orchuddio â charped gartref, a bwrdd ar ei ganol â math o lian gloywddu drosto, nifer o gadeiriau cefn-uchel, a delwau o blaster yn goch, glâs, a melyn ar fantel y simnai, uwch ben aelwyd led fyglyd; ar gyfer y tân yr oedd hen setl fawr o goed derw, ar ba un yr eisteddodd Haley, i sŷn-fyfyrio ar anwadalwch gobeithion a hapusrwydd daearol yn gyffredin.

"Nis gwn i beth oedd arna' i eisio gan y felldith bychan yna," eb efe wrtho ei hun, "i gael gneud ffwl o honwy' fel hyn;" ac yna efe a esmwythodd ei feddwl trŵy gymhwyso ato ei hun nifer o enwau drwg a rhegfeydd, pa rai, er nad oes un amheuaeth am eu priodoldeb, y mae'n well genym beidio eu hail-adrodd.

Ond deffrowyd ef yn sydyn o'r hunan-ymholiad hwn gan lais uchel rhyw ddyn oedd megys yn disgyn oddiar gefn ei geffyl wrth y drws. Ac efe a frysiodd at y ffenestr.

"Fel mae byw fi! os nad ydi hyn y peth tebyca' welas i 'rioed i'r hyn mae pobol yn alw yn rhagluniaeth," ebe Haley. "Nad elw i fyth o'r fan yma, os nid dyna Twm Loker."

Ac allan âg ef ar frys. Wrth y bâr, yn nghongl yr ystafell, safai dyn cymalog ac esgyrnog, yn llawn ddwy lath o hyd, a'i led yn cyfateb. Yr oedd ganddo am dano gôt o groen buffalo, a'r tu blewog allan, yr hyn a roddai iddo olwg fileinig a dideimlad, ac yn cytuno yn berffaith â'i wynebpryd. Yn ei ben a'i wyneb yr oedd pob llinell yn dangos mai creadur ciaidd a hollol ddideimlad ydoedd. Yn wir, pe gallai'r darllenydd ddychymygu mastiff wedi tyfu i faintioli dyn, ac yn cerdded o gwmpas mewn côt a het, byddai ganddo ddrychfeddwl lled agos o'i ymddangosiad. Yr oedd ganddo gyd-drafaeliwr, hollol groes iddo bron yn mhob peth. Bŷr, teneu, ystwyth fel câth yn ei holl ysgogiadau, a'i lygaid duon yn spïo i bob peth, bob amser yn llygota, a phob ystûm ar ei wyneb yn cyd-daro; yr oedd ei drwyn main hir, fel yn awyddus am chwilio i waelod pob peth, a'i wallt llyfn, dû, teneu, wedi ei dynu ar yn mlaen, a phob agwedd, osgo ac ystumiad yn dangos craffder, cywreinrwydd a drwgdybiaeth. Y dyn mawr amrosgo a arllwysodd haner llonaid gwydryn helaeth o wirod noeth, ac a'i troes i lawr yn un llwnc heb ddweyd gair. Ond safodd y bychan ar flaenau ei draed, gan droi ei ben i un ochr, yna i'r ochr arall, a dodi ei drwyn o'r naill botel i'r llall, ac o'r diwedd galwodd am fint julep, mewn llais teneu a chrynedig, a chydag ymddangosiad o gallder a phwyll neillduol. Ar ol ei arllwys i'r gwydryn efe a'i cododd, ac a edrychodd arno yn graffus, a'i

lygaid yn lloni, fel dyn wedi gwneud rhyw gamp, a tharo'r hoel ar ei phen, ac yna dechreuodd ei sipian yn araf bach.

"Wel, 'rwan, pwy fasa'n meddwl fod y fath lwc i ddwad i mi? Loker, sut yr wyt ti," ebe Haley, gan ddyfod yn mlaen ac estyn ei law i'r dyn mawr.

"Y cythral!" oedd yr ateb boneddigaidd. "Haley, beth ddaeth a ti i'r fan yma?"

Peidiodd y llygotwr, enw'r hwn oedd Mark, â'i sipian, a gwthiodd ei ben yn mlaen, gan edrych yn ymofyngar ar y cydnabod newydd, fel y bydd cath ambell dro yn troi at ddeilen sych, neu ryw wrthddrych i'w ymlid.

"Twm, dyma'r tro mwya' lwcus fu 'rioed ar wyneb y ddaear. Yr ydw i mewn trafferth dros fy mhen a nghlustia, a rhaid i ti fy helpu i allan o honi hi."

"Wch! aw! wyt, mi wranta!" eb ei gydymaith, yn rhwnclyd. "Fe all dyn fod yn ddigon dyogel fod rhyw ynill i'w gael arno, pan fydd *arnat ti* eisiau ei weled. Be' sy'n y gwynt 'rwan?"

"Mae gen'ti ffrind yma," ebe Haley, gan syllu yn amheus ar Mark, "partner, efallai?"

"Oes, y mae. Tyr'd yma Mark, dyma'r cena' bum i gyda fo yn Nachez."

"Fydda'n ddiolchgar am ei gydnabyddiaeth," ebe Mark, gan estyn allan ei fysedd meinion, hirion, fel bagau brain. "Mr. Haley, onitê?"

"Iê, siwr, Syr," ebe Haley. "Ac yn awr, foneddigions, gan i ni gyfarfod fel yma mor ffortunus, mi tretia i chi yn y parlwr yma. 'Rwan, yr hen fab gâst," eb efe wrth y gŵr tu ol i'r bàr, "gyr i mewn y dŵr poeth, y psiwgwr, y segars, a digonedd o'r *stuff dan gamp*, ac ni fynwn dynu'r crychni am unwaith."

Dyna lle'r oedd y tri theilwng, yn eistedd o gwmpas bwrdd, wedi ei hilio â'r danteithion crybwylledig, y canwyllau yn oleu, a'r tân yn llosgi yn glir ar yr aelwyd.

Dechreuodd Haley adrodd ei draffferthion yn bur deimladwy. Gwrandawodd Loker arno hyd ddiwedd ei 'stori, dan wasgu ei wefusau yn nghyd. A Mark, yntau yn llawn prysurdeb gyda darllaw ei lassiad, gan edrych i fyny yn awr ac yn y man yn ngwyneb Haley, a gwthio ei drwyn bron i'w lygad, ni chollodd gymaint a gair o'r holl hanes. Ar ei diwedd, ymddangosai wrth fodd ei galon, o herwydd ysgydwodd ei ysgwyddau a'i ochrau yn ddystaw, a chododd ei wefusau teneuon fel arwydd o'i fwyniant tufewnol.

"Felly 'rydych wedi eich gwneud yn iawn, on'd ydych chi?" eb efe, "he! he! he! Trogwych iawn, yn wir!"

"Mae'r plant yma yn gneud llawer iawn o boen a thrafferth yn y busnes," ebe Haley, yn bruddaidd.

"Pe'dai bosib cael *breed* o ferched heb hidio dim am eu plant," ebe Mark, "'rydw i'n deud i chi, y bydda' fo'r *reform* mwya' gŵn i am dano fo yn yr oes yma,"—ac fe chwarddodd Mark yn nghorn ei wddf am ben ei ddigrifwch.

"Dyna hi," ebe Haley; "ni fedras i 'rioed ddyall y mater. Mae plant yn llawer iawn o drafferth, feddyliwn i, iddyn' nhw—ac mi alla' dyn feddwl y bydda'n dda genyn nhw gael gwared o honyn' nhw, ond nid ydi ddim. A pho fwya' trwbwl fydd plentyn, mwya' diwerth, mwy fyth ydan nhwtha am dano fo, yn bur gyffredin."

"Wel, Mr. Haley," ebe Mark, "estynwch y dŵr poeth yna. Iê, Syr, yr ydych chi yn deud 'nheimlad i, 'rwan a phob amser. Mi brynas i lodes unwaith, pan oeddwn i yn y busnes—hogan smart oedd hi hefyd, a rhwbeth ynddi yn fwy na'r cyffredin—ac yr oedd genthi hi un bychan, sâl ofnadwy, yr oedd 'i gefn o'n gam, neu rywbeth neu gilydd, ac mi rhois i o i ryw ddyn oedd yn foddlon i fagu o, trwy fod o'n i gael am ddim—heb feddwl 'rioed y gnai'r lodas ddim sŵn yn i gylch o—ond, gwarchod pawb! p'dasech chi'n clywad y nâd y 'na'th hi! Fel 'rydw i yn y fan yma, yr oedd hi fel p'dase'n well genthi hi am y plentyn am i fod o'n sâl, ac yn groes, ac yn i phlagio hi; ac nid rhyw gym'ryd arni 'roedd hi, 'chwaith,—'roedd hi'n crio ac yn nadu, ac yn rhedeg o gwmpas, fel p'dase hi wedi colli'r ffrind gora ar wyneb y ddaear. Yn wir, yr oedd o 'r peth digrifa welas i 'rioed. Dyn a 'styrio, 'does dim diwedd ar wiriondeb y merched!"

"Fel yna mae hi'n union," ebe Haley. "Yr hâf diweddaf, i lawr ar y Red River, mi brynas i lodas, a chenthi blentyn digon iachus yr olwg arno fo; yr oedd i lygid o yn edrych cystal a llygid un o honon nina. Ond erbyn edrych, yr oedd o mor ddalled a'r post, oedd yn wir. Wel, 'roeddwn i'n meddwl nad oedd ddim *harm* treio lwc hefo fo, a mi ffeirias o am gascen o *whiskey;* ond pan eison ni i'w gym'ryd odd'ar y lodes, yr oedd hi fel arthes. Yr oedd hyn cyn cychwyn, a mina heb roi'r tresi ar y *gang* hefo'u gilydd; felly beth y 'na'th hi, ond hi neidiodd fel cath ar fwndel o gotwm, ac a gipiodd gyllel oddiar un o'r llongwyr, a chyn wired a mod i'n deud i chi, hi 'na'th iddyn' nhw dd'engyd, bob enaid o honyn' nhw, am fynyd, hyd oni welodd hi nad oedd o un lles; yna hi drodd, ac i lawr â hi ar ei phen i'r afon, y bychan a'r cwbl—hi aeth i lawr yn blwm, ac ni welwyd dim o honi byth!"

"Bah!" ebe Twm Loker, yr hwn a wrandawsai ar yr hanesion hyn gyda selni calon. "Di-fenydd, bob un o honoch chwi 'ch dau! Ni fydd fy merched i byth yn gneud castia fel yna, 'rydw i'n deud i chi!"

"Ai ê, 'n wir!" ebe Mark, yn brysur, sut y gallwch chi ddim help iddo?"

"Help, yn wir! Bwriwch mod i'n prynu

lodas 'rwan, ac os bydd geni hi un bychan ar werth, mi âf ati hi, a nwrn ar ei dannedd hi, ac medda fi, 'Edrych di ati hi, os daw 'run gair o dy ben di, mi dora' i dy ddannedd di. Ni chymra i 'run gair—'run haner gair—ddim dechra gair.' Medda fi wrthi hi, '*Fi* bia'r bychan yma, ni phia ti mo'no fo, a 'does gen't ti ddim busnes hefo fo. Mi gwertha i fo, y siawns gynta gaf fi; a meindia di, na ddeudi di na siw na miw yn nghylch y mater, onitê mi 'na i ti 'difaru d'eni erioed.' Mae'n nhw'n gwel'd mai nid chware ydi dwad i ngafael i. Mae'n nhw mor ddystaw a llygod,—ac os dechreuiff un o honyn' nhw wichian, 'does dim ond—" ac fe ddisgynodd dwrn Mr. Loker ar y bwrdd gyda'r fath ergyd, fel yr oedd yn ddigon hawdd deall ei feddwl.

"Dyna beth fedrwn ni alw'n *bwyslais*," ebe Mark, gan brocio Haley dan ei bummed ais, a chwerthin gyda rhwnc yn ei wddf. "Onid ydi Twm yn un digri? ha! ha! ha! Twm, mi fedri di guro synwyr i'w pena' celyd crychion nhw. Ni byddan' nhw byth yn camgymeryd dy feddwl di, fyddan' nhw? Mi ddeuda i ti beth, Twm, os nid tydi ydi'r gŵr drwg ei hunan yn ei gorpholaeth, yr wyt ti ac yntau yn ddau efaill."

Derbyniodd Twm y *compliment* gyda phob dyledus wylder, a dechreuodd edrych mor ymddenol ag y goddefai ei "natur glaidd" iddo, chwedl John Bunyan.

Yr oedd Haley wedi cyfranogi yn lled hael o'r gwirod a'r tobaco, ac yn dechreu teimlo ei galon yn agor, a'i dymherau yn ymollwng—nid peth annghyffredin gyda phobl o duedd sobr eu meddyliau dan gyffelyb amgylchiadau.

"Wel, gwrando di, Twm," eb efe, "yn wir yr wyt ti yn rhy ddrwg, fel y deudas i wrthat ti bob amser. Wyddost ti, Twm, sut y byddwn i yn siarad hefo ti am betha' fel yma, pan oeddan ni lawr yn Natchez; ac mi fyddwn i yn dangos i ti ein bod ni yn ynill llawn cymint, ac yn llawn cystal allan yn y byd yma, trwy fod yn deimladwy, heblaw cadw gwell siawns am ddwad trwyddi hi yn y byd nesa' pan ddelo'r gwaetha' i'r gwaetha' a dim ond cym'ryd siawns am dani hi, wyddost."

"Twt, lol!" ebe Twm, "yr wyt ti'n meddwl na wn i ddim yn y byd? paid a ngeud i'n sâl hefo dy stwff—mae fy 'stummog i yn o ddrwg heddyw;" ac fe yfodd Twm haner gwydryn o frandi noeth.

"Gwrando di," ebe Haley, gan bwyso ar gefn ei gadair, ac estyn allan ei fraich fel i selio'r geiriau, "Mi ddeuda hyn, 'rwan, yr oeddwn i bob amser yn meddwl gneud busnes, fel ag i ynill arno fo, *ynghynta ac ymlaena peth*, heb fod ar ol i undyn; eto, er hyn i gyd, nid busnes ydi pobpeth, o herwydd y mae gan bob un o honon ni enaid. Ni waeth gen i pwy nghlywo i yn i ddeud o, yr *ydw i* yn meddwl llawer iawn am f' enaid, wedi'n waeth i mi ddeud hyny na pheidio. Yr ydw i yn credu mewn crefydd, ac un o'r dyddia' yma, pan 'naf fi bob peth yn 'sgwâr ac yn gysurus, yr ydw i yn penderfynu gofalu am f' enaid, a materion felly. O ganlyniad, pwy les ydi gneud mwy o ddrwg nag sy' eisio?—nid ydi o ddim yn edrych yn waith-call na synwyrol, sut yn y byd."

"Gofalu am d'enaid!" ebe Twm, gyda chrychiad dirmygus i'w wefus uchaf—"fydd yn anhawdd ffendio dim ffasiwn beth o dy fewn di—paid a thrafferthu dim ar y mater. Pe bai'r gŵr drwg ei hun yn dy wegryn mewn gogor rhawn, ni chai o ddim llwchyn o enaid yn dy garcas di."

"Twm, Twm, yr wyt ti'n groes," ebe Haley; "pa'm na chym'ri di amynedd, 'rwan, pan fo creadur yn siarad er dy les di?"

"Cau dy gêg," ebe Twm, gyda math o grochlef: "mi fedraf ddiodda bron bob siarad fo gen't ti, ond dy siarad duwiol di—mae hwnyna yn fy lladd i yn lân loyw. Ac yn niwedd y cwbl, beth ydi'r gwahaniaeth rhyngot ti a fina? Nid dy fod di ddim mymryn mwy gofalus, ddim mymryn mwy teimladwy,—un shabbi gwael wyt ti, yn treio twyllo'r gŵr drwg, a myn'd yn groeniach o'i afael; mi fedra' i wel'd trwyddat ti. Beth ydi dy 'fyn'd at grefydd' di, fel yr wyt ti yn ei alw fo, ar ol y cwbwl. Mi ddeuda i ti, rhedeg i ddyled y gŵr drwg bob dydd o dy fywyd, a chym'ryd y goes pan ddaw amser talu!—y cena' gwael!"

"Dowch, dowch, foneddigion, nid busnes ydi peth fel yna," ebe Mark. "Mae gwahanol ffyrdd, wyddoch i edrych ar bethau. Mae Mr. Haley yn eitha' dyn, ac y mae yn cadw cydwybod; ac y mae genyt tithau dy ffordd, Twm, ac un dda ydi, ddim dowt; ond ni neiff cweryla, wyddoch, ateb dyben yn y byd. Gadewch i ni fyn'd at y busnes. 'Rwan, Mr. Haley, beth sy' arnoch chwi eisia' genon ni? mae arnoch eisio i ni ddal y lodes yma, mae'n debyg?"

"Nid oes ddim fynw i â'r lodes—Shelby pia hi. Dim ond y bachgen i mi. Yr oeddwn i'n ffwl garw brynu'r mwnci."

"Ni welas i monot ti ddim erioed ond ffwl," ebe Twm, yn sarug.

"Tyr'd o'na, Loker, paid a bod yn gâs, 'rwan," ebe Mark, dan lyfu ei weflau; "ti weli fod Mr. Haley yn rhoi *job* dda yn ein dwylo ni; bydd di'n ddystaw—fi ydi'r llaw at bethau fel yma. Y lodes yma, Mr. Haley, beth ydi hi? fath un ydi hi?"

"Wel, lodes wen, glws ydi hi—wedi i dwyn i fyny'n dda. Mi roiswn i wyth cant ne fil o ddolars i Shelby am dani hi, ac mi f'aswn yn ynill yn dda arni hi hefyd."

"Lodes wen, glws, wedi dwyn i fyny'n dda," ebe Mark, a'i lygaid, ei drwyn, a'i gêg yn myn'd

fel gwenol y gw'ydd, yn llawn awydd am yr anturiaeth. "Edrych di yma, 'rwan, Loker, dyma siawns. Ni a wnawn dipyn o fusnes i'n llaw'n hunain; ni ydi'r heliwrs; Mr. Haley, wrth reswm, bia'r bachgen—ond mi awn ni â'r lodes i Orleans i'w gwerthu. On'd ydi hi'n gampus!"

Yr oedd Twm yn gwrando ar Mark, â'i gêg yn agored, a phan orphenodd y llygotwr, fe gauodd Twm ei gêg ar winciad, fel y bydd ci mawr yn cau ei safn ar ddarn o gîg, ac ymddangosai ei fod yn cymhwyso'r drychfeddwl yn hamddenol.

"Dyma fel y mae hi, welwch chi," ebe Mark wrth Haley, gan gymysgu ei ddiod, "mae genon ni ustusiaid yn gyfleus ar bob pwynt hyd lân 'rafon, ac mi wnan' nhw ryw *jobs* bach yn ein ffordd ni yn ddigon rhesymol. Dyna Twm, mae fo'n gneud y taro i lawr, a phetha' felly; wedi'n, mi ddo ina i fewn wedi gwisgo i fyny, a motasau gloywon, pob peth mewn '*style*,' pan fo eisio cym'ryd llw yn y mater. Chwi ddylech gael golwg am unwaith," ebe Mark, gyda math o falchder yn ei alwedigaeth, "fel y byddaf fi yn ei gneud hi. Un diwrnod, mi fydda'n Mr. Twickem o New Orleans; d'wrnod arall, mi fyddâ' newydd ddwad o'm planfeydd ar y Pearl River, lle mae gen i saith cant o niggars; ac wedi hyny mi ddof allan fel perthynas o bell i Henry Clay, neu ryw hen geiliog o Kentucky. Mae talenta' pobol yn gwahaniaethu, wyddoch. Dyna Twm, nid oes mo'i fath o pan fo curo, llusgo, a maeddu i'w 'neud; ond ni thâl Twm ddim ar wyneb y ddaear i ddeud celwydd—nid ydi hyny ddim yn dwad yn naturiol iddo fo, welwch chi; ond, os oes dyn trwy'r holl wlad fedr 'nghuro i am dyngu y naill ffordd neu'r llall, a thynu gwyneb hir, a deud 'stori mor lithrig, a myn'd â'r maen i'r wâl, fydda'n dda gen i wel'd o, dyna'r cwbl. Yr ydw i'n coelio yn fy nghalon, y down i trwyddi hi'n bensych, pe'dai'r ustusiaid yn fwy gofalus o'r haner. Ac weithia' mi fydda'n dda gen i pe'dai nhw'n fwy gofalus, fyddai'n llawer mwy blasus—mwy o sport, wyddoch!"

Dyn go araf, fel y dywedasom eisoes, oedd Twm Loker, ac yma efe a dorodd ar 'stori Mark, trwy daro ei ddwrn ar y bwrdd, nes oedd pob peth yn dawnsio arno, a dywedyd, "Mi 'neiff y tro!"

"Gwarchod pawb, Twm, nid rhaid i ti ddim tori'r gwydrau!" ebe Mark, "cadw dy ddyrna nes bo galw am danyn' nhw."

"Ond, foneddigion, ydw i ddim i gael rhan o'r ynill?" ebe Haley,

"Pwy ynill sy' arnat ti eisio?" ebe Twm; "ydi ddim yn ddigon i ni ddal y bachgen i ti?"

"Wel," ebe Haley; "os rhof fi *job* yn eich dwylo chi, mae hi'n werth rhywbeth; deudwch deg dolar y cant ar y fael, ar ol talu pob costau."

"'Rwan!" ebe Loker, gyda llŵ dychrynllyd, ac ergyd i'r bwrdd â'i ddwrn nes oedd yn neidio, "paid ti a meddwl nad ydw i yn dy 'nabod ti, Dan Haley! Paid ti a threio myn'd dros mhen i! Wyt ti'n meddwl fod Mark a fina' wedi troi i ddal niggars i blesio gwŷr byddigions fel ti, heb ddim tâl am ein poena'? Na choelia' i fawr! mi fynwn ni'r lodes allan ac allan, a bydd di'n bur ddystaw, onitê mi fynwn y ddau—gei di weled—beth sy'n rhwystro? Ddaru ti ddim dangos y 'sgyfarnog, ac y mae mor rhydd i ni i dal hi ac ydi i titha', allwn i feddwl. Os bydd arnat ti neu Shelby eisio cael hyd i ni, dos i edrych lle bu'r petris llynedd; ac os dali di nhw neu nina', mae i ti groeso."

"O, wel, siwr iawn, g'dewch iddi fod fel yna," ebe Haley, mewn dychryn am yr hogyn; "daliwch y bachgen i mi, a chym'rwch chi'r lodes; ddaru ti, Twm, ymddwyn yn *onest* bob amser hefo fi, ac mi fuost yn ddyn cystal a d'air."

"Mi wyddast ti hyny," ebe Twm; "ni fydda' i byth yn cym'ryd arna' dy hen droion llechwraidd di; ni 'naf fi ddim cam yn 'nghyfrifon â'r gŵr drwg ei hun. Peth ddeuda' i g'naf fi o, mi g'naf fo; ac mi wyddost ti hyny, Dan Haley."

"Gwn siwr, gwn siwr, mi ddeudas i hyny, Twm," ebe Haley; "ac os gnei di addo i mi gael y bachgen ymhen 'rwythnos, yn unman lle bo gyfleus i ti, dyna i gyd sy' arna' i eisio."

"Ond y mae arna' i eisio can cymint a hyna," ebe Twm. "Nid wyt ti ddim yn meddwl mai am ddim y gneis i a titha' fusnes yn Natchez, wyt ti, Haley; yr ydw i wedi dysgu dal y llysywen pan gaf fi unwaith afael ynddi. Rhaid i ti roi haner can' dolar i lawr ar y bwrdd yma, onitê ni syfl y bachgen yma gam. Mi wn i pwy wyt ti."

"Wel, Twm, a chen titha' *job* mewn llaw ddaw âg ynill o fil neu bymtheg cant o ddolars," ebe Haley, "yr wyt ti allan o bob rheswm."

"Onid oes genon ni fusnes ar law, a bery am bump neu chwech wythnos—a gneud cymint fyth ag fedrwn i. A beth pe'dai ni yn gadael pob beth, a myn'd o gwmpas i guro'r perthi am dy hogyn di, ac yn diwedd methu dal y lodes—o herwydd y cythral ei hun ydi lodes i'w dal—beth wedi'n? a dalat ti ffyrling i ni? wnait ti? Allwn feddwl mod i yn dy wel'd di yn gneud—hych! Na, na, i lawr â dy haner cant. Os cawn ni'r *job*, ac os gneiff hi dalu, mi ge'i d'arian yn ol; ond os na thâl hi, mi 'neiff hyny i fyny am ein trafferth ni—mae hyna'n ddigon têg, on'd ydi o, Mark?"

"Gwir iawn, gwir iawn," ebe Mark, mewn tôn gyfeillgar. "Dyna'r *ffee*, welwch chi, i sicrhau'n gwasanaeth ni,—he! he! he! ni'r gwŷr y gyfraith, wyddoch. Wel, rhaid i ni i gyd gadw natur dda—bod yn esmwyth, wyddoch. Mi roiff Twm y bachgen i chwi yn unman 'newch chwi henwi; oni 'nei di, Twm?"

"Os dalia i 'r hogyn, mi gadawaf o yn nhŷ Modryb Belcher, ar lân 'rafon," ebe Loker.

Fe dynodd Mark lyfryn dû irllyd o'i boced, ac a ddechreuodd agor papyryn go fawr allan o hono; yna, gan eistedd, a syllu arno â'i lygaid duon treiddgar, aeth i fwmian rhyngddo âg ef ei hun fel hyn,—"Barnes—sir Shelby—y bachgen Jim, tri chan' dolar am dano, yn fyw neu farw. Edwards — Dick a Lucy — gŵr a gwraig, chwe' chan' dolar; y lodes Mali, a dau blentyn—chwe' chan' dolar am dani hi neu ei phen."

"Yr ydw i yn taflu golwg ar y gwaith sy' genon ni, Loker, i edrych fydd hi'n gyfleus i ni gym'ryd y *job* yma." Ac ar ol sŷn-fyfyrio ychydig, efe a ddywedodd, "Rhaid i ni osod Adams a Springer ar drywydd y rhai'n, o herwydd y maen' nhw ar y llyfra' er's tro."

"Mi godan' ormod am eu gwaith," ebe Twm.

"Na, na; mi ddof fi i ben a hyny; maen' nhw'n ifanc yn y busnes, a rhaid iddyn' nhw weithio am bris isel," ebe Mark, gan ddal ati i ddarllen. "Mae tri o honyn' nhw yn rhai digon hawdd, o herwydd nid oes genoch chi ddim i 'neud ond i saethu nhw, neu gym'ryd llŵ bod nhw wedi eu saethu; ac y mae'r drwg ynyn nhw, os codan' nhw lawer am 'neud hyny. Ac mi fedrwn roi'r lleill o'r naill du am dipyn," ebe efe, gan blygu'r papyr i fyny. "'Rwan, g'dewch i ni gael hanes y lodes yma yn fanylch, Mr. Haley, welsoch chi hi yn myn'd i'r lân yr ochor draw?"

"Do siwr—mor amlwg a gwela' i chi'r mynyd yma."

"A dyn yn 'i helpu hi fyny'r geulan?" ebe Loker.

"Iè, siwr iawn."

"Digon tebyg," ebe Mark, "i rywun ei chym'ryd hi mewn; ond i b'le, dyna'r pwnc. Beth ydi dy farn di, Twm?"

"Rhaid i ni fyn'd tros yr afon heno,—rhaid, rhaid," ebe Twm.

"Ond, nid oes 'run cwch i'w gael yn unlle," ebe Mark, "mae'r rhew yn dwad i lawr yn ddychrynllyd, Twm; wyt ti ddim yn meddwl ei bod hi yn bur beryglus?"

"Ni wn i ddim yn y byd am hyny; ond mi wn y rhaid myn'd drosodd," ebe Twm, yn benderfynol.

"Gwarchod ni," ebe Mark, dan anesmwytho, "mi fydd—gwrando — " eb efe, gan edrych trwy'r ffenestr, "mae hi mor d'wylled a bòl llô, ydi mae hi, Twm—"

"Y gwir am dani, Mark, ydyw hyn, mae arnat ti ofn; ond nid oes gen i ddim help am hyny, myn'd trosodd raid i ti. Debyg gen i fod arnat ti eisio gorphwyso am dd'wrnod neu ddau, hyd nes bo'r lodes wedi myn'd i Sandusky, hyd y ffordd tan ddaear, cyn i ti—"

"O nag oes; 'does arna' i ddim mymryn o ofn," ebe Mark, "ond—"

"Ond beth?" ebe Twm.

"Wel, ynghylch y cwch. Yr wyt ti yn gweled dy hunan nad oes yma 'run cwch."

"Oni chlywas i'r ddynes yn deud fod yma gwch yn dwad heno, a bod rhyw ddyn yn myn'd i groesi'r afon ynddo fo. Boddi neu beidio, rhaid i ni fyn'd gyda fo," ebe Twm.

"Mae'n debyg gen i fod genoch chi gŵn da," ebe Haley.

"Oes, rai campus," ebe Mark; "ond pwy les ydi'r cwn? nid oes genych ddim byd yn perthyn iddi hi iddyn' nhw smelio."

"Oes y mae," ebe Haley yn orchestol, "dyma *shawl* a adawodd hi ar y gwely; a thyma'i bonnet hi hefyd."

"Mae 'nyna'n lwcus," ebe Loker; "tafl yma nhw."

"Ond hwyrach y gnai'r cŵn larpio'r lodes, os do'n nhw o hyd iddi yn ddiarwybod," ebe Haley.

"Mae hyny'n fater i'w ystyried," ebe Mark; "o herwydd mi larpiodd ein cwn ni niggar yn Mobile bron yn yfflon, cyn i ni allu eu cael nhw'n rhydd oddiwrtho fo."

"Wel, welwch chi, ni etyb hyny byth mor dyben hefo rhai fel hon a werthiff am ei bod hi yn edrych yn dda, welwch chi," ebe Haley.

"Gwelaf fi," ebe Mark. "Heblaw hyny, os cym'rwyd hi i mewn i ryw dŷ, 'dydi cŵn werth dim. Yn y talaethau i fyny yma, lle mae creaduriaid fel hyn yn cael eu cario, mae'r cŵn yn colli'r trywydd Dim 'run fath ag ar blanfeydd, pan fydd niggars yn d'engyd rhaid iddyn' nhw 'neud eu rhedeg eu hunain, heb ddim help gan neb."

"Wel," ebe Loker, yr hwn a ddaeth i mewn yn awr ar ol bod wrth y bàr yn holi ac ymofyn, "mae nhw'n deud fod y dyn a'r cwch wedi dwad; felly Mark—"

Taflodd y teilwng hwnw olwg alarus ar yr ystafell gysurus yr oedd raid ei gadael, ond cyfododd yn araf i ufuddhau. Ac ar ol trefnu rhai pethau yn mhellach, fe dalodd Haley yr haner can' dolar yn bur anfoddog, a ffarweliodd y tri am y noson.

Os bydd neb o'n darllenwyr llednais a Christionogol yn dueddol i achwyn ar y cwmpeini yma y dygwyd hwynt iddo, yr ydym yn dymuno arnynt ddodi eu rhagfarn o'r neilldu mewn pryd. Ac yr ydym yn dwyn ar gof iddynt fod y fasnach o ddal pobl dduon, a chaethion croenwyn hefyd, yn dyfod yn un barchus a gwladgarol, dan nawdd cyfraith y tir. Os daw yr holl wledydd eang rhwng y Mississippi a'r Môr Tawel yn farchnadfa i gyrph ac eneidiau dynion, ac os deil eiddo dynol i gadw tueddiadau ymsymudol y bed-

waredd ganrif a'r bymtheg hon, gall y prynwr a'r daliwr dynion fod yn mysg uwch-raddolion ein tir.

---

Tra'r oedd yr ymddyddan yma yn myned yn mlaen yn y tafarndy, yr oedd Sam ac Andi, yn llawn direidi a digrifwch yn trafaelio tuag adref.

Yr oedd Sam mewn ysbryd llawen ryfeddol, a thorai allan yn fynych yn y lleisiau a'r nadau mwyaf annaturiol, ac yn mhob ystumiau a chastiau a fedrai creadur o ddyn eu gwneud. Weithiau, efe a eisteddai â'i wyneb at gynffon y ceffyl, dro arall yn groes ochr, yna gyda naid dinbendrosben, a bloedd nes y byddai'r creigiau yn 'spedan, fe ddisgynai yn ei le yn iawn drachefn,—gan ddiweddu â gwefl laes, gyda gwers geryddol i Andi am fod mor ysgafn a chellwerus.

Wedi hyny efe a darawai ei forddwyd, ac a chwarddai nes y byddai'r goedwig yn adsain. Ac felly aethant ar garlam yr holl ffordd, nes cyrhaedd adref rhwng deg ac unarddeg o'r gloch. Pan glywodd Mrs. Shelby sŵn eu carnau ar y graian, hi a redodd i'r *verandah*.

"Sam, ai tydi sydd yna? Yn mha le y mae nhw?"

"Mae Mas'r Haley yn gorphwyso yn y tŷ tafarn; wedi blino'n ofnadw, missis."

"Beth am Eliza, Sam?"

"Wel, mae hi wedi myn'd dros 'r Iorddonan, yn saff i wlad Canaan, fel gallan ni ddeud."

"Beth *wyt* ti'n feddwl, Sam?" ebe Mrs. Shelby ar golli ei hanadl, a bron syrthio mewn llewyg rhag ofn ystyr ei ymadrodd ffigyrol.

"Wel, missis, mae'r Brenin mawr yn cym'ryd gofal o'r sawl pia fo. Mae Lizzy wedi myn'd tros afon 'Hio mor rhyfeddol a p'dasa'r Aryglwydd yn myn'd a hi drosodd mewn cerbyd o dân a dau o geffyla'."

Yr oedd Sam yn ceisio bod yn bur grefyddol yn ngwydd ei feistres, ac yn bur hael o'i ymadroddion a'i ffigyrau Ysgrythyrol.

"Tyr'd i fyny yma, Sam," ebe Mr. Shelby, yr hwn a ddaethai allan erbyn hyn, "a dywed wrth dy feistres beth sydd arni hi eisiau." "Dowch, dowch, Emily," eb efe, gan ddodi ei fraich am ei gwasg, "yr ydych yn oer, yn crynu drosoch, ac yn gollwng eich teimladau yn rhy bell."

"Gollwng fy nheimladau yn rhy bell? Onid dynes ydwyf finau, ac onid wyf fi yn fam? Ac onid ydym ein dau yn gyfrifol i Dduw am y lodes yma, druan? Duw faddeuo i ni'r pechod yma!"

"Pwy bechod, Emily! Chwi welwch eich hunan na wnaethon ni ddim ond oedd raid i ni."

"Eto y mae teimlad arswydus o euogrwydd yn fy meddwl i ar ol y cwbl," ebe Mrs. Shelby. "Ni fedraf fi ddim ei resymu i ffwrdd."

"Tyr'd yma, Andi, bydd effro, niggar," ebe Sam, odditan y *verandah*, "dos â'r ceffyla' yma i'r stabal; glywi di mo mas'r yn galw." Ac ymddangosodd Sam wrth ddrws y parlwr, â'i ddeilen palmwydden yn ei law.

"'Rwan, Sam, gâd i ni glywed sut y bu hi," ebe Mr. Shelby. "Yn mha le y mae Eliza, os gwyddost ti?"

"Wel, mas'r, mi gwelas hi â'm llygad ff' un, yn myn'd trosodd ar dalpia o rew. Peth rhyfedda' fu 'rioed; dim llai na gwyrth; ac mi welas ddyn yn i helpu hi i'r lân yn ochor 'Hio, wedi'n mi collas hi yn y t'wllnos."

"Sam, mae rhywbeth lled amheus yn hyn—y wyrth yma. Nid mor hawdd ydyw croesi'r afon ar dalpiau o rew," ebe Mr. Shelby.

"Hawdd!—all'sai neb byth i 'neud o, heb y Brenin mawr! Wel, 'rwan," ebe Sam, yn mhellach, "'roedd hi jest fel hyn—Mas'r Haley, a fi, ac Andi, yn dwad at y dafarn bach wrth yr afon—fi dipyn bach o'u blaen nhw—(fi mor wddus i ddal Lizzy, fel b'aswn i'n y myw yn dal ff' hunan;) a pan fi'n dwad heibio ffenest y dafarn, yn siwr ddigon, dene lle 'roedd hi, yn ddigon hawdd i gwel'd, a Mas'r Haley yn ymyl! Wel, mi fedras golli ff' het 'r amser hono, a rhois bonlle' fawr, digon i ddeffro'r meirw—mi clowodd Lizzy, wrth gwrs, a mi 'nabu fi, a mi ddalltodd, a mi neidiodd yn i hol o'r ffenest cin i Mas'r Haley i gwel'd hi; a chwed'yn, fi'n deud i chi, mi redodd drwy y cefn, ac i lawr rhynthi â'r afon, a gwelodd Haley hi, a mi waeddodd allan, a ffwrdd â fo a fine ac Andi ar 'i hol hi—lawr â hi at lan 'r afon. 'Roedd ffrwd o ddŵr, deg troedfedd o led, yn rhedeg wrth y lan—tu draw i'r ffrwd hono yr oedd darn o rew yn nofio, fel darn o ynys mawr. Mi ddaethon yn giòs i'w hymyl hi, a mi fyddylis i yn y nghalon bod o wedi i chael hi 'n siwr, pan 'roes hi 'sgrech fwya' ofnadwy glowis i 'rioed; a dene hi gyda hyny yn rhoi naid dros y ffrwd ar y darn rhew 'rochor arall, ac ono ymlaen â hi, gan 'sgrechian a neidio, a'r rhew yn downsio ac yn crecian ac yn sponcio! a hithe'n bowndio'r hyd-ddo fo fel iwrches! Taid anwyl! tydi'r *spring* fel sy' yn y lodes hono ddim yn beth c'ffredin iawn, 'nol y piniwn sy' gin i!"

Eisteddodd Mrs. Shelby yn hollol ddystaw, ac yn welw ei gwynebpryd gan bryder, tra yr oedd Sam yn adrodd ei 'stori.

"Moliant i'r Arglwydd fod ei bywyd ganddi," ebe hi. "Ond yn mha le y mae y beth wirion 'rwan?"

"'R Arglwydd a ddarpara!" ebe Sam, gan godi ei olygon i fyny yn hynod o ddefosiynol. "Fel 'rwi wedi bod yn deud, rhagluniath ydi hyn yn ddiame, fel byddai missis bob amser yn 'n dysgu ni. Mae 'fferyna 'n cael eu codi'n wastad i 'neud 'w'yllys 'r Arglwydd. 'Rwan, oni base fi, base hi wedi 'i dal dwsin o weithia'

heddyw! Ai nid fi, tybed, w'lltiodd y c'ffyle y bore' heddyw, a'u cadw nhw i rasio nes 'doedd hi yn amser cinio, jest? Ai nid fi ddaru myn'd â Mas'r Haley agos i bum' milltir o'i ffordd, y pyrnawn yma? heb hyny, base wedi disgyn ar gefn Lizzy fel y ci ar y 'sgyfarnog! A dene'r cwbwl i gyd yn rhagluniaethe!"

"Rhagluniaethau y rhaid i ti fod yn lled brin o honynt, Master Sam. Ni ddyoddefaf fi ddim ffasiwn gastiau gyda boneddigion yn fy nhŷ i," ebe Mr. Shelby, gan edrych mor sarug ag y gallai dan y fath amgylchiad.

Ni wiw i neb gymeryd arno fod yn ddig wrth negro, mwy nag wrth blentyn; mae'r naill a'r llall yn gweled trwodd i'r ochr draw er maint yr ymdrech i'w twyllo; felly ni ddigalonwyd dim ar Sam trwy hyn o gerydd, er iddo gymeryd arno fod yn hynod o edifeiriol, a llaesu ei wefusau yn hynod o brudd-glwyfus.

"Mae mas'r ynghanol ei le—ynghanol ei le; tro digon gwael arna' i oedd hyny, dim iws gwadu; a medr mas'r a missis ddim c'nogi ffasiwn beth sut yn y byd. 'Rydw i'n teimlo hynyna; ond y mae niggar gwirion fel fi yn cael ei demtio'n arw iawn ambell waith i fod yn gâs, pan bydd creduriad fel Haley yna'n ymbincio; nid ydi fo ddim gŵr boneddig sut yn y byd—mi eill niggar ga'dd ei ddwyn i fyny fel fi wel'd hyny â haner llygad."

"Wel, Sam," ebe Mrs. Shelby, "gan dy fod di yn syrthio ar dy fai, dos i'r gegin at Modryb Cloe, a gofyn am dipyn o'r ham oer yna ar ol cinio. Rhaid fod arnat ti ac Andi eisio bwyd."

"Mae missis yn rhy dda o'r haner wrthon ni," ebe Sam, gan wneud ei ddefosiwn, a brysio allan.

Megys ag yr awgrymwyd o'r blaen, yr oedd gan Sam ddawn naturiol a fuasai yn ei wneuthur yn ddyn llwyddiannus yn y byd poleticaidd —sef dawn i wneud y goreu o bob dygwyddiad at ei wasanaeth a'i enw da ei hun; ac ar ol gweithio ei ostyngeiddrwydd a'i grefydd, yn ei dyb ei hun, i foddloni'r parlwr, efe a darawodd ei ddeilen ar ei ben, dipyn ar un ochr, fel llanc yn swagro mewn ffair, ac a nesaodd at gyffiniau tiriogaeth Modryb Cloe gyda bwriad o fod yn ben dyn yn y gegin.

"Mi 'reithia wrth y niggars yma," ebe efe, "'rwan y ca' i siawns. Gwarchod pawb, fel 'llynga i hi allan' i 'neud iddyn' nhw agor 'i llygid!"

Dylid hysbysu mai un o brif bleserau Sam oedd marchogaeth gyda'i feistr i gyfarfodydd poleticaidd o bob math, lle y byddai ar ben clawdd, neu yn mrigau coeden, yn gwylio'r areithwyr ac yn gwrando â'i holl egni; yna disgynai i fysg rhai croenddu cyffelyb iddo ei hun, ag oeddynt yno ar gyffelyb neges, a difyrai hwynt â'r dynwared mwyaf digrif a chwerthinllyd, tra byddai ei wynebpryd ei hun mor sobr a difrifol ag oedd modd i ddyn fod. Yn gyffredin, byddai y gwrandawyr nesaf ato yn frodyr o'r un lliw; ond ceid aml un croen-wỳn yma a thraw yn gwrando ac yn gwneud ystumiau, er boddlonrwydd nid bychan i Sam. Mewn gair, yr oedd Sam yn tybied ddarfod ei alw i fod yn areithiwr, ac ni chollai un cyfleusdra o'i wneud ei hun yn ddyn mawr yn y ffordd hono.

Ond yr oedd hen gancr o annghydfod rhwng Sam a Modryb Cloe, neu yn hytrach nid oedd dim da rhyngddynt; eto gan fod Sam yn bwriadu cadarnhau'r dyn oddimewn, megys parotoad angenrheidiol i'w hufen areithyddol, efe a benderfynodd fod yn hynod o gymodgar y tro hwn; o herwydd, er y gwyddai yn burion yr ufuddheid i'r hyn a "ddywedodd misis" i'r llythyren, eto yr oedd ynill yr ysbryd hefyd yn fater o gryn bwys.

O ganlyniad, efe a safodd o flaen Modryb Cloe yn bur ostyngedig, a'i wynebpryd prudd-aidd yn ymddangos fel un wedi dyoddef llawer iawn yn achos cydgreadur ymlidiedig—a dywedodd yn helaeth ar y ffaith fod missis wedi ei yru at Modryb Cloe am yr angenrheidiau i wneud i fyny am y cnawd a gollasai yn ei galedwaith y diwrnod caled hwnw—felly yn cydnabod ei hawl a'i hawdurdod hi yn y goginiaeth a phob peth perthynol i'r cyfryw.

Llwyddodd yn gampus. Ni chafodd un etholwr diniwed a diddichell erioed ei gymeryd i fyny yn fwy, gan ymgeisydd poleticaidd, nag y cymerodd Sam Modryb Cloe â'i fêl-dafod; a phe buasai y mab afradlon ei hunan wedi dychwelyd, nis gallasai gael mwy o groeso; dyna lle'r oedd Sam, mewn byr amser, yn eistedd yn hapus yn ei ogoniant, a phadellaid fawr o'i flaen o bob math o olion a fuasai ar fwrdd y parlwr er's tridiau—darnau o ham, o deisenau, o basteiod o bob llun, cymalau cywion, crombiliau, brestiau, y cwbl ar draws ac ar hyd, yn un gymysgfa ardderchog, a Sam fel brenin yr adar, â'i ddeilen palmwydden yn sionc ar ochr ei goryn, ac Andi fel prif-weinidog ar ei ddeheulaw.

Yr oedd y gegin yn llawn o'i gymdeithion, y rhai a ymdyrasant allan o bob bwthyn i glywed hanes gwaith y dydd. Dyma awr gogoniant Sam. Adroddodd yr hanes lawer gwaith drosodd, gyda phob math o addurn ac ychwanegiad angenrheidiol i'w wneud yn fwy effeithiol. O herwydd yr oedd Sam yn gyffelyb i lawer eraill, ni chollai chwedl ddim o'i goreurad wrth fyned trwy ei law ef. Yr oedd chwerthin di-dôr yn cadw amser i adroddiad Sam, a'r bychain yn adsain o bob twll a chornel fel rhyw gyd-gerdd. Ond edrychai Sam trwy gydol yr amser yn berffaith sobr, heb syflyd gewyn o'i wynebpryd, oddieithr ambell waith roddi tro i'w lygaid, ac ysgwintio yn ysmala ar

ei wrandawyr, heb ddisgyn oddiar uchel-fan godidog ei araethyddiaeth.

"Ydych chi'n dyall, nghyd-wladwrs i?" ebe Sam, gan godi asgwrn coes twrci, gyda golwg awdurdodol; "ydych chi 'n dyall, 'rwan, beth raid i mi 'neud i'ch 'diffyn, bob un—ie bob un o honoch chi? Oblegid mae'r neb dreio fyn'd âg un o'n pobl ni cystal a threio myn'd â phob un o honyn' nhw; ydach chi'n dyall mai'r un ydi'r 'gwyddor—mae hynyna'n ddigon clir. A phan ddaw un o'r porthmons yma i smelio o gwmpas y lle ar ol rhai o'n pobol ni, yr ydw *i* ar 'i ffordd o; *Fi* ydi'r dyn i siarad â fo—*fi* ydi'r dyn i chi bob un ddwad ato, mrodyr i—mi safa' *i* drostoch chi—mi 'diffyna' i chi hyd at y 'nadliad ola' o ngwynt."

"Sam, Sam," ebe Andi, "mi ddeudast bore' heddyw y basat ti yn dal Lizzy i'r dyn yna; nid ydi dy siarad ti ddim yn gyson."

"Mi ddeuda i ti beth, Andi," ebe Sam, gan gymeryd arno fod yn fawr ryfeddol, "paid ti a siarad ynghylch petha' na wyddost ti ddim byd am danyn nhw; mae hogia' fel ti yn amcanu'n burion, ond fedri ddim dysgwyl y gwyddast ti sut i 'maflyd mewn 'gwyddorion cabalistiaeth."

Syrthiodd wynebpryd Andi, yn enwedig wrth y gair mawr "cabalistiaeth," ac ystyrid gan y rhan ieuangaf o'r gwrandawyr fod Sam yn gwybod llawer mwy nag Andi, ac wedi dodi taw effeithiol arno. Yna aeth Sam yn mlaen—

"*Cydwybod* oedd hyny, Andi; pan feddyliais i am ddal Lizzy, 'roeddwn i'n meddwl yn siwr fod ar mas'r eisio'i dal hi. Pan welas i fod missis fel arall, dyna *fwy* o gydwybod—'blegid geiff un fwy am ddal ar ochor missis—felly, wel'di, 'roeddwn i'n gyson bob ffordd, yn dal cydwybod yn glir, ac yn sefyll dros f' 'gwyddorion. Iē, '*gwyddorion*," ebe Sam, gan daflu o'i law wddf ciw iâr, "beth ydi 'gwyddorion da, os na fyddwn ni'n gyson? dyna be' sy' arna' i eisio wybod. Hwde, Andi, gei di'r asgwrn yna, nid ydi o ddim wedi grafu'n bur lân."

Trwy fod gwrandawyr Sam yn yfed ei eiriau â genau agored, nis gallai lai na myned yn y blaen.

"Nid ydi'r mater yma yn nghylch cysondeb, fy nghyd-niggars," ebe Sam, fel un yn myned i drin pwnc dwfn a dyrys, "nid ydi'r cysondeb yma ddim yn bwnc ag y mae nemor un yn gallu gweled trwyddo fo. 'Rwan, pan welwch chi un yn sefyll dros un peth am dd'wrnod a noswath, ac yn sefyll dros beth croes i hyny dranoeth, mae pobol yn deud (a digon naturiol yn deud), nad ydi fo ddim yn gyson—(estyn y tamad pwdin yna i mi, Andi.) Ond g'dewch i ni edrych i mewn i'r mater. Gobeithio bydd i'r bon'ddigion a'r rhyw fenywaidd esgusodi cy'mariath g'ffredin. 'Rwan! Dyma fi'n treio myn'd i ben das wair. Wel, mi 'ro'r ysgol 'rochor yma—dim iws yma; yna am na threia i ddim 'rochor hono ddim yn rhagor, a myn'd â f' ysgol i'r ochor arall, ydw i ddim yn gyson? 'Rydw i'n gyson wrth fyn'd i ben das, pwy ochor bynag bo'r ysgol; ydach chi ddim yn gweled, bob enad o honoch chi?"

"Taid wyr mai dyna'r unig beth y buost ti'n gyson erioed yntho fo," ebe Modryb Cloe, yr hon oedd yn dechreu anesmwytho; o herwydd yr oedd y digrifwch iddi hi rywbeth yn debyg i'r gydmariaeth ysgrythyrol—fel "finegr ar nitr."

"Oes 'n wir!" ebe Sam, yn llawn o swper a chlod, "Oes, fy nghyd-ddinasyddion, a'r boneddigesau o'r rhyw arall yn gyffredin, mae gen i 'gwyddorion, ac yr ydw i'n falch o honyn' nhw—maen' nhw'n 'nillfawr yn 'r oes yma, a phob oes. Mae gen i 'gwyddorion, ac mi ddalia' atyn' nhw fel pŷg wrth y llian—beth bynag gymra' i yn 'gwyddor, mi safa' drosto fo:—waeth gen i p'daen nhw yn f' llosgi'n fyw, mi awn yn mlaen at y stanc, ac mi ddeudwn, dyma fi'n dwad i dywallt y d'feryn ola' o ngwaed dros fy 'gwyddorion, dros fy ngwlad, a thros les cyffredin cymdeithas."

"Wel," ebe Modryb Cloe, "un o d'egwyddorion di raid fod myn'd i dy wely rywbryd heno, ac nid cadw pawb ar eu traed dan y bore'; 'rwan, blant, bob un nad oes arno eisio bonclust, aed o'r golwg ynghynt na chynta' gallo."

"Niggars!" ebe Sam, gan ddal ei ddeilen balmwydd yn ei law, "cymerwch fy mendith i; cer'wch i'ch gw'lau, a byddwch yn blant da."

A chyda'r gollyngdod teimladwy hwn fe aeth pawb i'w fan.

## PENNOD IX.

### YN MHA UN YR YMDDENGYS MAI DYN YW SENEDDWR.

Fel yr oedd y Seneddwr Bird yn tynu ei fotasau, yn barod i roddi ei draed yn y *slippers* a wenasai ei wraig iddo, pan oddicartref ar ei ymdaith seneddol, ac yn eistedd mewn parlawr cysurus, yr oedd goleuni y tân siriol yn llewyrchu ar y *carpet*, ac yn dysgleirio ar ochrau y cwpanau tê ac ar y tepot gloyw. Yr oedd Mrs. Bird yn edrych yn ddelw o hyfrydwch, ac yn brysur yn edrych ar ol darpariadau y bwrdd, ac yn awr ac yn y man yn dwrdio rhyw haid o blant chwareugar, yn berwi o nwyf ieuanc, ac yn neidio ac yn gwneud yr holl ystumiau digrif fu yn syndod i famau er amser y diluw.

"Tom, gâd lonydd i ddyrn'ol y drws—da machgen i! Mary! Mary! paid a thynu yn nghynffon y gâth—druan o pws! Jim, rhaid i ti beidio dringo i ben y bwrdd—na, na!—Ni

choeliech, fy anwylyd, fel yr ydym i gyd wedi synu eich gweled yma heno," ebe hi, o'r diwedd, pan gafodd hamdden i ddweyd rhywbeth wrth ei gŵr.

"Ie, Ie, yr oeddwn i'n meddwl y gwnawn redeg i lawr, i aros yma heno, a chael ychydig o bleser gartref. Yr wyf wedi blino agos i farwolaeth, ac y mae'r fath gûr yn fy mhen."

Edrychodd Mrs. Bird tua chwpwrdd hanner-agored, lle yr oedd costrel o gamphyr, ac yr oedd ar fyned tuag ati, ond rhwystrodd ei gŵr iddi.

"Na, na, Mary, dim doctora!—cwpanaid o'ch tê da poeth chwi, ac ychydig o'n bywioliaeth gartrefol ni, sydd arnaf fi ei eisio. Gwaith blin yw bod yn seneddwr."

A gwenodd y Seneddwr, fel pe buasai yn lled hoff o gael ei ystyried yn offrymu ei hun dros les ei wlad.

"Wel," eb ei wraig, pan oedd y tê agos a myned trosodd, "a pha beth y maent wedi bod yn ei wneud yn y Senedd?"

Yn awr, peth anarferol iawn oedd i Mrs. Bird fach, fwyn, drafferthu ei phen gydag achosion y Senedd-dŷ, gan ystyried yn ddoeth fod ganddi ddigon o waith i edrych ar ol ei chartref. Gan hyny, agorodd Mr. Bird ei lygaid gyda syndod, ac atebodd—

"Dim, o lawer o bwys."

"Wel; ond ai gwir yw eu bod wedi gwneud cyfraith i waharddi ni i roi bwyd a diod i'r bobl-ach dduon yna sy'n myn'd heibio? Mi glywais i eu bod yn siarad am wneud rhyw gyfraith o'r fath, ond ni choeliais i y buasai unrhyw Seneddwyr Cristionogol yn llunio y fath gyfraith."

"Pa beth, Mary, yr ydych yn myn'd yn *bolitician* i gyd ar unwaith."

"Na, nonsens! Ni ro'wn i ddim blewyn am eich holl *bolitics* chwi, yn gyffredin; ond y mae hwn yn rhywbeth mor noeth o greulon ac annghrist'nogol. Yr ydwy' i'n gobeithio, fy anwylyd, nad oes y fath gyfraith wedi pasio."

"Y mae cyfraith wedi ei gwneud, fy ngeneth i, i wahardd pobl rhag helpu y caethion a ddeuant drosodd o Kentucky; y mae cymaint o'r fath beth a hyny wedi cael ei wneud gan y Diddymwyr anystyriol yma, nes y mae ein brodyr yn Kentucky wedi cael eu cynhyrfu yn dost, ac y mae'n ymddangos yn angenrheidiol, yn Gristionogol, ac yn llesol hefyd, y dylid gwneuthur rhywbeth i dawelu y cyffroad."

"A pha beth ydyw y gyfraith? 'Dyw hi ddim yn rhwystro i ni roi rhywfath o lety i'r creaduriaid tlodion hyn, a ydyw? a rhoddi tamaid iddynt i'w fwyta, ac ychydig o hen ddillad, a'u gyru o gwmpas eu busnes?"

"Ha—ydyw, fy 'nwylyd, byddai hyny, chwi wyddoch, yn anog a chynorthwyo."

Dynes fach, ofnus, wylaidd, oedd Mrs. Bird, oddeutu pedair troedfedd o uchder, â llygaid gleision tyner, a "gwyneb gwŷn gwridog," a'r llais mwynaf a melusaf yn y byd—ac am ddewredd, gwnai ceiliog twrci iddi ffoi ar y clwciad cyntaf, ac ond i gi canolig ei faint ddangos ei ddannedd arni, buasai yn ei dychrynu yn fawr. Ei gŵr a'i phlant oedd yr hollfyd iddi hi, ac yr oedd y rhai'n yn cael ei rheoli ganddi yn fwy trwy fwyneidd-dra ac ymbiliad na thrwy awdurdod neu ddadl. Nid oedd ond un peth yn ddigon i'w chynhyrfu, ac yr oedd y cyffroad hwnw yn tarddu oddiwrth ei thymher radlawn a'i chydymdeimlad; un peth tebyg i greulondeb a'i taflai i wylltineb; ac ystyried tynerwch cyffredin ei natur yr oedd hyny yn fwy arswydus ac annealladwy. Yn gyffredin yr oedd hi yn un o'r mamau anwylaf ac esmwythaf yn y byd, ond eto yr oedd y bechgyn yn cofio gyda pharch am gerydd a gawsant ganddi unwaith, am iddi eu dala, yn nghyd â rhyw fechgyn anraslawn o'r gymydogaeth, yn llabyddio câth fechan â cherig.

"Mi ddeuda'i ti beth," meddai Master Bill, yn fynych, yr oeddwn i wedi dychryn y tro hwnw, pan ddaeth mam ata' i fel dynes o'i cho', a phan gefais fy chwipio a'm gyru i'r gwely heb ddim swper, cyn i mi gael amser i gofio am ba beth; a phan glywais i mam yn crio y tu allan i'r drws, mi wnaeth hyny fy mrifo yn waeth na'r cwbl. Mi dd'weda' i ti beth," arferai adrodd, "ni ddaru ni byth labyddio câth ar ol hyny."

Ar yr achlysur presenol, cyfododd Mrs. Bird i fyny yn fywiog, â'i bochau yn gochion iawn, yr hyn a wnaeth iddi edrych yn fwy cariadus nac arferol, ac aeth i fyny at ei gŵr yn ddewrwych, a dywedodd, mewn llais penderfynol—

"Yn awr, John, y mae arnaf eisiau gwybod a ydych chwi'n meddwl fod y fath gyfraith a hon yn iawn ac yn Gristionogol?"

"Gobeithio na wnewch chwi ddim fy saethu, Mary, os dywedaf fy mod!"

"Ni f'aswn byth yn meddwl y fath beth am danoch chwi, John! Ni roisoch mo'ch pleidlais o'u thu, ai do?"

"Rhois, mi rois, fy nadleuyddes lân!"

"Mi ddylai fod cywilydd arnoch, John! Y creaduriaid tlodion, heb na thŷ na chartref! Y mae'n gyfraith warthus, atgas, annuwiol, ac mi toraf i hi, yn un, y cyfle cynta' a gâf; ac yr wyf yn gobeithio *y câf* gyfle, a hyny yn fuan! Yn wir, y mae wedi myn'd yn fyd rhyfedd, na chaiff dynes roddi swper a gwelŷ cynhes i greaduriaid newynog a rhynedig, yn unig am eu bod yn gaethion, ac wedi cael eu gorthrymu a'u maeddu ar hyd eu bywyd, y pethau gwirion!"

"Ond, Mary, gwrandewch am fynyd. Y mae eich teimladau yn eu lle yn hollol, ac yn ddwys, f' anwylyd, ac yr ydwyf yn eich caru

am hyny; ond eto, fy anwylyd, ni wiw i ni oddef i'n teimladau redeg ymaith â'n barn. Dylech ystyried nad mater yn perthyn i'n teimladau ni ein hunain ydyw; y mae pethau o bwys gwladwriaethol yn perthynu â hyn, y mae'r fath gyffroad cyffredinol yn cyfodi, nes y mae'n rhaid i ni roi heibio ein teimladau ein hunain."

"Yn awr, John, ni wn i ddim yn y byd am achosion gwladwriaethol, y pethau a elwir genych chwi yn *bolitics*, ond mi fedraf ddarllen fy Mibl; ac yr wyf yn gweled yn hwnw fod yn rhaid i mi roi bwyd i'r newynog, dilladu'r noeth, a chysuro'r amddifad; a'r Bibl hwnw yr wyf fi am ei ddilyn."

"Ond beth pe byddai i'ch gweithred chwi beri niwed cyffredinol—"

"Nid yw ufuddhau i Dduw byth yn dwyn niwed cyffredinol. Mi wn i nas gall. Y ffordd fwyaf dyogel bob amser yw gwneud fel y mae *Efe* yn gorchymyn."

"Yn awr, gwrandewch arnaf fi, Mary, ac mi roddaf i chwi reswm eglur i ddangos—"

"O nonsens, John! Pe siaradech trwy'r nos, ni fedrech ei brofi. Yr wy'n gofyn i chwi, John, a wnaech *chwi* droi creadur newynog, crynedig, dros y drws, oblegid ei fod yn ffoadur. A *wnaech* chwi, o ddifrif?"

Yrwan, os rhaid dweyd y gwir, yr oedd ein Seneddwr mor anffodus a bod yn ddyn hynod o dyner-galon, ac ni bu erioed yn ei feddwl droi ymaith neb ag oedd mewn trallod; a'r peth gwaethaf yn ei erbyn yn y ddadl hon oedd, fod ei wraig yn gwybod hyny, ac o ganlyniad yr oedd yn ymosod arno yn ei fan gwan. Felly gorfu arno ddefnyddio y moddion cyffredin i ohirio amser; "Yhèm," eb efe, a phesychodd amryw weithiau, cymerodd allan ei gadach poced, a dechreuodd sychu ei wydrau. Mrs. Bird, yn gweled cyflwr diamddiffyn tiriogaeth y gwrthwynebydd, ni phetrusai ganlyn ar ei mantais.

"Mi fydda'n dda geny' eich gweled yn gwneud hyny, John!—yn wir, mi fyddai! Troi dynes allan mewn 'storom o eira, ac fe allai ei chymeryd i fyny a'i gyru i garchar! Rhyw ddyn clyfer annghyffredin a fyddech chwi i wneud hyny!"

"Rhyw ddyledswydd boenus fyddai gorfod gwneud hyny, y mae'n rhaid addef," ebe Mr. Bird, mewn rhyw dôn led arafaidd.

"*Dyledswydd*, John! peidiwch âg enwi'r gair hwnw. Chwi wyddoch nad dyledswydd ydyw—nis gall fod! Os oes ar bobl eisio cadw eu caethion rhag ffoi, gadewch iddynt fod yn dda wrthynt—dyna fy athrawiaeth i. Pe b'ai genyf fi gaethion (ond gobeithio na bydd byth) mi gym'rwn i ofal na cheisent byth redeg i ffordd oddiwrthyf fi, na chwithau, John. Yr ydw' i'n dweyd i chwi nad yw pobl byth yn rhedeg i ffordd pan y maent yn hapus; a phan y maent yn rhedeg, y creaduriaid gwirion! y maent yn dyoddef digon trwy oerni, a newyn, ac ofn, heb i bawb droi yn eu herbyn; a chyfraith neu beidio, ni wnaf fi byth y fath beth, trwy gymhorth Duw!"

"Mary! Mary! fy anwylyd, gadewch i mi resymu â chwi."

"Y maen' gâs gen i resymu, John—yn enwedig ar faterion fel yna. Y mae rhyw ffordd genych chwi, y Seneddwyr yma, o droi o amgylch ac o amgylch peth sydd mor oleu a'r haul ganol dydd; ac nid ydych yn credu ynddo eich hunain, pan ddaw i ymarferiad. Yr ydw' i yn eich adwaen *chwi* yn *burion*, John. Nid ydych yn ystyried hyny yn iawn mwy na minau; ac ni *wnaech* y fath beth mwy na minau."

Yn y cyfwng hwn gwthiodd yr hen Cudjoe, y gwas dû, ei ben i mewn, gan ofyn i "Missis" ddyfod i'r gegin; a'r Seneddwr, wedi cael cryn ymwared, a edrychodd ar ol ei wraig fach gyda rhyw gymysgedd ysmala o ddifyrwch a gofid, a chan eistedd yn ei gadair freichiau, dechreuodd ddarllen y papyr newydd.

Yn mhen mynydyn clywid llais ei wraig wrth y drws, mewn tôn sydyn a difrifol— "John! John! O dowch yma am funud!"

Rhoddes ei bapyr heibio ac aeth i'r gegin, ond neidiodd yn ol gan ddychryn a syndod wrth yr olygfa a welodd:—Dynes ieuanc eiddil, â'i dillad wedi eu rhwygo a'i rhewi, wedi colli un o'i hesgidiau, a'r hosan wedi ei rhwygo oddi am y troed briwedig a gwaedlyd, yn gorwedd mewn llewyg farwol ar draws y cadeiriau. Yr oedd argraff y rhywogaeth ddiystyredig ar ei gwyneb, eto nis gallai neb beidio teimlo ei brydferthwch galarus a serchog, pan ar yr un pryd yr oedd y llymder miniog, yr olwg oer, sefydlog, angeuol, yn taro iâs ddifrif-ddwys drwyddo. Tynodd Mr. Bird ei wynt ato yn drwm, a safodd yn syn heb yngan gair. Yr oedd ei wraig, a'u hunig forwyn ddû, yr hen Fodryb Dinah, yn brysur yn ceisio ei hadfywio; tra'r oedd yr hen Cudjoe yn dal y plentyn ar ei lin, yn brysur yn tynu ymaith ei hosanau a'i esgidiau, ac yn rhwbio ei draed bach oerion.

"Yn siwr, on'd ydi hi'n olwg resynus!" eb yr hen Dinah, yn dosturiol; "mi 'ddyliwn i mai'r gwres sy' wedi gwneud iddi ffeintio. Yr oedd hi yn o bert pan ddaeth i mewn, a gofyn a ga' hi ymdwymo tipyn; ac yr oeddwn i jest am ofyn o b'le yr oedd hi'n dwad, ac mi ffeintiodd i lawr yn y mynyd. Ni 'naeth hi ddim llawer o waith caled yrioed, mi 'ddyliwn wrth ei dwylo."

"Y greadurus dlawd!" ebe Mrs. Bird, yn dosturiol, fel yr oedd y ddynes yn agor ei llygaid mawrion duon yn raddol, ac yn edrych arni yn anwybodus. Ac yn ddisymwth daeth gwedd

o ddychryndod ar draws ei gwynebpryd, a neidiodd i fyny gan lefain, "O, fy Harri! A gawson nhw fo?"

Gyda hyny llamodd y bachgen oddiar lin Cudjoe, a chan redeg ati, cododd i fyny ei freichiau. "Oh!" hi a waeddodd, "y mae yma! y mae yma!"

"O ma'am!" ebe hi, yn wyllt-wedd, wrth Mrs. Bird, "gwnewch ein hamddiffyn! peidiwch a gadael iddynt gael mhlentyn i!"

"Ni cheiff neb wneud niwed i chwi yma, wreigen dlawd," ebe Mrs. Bird, yn garuaidd, "Yr ydych yn ddyogel; peidiwch ag ofni."

"Duw a'ch bendithio," eb y wraig, gan orchuddio ei gwyneb ag ocheneidio; a'r bachgen bach, yn ei gweled yn crio, a geisiodd ddringo ar ei glin.

Trwy amryw gymwynasau mwynion a gwreigaidd, na wyddai neb yn well pa fodd i'w gweinyddu na Mrs. Bird, daeth y wraig dlawd yn mhen enyd yn fwy tawel. Gwnaed gwely iddi ar y setl yn ymyl y tân; ac yn mhen ychydig syrthiodd i gwsg trwm, a'r plentyn, yr hwn oedd yn edrych mor flin a hithau, a gysgodd yn drwm ar ei braich; canys ni fynai er dim ollwng y plentyn o'i gafael; ac hyd yn oed yn ei chwsg yr oedd ei braich yn dŷn o'i gwmpas, ie, yr amser hwnw, nid oedd dim a allai lacio ei gafael warcheidiol.

Yr oedd Mr. a Mrs. Bird wedi myned yn ol i'r parlwr; ac er mor ryfedd yr ymddengys, ni soniwyd gair o untu am yr ymddyddan o'r blaen; ond yr oedd Mrs. Bird yn brysur gyda'i gwaith gweu, a Mr. Bird yn cymeryd arno ddarllen y papyr.

"'Sgwn i pwy a pheth ydyw," meddai Mr. Bird o'r diwedd, gan roi'r papyr i lawr.

"Pan ddeffry hi, a theimlo ychydig yn well, ni a gawn weled," ebe Mrs. Bird.

"Beth fyddyliach chwi, fy mhriod," ebe Mr. Bird, ar ol myfyrio yn ddystaw uwchben y papyr newydd.

"Wel, anwylyd," atebai hithau.

"Ni fedrai hi ddim gwisgo un o'ch gownau chwi, a fedrai hi, trwy eu gollwng allan, neu rywbeth o'r fath? Y mae hi'n edrych braidd yn fwy na chwi."

Yr oedd rhyw wên dawel i'w gweled yn lled dywynu ar wyneb Mrs. Bird, pan yr atebodd, "Ni a gawn weled."

Yna, ar ol ychydig o ddystawrwydd, torodd Mr. Bird allan drachefn—

"Wyddoch chwi beth, f' anwylyd?"

"Wel, be' sy' 'rwan?"

"P'le mae'r hen glôg *bymbyzine* hono fyddwch chwi yn arfer daflu drosof fi, pan fyddaf yn cymeryd cyntyn yn y prydnawn? Byddai cystal i chwi roddi hono iddi;—y mae arni eisiau dillad."

Gyda hyny edrychodd Dinah i mewn i ddywedyd fod y ddynes wedi deffroi, ac yn dymuno gweled missis.

Aeth Mr. a Mrs. Bird i'r gegin, a'r ddau fachgen hynaf ar eu hol; ond yr oedd y rhai mânaf o'r tylwyth erbyn hyn wedi eu gosod yn ddyogel yn eu gwelyau.

Yr oedd y wraig erbyn hyn yn eistedd ar y setl wrth y tân, yn edrych yn sŷn ar y ffaglau, â gwynebpryd tawel, trist, annhebyg iawn i'r golwg cythryblus, gwyllt oedd arni o'r blaen.

"A oes arnoch eisio fy ngweled i?" ebe Mrs. Bird, mewn llais addfwyn. "Gobeithio eich bod yn well, druan."

Yr unig ateb oedd uchenaid drom, grynedig; ond cyfododd ei llygaid duon i fyny, gan syllu ar Mrs. Bird gyda'r fath edrychiad anobeithiol ac erfyniol, nes tynu'r dagrau o lygaid y wraig fach.

"Nid rhaid i chwi ofni dim, y beth wirion! —cyfeillion ydym ni yma. Dywedwch i mi o b'le y daethoch, a pheth sydd arnoch ei eisiau," ebe hi.

"O Kentucky yr wyf fi'n dyfod," atebai y wraig.

"Pa bryd?" ebe Mr. Bird, gan ddylyn i fyny yr holiad.

"Heno."

"Pa fodd y daethoch?"

"Mi groesais ar y rhew."

"Croesi ar y rhew!" ebe pawb oedd yn bresenol.

"Do, mi wneuthum," ebe'r ddynes, yn arafaidd. "Gyda chymhorth yr Arglwydd, deuthum ar draws y rhew; canys yr oeddynt ar fy ol—wrth fy sodlau—ac nid oedd un ffordd arall i ddianc!"

"Gwarchod pawb, missis!" ebe Cudjoe, "y mae'r holl iâ wedi tori i fyny yn dalpiau, ac yn ymsiglo i lawr ac i fyny yn y dŵr!"

"Mi wn—mi wn ei fod!" ebe hi, yn gynhyrfiol; "ni feddyliais i byth y medrwn—ond nid oeddwn yn gofalu! Ni fedrwn ond marw, doed a ddêl. Yr Arglwydd a'm cynorthwyodd; ni ŵyr neb gymaint a fedr yr Arglwydd helpu nes iddynt dreio," ebe'r wraig, â'i llygad yn dysgleirio.

"Ai caethferch oeddych chwi?" ebe Mr. Bird.

"Iê, Syr; yr oeddwn i'n perthyn i ddyn yn Kentucky."

"A oedd efe'n gâs wrthych?"

"Nac oedd, syr; yr oedd yn feistr da."

"A oedd eich meistres yn gâs wrthych?"

"Oh, nac oedd! yr oedd hi fel mam i mi bob amser."

"Pa beth, ynte, a'ch hudodd i adael cartref da, a rhedeg ymaith, a gwynebu y fath beryglon?"

Edrychodd y ddynes i fyny at Mrs. Bird yn graff, a gwelai ei bod mewn galar-wisg drom.

"Ma'm," ebe hi, yn sydyn, "a ddarfu i chwi erioed golli plentyn bach?"

Yr oedd y gofyniad yn annisgwyliadwy, ac yr oedd yn saeth mewn briw heb lwyr iachau; canys nid oedd ond mis er pan roddasid plentyn hoff o'r teulu yn y bedd.

Troes Mr. Bird o amgylch ac aeth ymaith tua'r ffenestr, a Mrs. Bird a dorodd allan i wylo; ond gan ail-gaffael ei llais, dywedodd—

"Paham yr ydych yn gofyn hyny? Yr ydwyf wedi colli un bychan."

"Yna chwi fedrwch deimlo drosof fi. Yr wyf fi wedi colli dau, y naill ar ol y llall—gadewais hwynt yno yn eu beddau pan ddaethum ymaith; ac nid oedd genyf ond hwn yn unig wedi ei adael. Ni chysgais noswaith erioed hebddo; efe oedd y cwbl oedd genyf yn y byd. Efe oedd fy nghysur a'm balchder, nos a dydd; ac, ma'am, yr oeddynt am ei gymeryd oddiarnaf—i'w *werthu*—i'w werthu i fyned i lawr i'r deheu ma'am—i fyned yno yn unig—babi na fu erioed oddiwrth ei fam! Ni fedrwn i mo'r diodde hyny, ma'am. Mi wyddwn na' buaswn byth yn dda i ddim wedi hyny; a phan wybum fod papyrau wedi eu seinio, ac ei fod wedi ei werthu, cymerais ef a rhedais i ffwrdd yn y nos; ac ymlidiasant ar fy ol—y dyn a'i prynodd, a rhai o ddynion fy meistr—ac yr oeddynt yn dyfod i lawr ar ein cefnau, a chlywais hwynt. Neidiais yn lân ar y rhew, a pha sut y daethum drosodd nis gwn; ond y peth cyntaf a wybum oedd, fod dyn yn fy helpu i ddringo i'r lân."

Nid oedd y ddynes yn ocheneidio nac yn wylo. Yr oedd wedi myned i gyflwr lle y mae dagrau yn sychion; ond yr oedd pob un o'i hamgylch, yn ei ffordd neillduol ei hun, yn dangos cyd-ymdeimlad o galon.

Y ddau fachgen bach wedi chwilio eu pocedau yn egniol, ond yn ofer, am yr hancetsi poced hyny y gwyr mamau yn dda nad ydynt byth ar gael pan fo angen am danynt, a guddiasant eu penau yn ngodre gown eu mam, gan grio, a sychu eu trwynau a'u llygaid, o eithaf calon; yr oedd gwyneb Mrs. Bird wedi ei gelu yn deg yn ei hances poced; a'r hen Ddinah, â'r dagrau yn llifo ar hyd ei gwyneb du, gonest, yn llefain, "Arglwydd, trugarhâ wrthym!" gyda gwresogrwydd "cymanfa fawr;" ac ar yr un pryd gwelid yr hen Cudjoe yn rhwbio ei lygaid yn ei lewis yn iawn, ac yn gwneud gwyneb cuchiog, ac weithiau yn ymuno yn wresog â deisyfiadau Dinah. Yr oedd ein seneddwr yn un o'r prifgynghorwyr, ac nis gellid dysgwyl iddo ef grio, fel dyn arall; felly troes ei gefn atynt, ac edrychodd allan drwy'r ffenestr, ac ymddangosai megys yn hynod o brysur yn carthu ei wddf ac yn sychu ei wydrau, ac yn awr ac yn y man yn chwythu ei drwyn mewn dull ag a fuasai yn ddigon i beri amheuaeth yn meddwl rhyw sylwydd manwl.

"Pa fodd y gallech ddywedyd wrthyf fi fod genych feistr tirion?" eb efe, yn sydyn, gan draflyncu yn wrol ryw fath o godiad oedd yn ei wddf, a throi yn fyrbwyll tuag at y wraig.

"Oherwydd *ei fod* yn feistr tirion—mi ddyweda hyny am dano, beth bynag; ac yr oedd fy meistres yn dirion; ond nid oedd ganddynt ddim help. Yr oedd arnynt arian; a rhyw ffordd neu gilydd, nis gwn pa fodd, yr oedd gan ryw ddyn afael arnynt, ac yr oeddynt yn gorfod gadael iddo gael ei ffordd ei hun. Yr oeddwn i'n gwrando, a chlywais meistr yn dweyd felly wrth fy meistres, a hithau yn pledio ac yn begio drostof fi, a dywedodd wrthi nad oedd ganddo ddim help, ac fod y papyrau oll wedi eu tynu i fyny; a'r amser hwnw y cym'rais y plentyn, a gadewais fy nghartref, a daethum ymaith. Mi wyddwn i nad oedd ond ofer treio byw os gwnaent hyny; oherwydd y plentyn yma ydi'r cwbl sydd geny', welwch chi."

"A oes genych chwi 'run gwr?"

"Oes, ond y mae yn perthyn i ddyn arall. Y mae ei feistr yn galed iawn wrtho, ac nid ydyw yn gadael iddo byth agos ddyfod i 'ngweled i; ac y mae yn myn'd yn galetach galetach bob dydd, ac y mae yn bygwth ei werthu i fyn'd i lawr i'r dehau. Mae'n ddigon tebyg na welaf fi byth mo hono *ef* yn rhagor."

Meddyliasid oddiwrth y dôn arafaidd yn yr hon y dywedai y wraig y geiriau hyn, ei bod yn hollol ddideimlad; ond yr oedd rhyw ddyfnder tawel, o gystudd yn ei llygaid mawr du, yn dywedyd yn wrthwyneb i hyny.

"Ac i ba le yr ydych yn meddwl myned, wreigen druan?" ebe Mrs. Bird.

"I Canada, pe bawn ond gwybod ymh'le y mae. A ydyw Canada yn mhell iawn?" ebe hi, gan edrych yn syml ac ymddiriedol yn ngwyneb Mrs. Bird.

"Y beth wirion!" ebe Mrs. Bird, yn ddiarwybod.

"A ydyw yn mhell iawn, feddyliech?" meddai y wraig yn ddifrifol.

"Yn mhellach o lawer nag a feddyliech, fy mhlentyn tlawd!" meddai Mrs. Bird; ond ni a dreiwn feddwl beth a ellir ei wneud drostoch. Hwde, Dinah, gwna wely iddi yn dy 'stafell dy hun, yn ymyl y gegin, a mi a ystyriaf pa beth a ellir ei wneud yn y bore. Yn y cyfamser, gwnewch eich hunan yn esmwyth, wraig dlawd. Rhoddwch eich ymddiried yn Nuw; efe a'ch amddiffyn."

Aeth Mr. a Mrs. Bird i'r parlwr eilwaith. Eisteddodd hi yn ei chadair siglo o flaen y tân, gan ysgwyd yn ol ac yn mlaen yn fyfyriol. Yr oedd Mr. Bird yn bras-gamu i fyny ac i lawr ar hyd yr ystafell, ac yn grwgnach wrtho ei hun.

"Pw, pw! busnes anhylaw ofnadwy ydyw hwn!" O'r diwedd, gan fyned i fyny at ei wraig, dywedodd,—

"Wyddoch chwi beth, Mary, y mae'n rhaid iddi fyned oddiyma heno nesaf. Bydd y dyhiryn yna ar ei thrywydd y bore fory gyda'r dydd. Pe buasai ond y ddynes ei hun gallasai ymguddio yma yn ddystaw nes i bobpeth fyn'd trosodd; ond nis gallai torf o wŷr meirch a gwŷr traed gadw'r gwalch bach yna yn llonydd, yr wy' i'n sicr; mi fydd yn siwr o ddyfod â'r peth allan, trwy ddangos ei drwyn mewn rhyw ffenestr neu ddrws. Peth clws iawn i minau hefyd fyddai iddynt gael eu dal yma, jest rwan! Na, y mae'n rhaid eu cael oddiyma heno."

"Heno! Pa fodd y mae'n bosibl?—i ba le?"

"Wel, mi wn i yn o dda i b'le," ebe'r seneddwr, gan ddechreu rhoddi ei fotasau am ei draed, ac edrych yn fyfyriol; arosodd pan oedd ei goes ar haner y ffordd i mewn, ac ymaflod yn ei lin â'i ddwylaw, megys wedi ei orchfygu gan fyfyrdod.

"Rhyw fater câs ofnadwy ydyw hwn;" eb efe o'r diwedd, gan ddechreu tynu i fyny ei fotasau drachefn, "dyna'r gwir!" Wedi cael un fotasen yn deg am ei droed, eisteddodd y seneddwr â'r llall yn ei law, gan edrych yn syn ar y lluniau ar y carped. "Er hyny, y mae'n rhaid ei wneud, mor belled ag wyf fi'n gweled ed—plâg arno!" a thynodd i fyny y fotasen arall yn fyrbwyll, ac edrychodd allan trwy'r ffenestr.

Yn awr, dynes fach bwyllog oedd Mrs. Bird—dynes na ddywedodd erioed, "oni dd'wedais i hyny!" Ac ar yr achlysur hwn, er ei bod yn gwybod yn lled dda pa ffordd yr oedd ei fyfyrdodau yn rhedeg, yn synwyrol iawn peidiodd ag ymyryd â hwynt, ond eisteddodd yn ddystaw yn ei chadair, gan edrych yn hollol barod i wrando bwriadau ei harglwydd, pan y gwelai yn dda eu traethu.

"Chwi wyddoch," eb efe, "dyna fy hen gyfaill, Van Trompe, wedi dyfod o Kentucky, a gollwng ei holl gaethion yn rhydd; ac y mae wedi prynu tir saith milltir i fyny'r cwm, yn nghanol y goedwig, lle nad oes neb yn myned, os nad ânt o bwrpas; ac y mae'n lle na fedr neb ei gael allan ar frys. Byddai yn ddigon diberygl yno; ond y felldith yw, ni all neb yru cerbyd yno heno ond *y fi*."

"Paham? Y mae Cudjoe yn eithaf gyrwr."

"Gwir iawn; ond dyma fel y mae hi. Y mae'n rhaid croesi'r aber ddwywaith; ac y mae'r ail groesiad yn dra pheryglus os na bydd rhywun yn adwaen y lle, fel yr wyf fi. Mi a'i croesais gant o weithiau, ar geffyl, ac yr ydwyf yn gwybod yn dda pa droadau i'w cymeryd. Ac felly chwi welwch nad oes dim help am dani. Y mae'n rhaid i Cudjoe roi'r ceffylau i mewn, mor ddystaw ag y medro, oddeutu haner nos, ac mi af â hi drosodd; ac yna, i roi lliw ar y mater, y mae'n rhaid iddo ef fy ngyru i'r dafarn nesaf, i gymeryd y cerbyd sy'n rhedeg i Columbus, ac yn dyfod heibio o gwmpas tri neu bedwar o'r gloch, ac felly ymddengys fy mod wedi cymeryd fy ngherbyd fy hun yn unig i hyny; a byddaf yn barod i'm gorchwyl yn siriol ac yn fore. Ond yr wyf fi'n meddwl y byddaf yn teimlo yn lled lipa yno, ar ol y cwbl a ddywedwyd ac a wnaed; ond, aed y cwbl i'w crogi, nid oes gen' i mo'r help!"

"Y mae eich calon yn well na'ch pen, y tro yma, John," ebe'r wraig, gan roddi ei llaw wen fechan ar ben ei gwr. "A f'aswn i byth yn medru eich caru, pe na buaswn yn eich hadwaen yn well nac yr adwaenwch eich hun?" Ac yr oedd y ddynes fach yn edrych mor brydferth, â'r dagrau yn dysgleirio yn ei llygaid, nes i'r seneddwr feddwl ei fod yn ddyn clyfer anghyffredin i fedru ynill y fath greadur clws i'w hoffi ef mor serchoglawn; ac felly, pa beth a all'sai ei wneud ond myned o ddifrif i edrych am y cerbyd. Modd bynag, safodd am funud wrth y drws, ac yna, gan droi yn ol, dywedodd, gyda rhyw betrusder,—

"Mary, nis gwn i ddim pa fodd y teimlech chwi yn nghylch y peth, ond y mae'r drôr yna yn llawn o bethau ein—Harri bach, druan." A chan ddywedyd felly, troes yn gyflym ar ei sawdl, a chauodd y drws ar ei ol.

Agorodd ei wraig ddrws yr ystafell-wely fechan nesaf at ei hystafell ei hun, a chan gymeryd y ganwyll, gosododd hi ar ben y gist oedd yno, ac yna cymerodd agoriad allan o gilfach fechan oedd ynddi, rhoddodd ef, gyda meddwl dwys, yn nghlo un o'r drôrs, a safodd yn sydyn, tra yr oedd dau fachgen, y rhai (fel y gwna bechgyn) a ddilynasant wrth ei sawdl, yn cil-edrych yn sobr ar eu mam. Ac O, y fam a ddarlleno hyn! a fu erioed ddrôr neu gafell yn dy dŷ di, a ymddangosai wrth gael ei hagor, megys ail-agor bedd bychan? Ah! mam ddedwydd wyt, os na bu felly.

Agorodd Mrs. Bird y drôr yn araf. Yr oedd yno gotiau bychain o amrywiol ddull a phatrwn, pentyrau o fratiau, a rhesi o hosanau byrion; ac hyd yn oed pâr o esgidiau bychain, wedi cael eu gwisgo a'u rhwbio yn y blaenau. Yr oedd yno geffyl pren, a gwagen, a thop, a phêl—cof-deganau wedi eu casglu gyda llawer deigryn a chalon drom. Eisteddodd i lawr yn ymyl y drôr, a chan orphwys ei phen ar ei dwylaw, wylodd hyd nes oedd y dagrau yn rhedeg rhwng ei bysedd i'r drôr; yna, wedi cyfodi ei phen yn ddisymwth, gyda brys cryn-edig dechreuodd bigo allan y pethau plaenaf a chynhesaf, a'u casglu yn sypyn.

"Mamma," ebe un o'r bechgyn, gan gyffwrdd â'i braich, "a ydych chi am roddi i ffwrdd y pethau *yna*?"

"Fy mechgyn anwyl," ebe hi, yn ddystaw ac yn ddifrifol, "pe edrychai ein Henri bach anwyl i lawr o'r nefoedd, byddai yn dda ganddo ein gweled yn gwneud hyn. Ni b'aswn yn cael ar fy nghalon eu rhoddi i unrhyw blentyn cyffredin—i neb dedwydd; ond yr wyf yn eu rhoddi i fam fwy tor-galonus a galarus na mi fy hun; a gobeithio yr enfyn Duw ei fendith gyda hwynt!"

Y mae eneidiau bendigedig yn y byd hwn, holl ofidiau pa rai a dyfant i fyny i fod yn llawenydd i eraill; gobaith daearol y rhai, wedi ei roi i orwedd yn y bedd gyda llawer o ddagrau, ydyw yr had o ba un y tardda blodau iachaol a balm i'r amddifad a'r cystuddiedig. Un o'r cyfryw ydoedd y wraig dyner sy'n eistedd yna wrth y lamp, yn gollwng dagrau araf, pan yn parotoi i'r crwydryn tlawd gofion ei phlentyn ei hun oedd wedi marw.

Yn mhen enyd agorodd Mrs. Bird gell ddillad, a chan gymeryd allan o honi wisg neu ddwy, plaen a gwasanaethgar, eisteddodd i lawr wrth y bwrdd, a chyda nodwydd, a siswrn, a gwniadur, dechreuodd yn dawel ar y gwaith o "ollwng allan," a gymeradwywyd gan ei gwr, a pharhaodd yn ddiwyd wrtho nes i'r hen gloc yn y gornel daro deuddeg, ac idd glywed swn isel olwynion wrth y drws.

"Mary," eb ei gwr, wrth ddyfod i mewn, â'i gôt uchaf ar ei fraich, "y mae'n rhaid i chwi ei deffro yn awr, oherwydd y mae'n bryd i mi fyned ymaith."

Rhoddodd Mrs. Bird ar frys y pethau a ddetholodd mewn trwnc bychan diaddurn, a chan ei gloi, deisyfodd ar ei gwr ei weled yn cael ei ddodi yn y cerbyd, ac yna aeth i alw'r ddynes. Yn ebrwydd ymddangosodd Eliza wrth y drws, â'i phlentyn yn ei breichiau, wedi ei gwisgo mewn bonnet, shawl, a chlog, a berthynent gynt i'w chymwynas-wraig. Prysurodd Mrs. Bird hi i mewn i'r cerbyd, a gwasgodd ar ei hol ar y grisiau. Gogwyddodd Eliza allan o'r cerbyd, ac estynodd ei llaw—llaw mor feddal a chlws a hono a estynwyd iddi hithau. Sefydlodd ei llygaid duon mawrion, yn llawn o feddwl dwys, ar wyneb Mrs. Bird, gan ymddangos fel pe buasai am siarad. Symudodd ei gwefusau ddwywaith neu dair, ond nid oedd dim llais; a chan bwyntio i fyny, gydag edrychiad na ollyngir byth yn anghof, syrthiodd yn ol i'w heisteddle, a gorchuddiodd ei gwyneb. Cauwyd y drws, a gyrwyd y cerbyd ymaith.

Y fath sefyllfa i seneddwr gwladgarol fod ynddi, yr hwn trwy yr holl wythnos o'r blaen a fu'n spardynu llywodraethwr ei dalaeth i wneud cyfreithiau mwy llymion yn erbyn caethion ffoedig, ac yn erbyn y rhai a'u croesawent neu a'u cefnogent!

Nid oedd un o'i frodyr yn Washington yn rhagori ar ein seneddwr yn ei dalaeth ei hun, yn y dull o areithyddiaeth a enillasai iddynt anrhydedd anfarwol. Mor ardderchog yr eisteddai, â'i ddwylaw yn ei bocedi, gan ddiystyru pob gwendid teimladol yn y rhai a osodent lesâd rhyw ychydig o greaduriaid ffoedig o flaen llwyddiant cyffredinol yr Undeb!

Yr oedd mor hyf a llew yn y mater, ac argyhoeddai yn drwyadl, nid yn unig ef ei hun, ond pawb a'i clywent; ond eto nid oedd ei ddychymyg am ffoadur yn cyrhaedd yn mhellach na'r llythyrenau a spelient y gair; neu i'r eithaf am ddarlun bychan yn y papyr newydd, o ddyn â ffon a bwndel bychan, a'r geiriau, "wedi dianc oddiar ei feistr," o dano. Y swyn o wir bresenoldeb cyfyngder, y llygad taer-erfyniol, y llaw wanllyd, grynedig, appeliad anobeithiol gofid digynorthwy,—y rhai hyn ni phrofasai erioed. Ni feddyliodd y gallai y ffoadur fod yn fam annedwydd, neu blentyn amddifad, fel yr hwn oedd yn awr yn gwisgo cap bach y plentyn a gollasai ef; gan hyny, am nad oedd ein seneddwr druan yn gareg neu yn ddur, ond yn ddyn drwyddo, ac yn meddu calon odidog hefyd, yr oedd, fel y gwel pawb, mewn cyflwr gresynus oblegid ei wladgarwch. Ac nid rhaid i ti ymorfoleddu arno, y brawd o'r Talaethau Deheuol; canys y mae genym ryw amheuaeth na wnelai amryw o honoch chwithau yn amgenach, o dan y cyffelyb amgylchiadau. Yr ydym yn gwybod fod yn Kentucky, yn gystal ac yn Mississippi, galonau godidog a rhwydd, i'r rhai ni adroddwyd cwyn y truenus erioed yn ofer. O, frodyr anwyl! a ydyw yn deg i chwi ddysgwyl gwasanaeth genym ni, yr hwn ni oddefai eich calon wrol ac anrhydeddus i chwi ei wneuthur pe byddech yn ein lle?

Pa fodd bynag, os oedd ein seneddwr yn droseddwr gwladwriaethol, yr oedd mewn ffordd deg o wneud iawn am hyny trwy ei benyd y noswaith hono. Yr oedd tymhor hir a pharhaus o dywydd gwlawog wedi bod, ac y mae tir bras a meddal Ohio, fel y gŵyr pawb, yn dra chyfaddas i wneud llaid, a rheilffordd Ohio o'r hen ffasiwn ydoedd y ffordd.

"Gyda'ch cenad, pa fath ffordd a allai hono fod?" gofynai rhyw ymdeithydd dwyreiniol, yr hwn na ddychymygodd erioed ddim amgenach yn perthyn i reilffordd nac esmwythder a chyflymdra.

Gwybydd, gan hyny, fy nghyfaill diniwed o'r dwyrain, fod y ffyrdd yn ardaloedd dyryslyd y gorllewin, lle y mae'r mwd yn dew ac o ddyfnder diwaelod, yn cael eu gwneud o foncyffion crynion, geirwon, wedi eu gosod ochr yn ochr ar draws, a'u gorchuddio a phridd a thywyrch, neu unpeth arall nesaf i law, ac yna y mae'r trigolion yn orfoleddus yn ei galw yn ffordd, ac ymaith â hwynt i farchogaeth ar hyddi. Mewn ystod amser y mae'r gwlaw yn golchi ymaith y pridd a'r tywyrch, yn symud

y boncyffion yma ac acw, yn bob ystumiau—i fyny, i lawr, ac ar draws eu gilydd, yn nghyd âg amryw agenau a thyllau rhyngddynt, yn llawn o laid du.

Ar hyd y fath ffordd a hon yr oedd ein seneddwr yn trafaelio, gan adfyfyrio ar bethau y bywyd hwn mor ddidor ag y gellid dysgwyl dan yr amgylchiadau, a'r cerbyd yn myned yn ei flaen yn rhwbeth fel y canlyn:—bwmp! bwmp! bwmp! slwsh! i lawr i'r mwd!—y seneddwr, y wraig, a'r plentyn, yn newid llefydd mor ddisymwth nes syrthio yn bentwr yn erbyn y ffenestr nesaf i'r allt. Y mae'r cerbyd yn glynu yn dyn, a'r hen Cudjoe o'r tu allan yn gwneud ystŵr annghyffredin gyda'r ceffylau. Ar ol llawer o dynu a chwipio aneffeithiol, a'r seneddwr ar golli pob amynedd, y mae'r cerbyd yn rhoi ysbonc sydyn i'w le, y ddwy olwyn flaen yn disgyn i bwll arall, a'r seneddwr, y wraig, a'r plentyn, yn cwympo ar draws eu gilydd yn erbyn y pen blaen; het y seneddwr yn cael ei churo yn dyn dros ei lygaid a'i drwyn heb ddim seremoni, nes y mae braidd wedi colli ei anadl; y plentyn yn llefain, a Chudjoe y tu allan yn bloeddio ar y ceffylau, a'r rheiny yn cicio, yn ymgreinio, ac yn ymegnïo o dan lymder y ffiangell. Y mae'r cerbyd yn neidio i fyny gydag ysbonc arall—i lawr â'r olwynion ol—y seneddwr, y wraig, a'r plentyn yn syrthio yn erbyn y pen ol, ei benelinoedd ef yn cael eu gyru yr erbyn ei bonnet hi, a'i dau droed hithau wedi eu gwthio i'w het yntau, yr hon oedd wedi neidio oddiam ei ben yn yr ysgytiad. Yn mhen ychydig aethant dros "y gors," ac y mae'r ceffylau yn sefyll i gael gwynt; y mae'r seneddwr yn cael hyd i'w het, y ddynes yn gwastatu ei bonnet, ac yn llonyddu'r plentyn, ac y maent yn ymwregysu erbyn yr hyn oedd i ddyfod.

Dros enyd, nid oedd ond y bwmp! bwmp! gyda thipyn o amrywiaeth o luchiadau o un ochr i'r llall ac ysgydwadau bob ffordd, a dechreuasant ymgysuro a dweyd y gallasai fod yn waeth arnynt, ar ol y cwbl. O'r diwedd gyda thafliad crynswth, yr hwn a'u cododd i gyd ar eu traed, ac yna i lawr drachefn i'w heisteddle. oedd ar amrantyn, y mae'r cerbyd yn sefyll, ac wedi llawer o gynhwrf o'r tu allan, y mae Cudjoe yn ymddangos wrth ddrws y cerbyd,

"Os gwelwch yn dda, syr, llecyn drwg ofnadwy ydi hwn. Ni wn i ar y ddaear pa sut y down ni yn glir o hono. Yr ydw' i'n meddwl y bydd rhaid i ni gael trosolion."

Y mae'r seneddwr yn dyfod allan yn anobeithiol; ac er pigo ei ffordd yn ofalus, i lawr ag un troed i ddyfnder anfesurol, ac wrth geisio ei dynu i fyny, collodd ei fantol, a syrthiodd i'r mwd, a thynwyd ef allan gan Cudjoe, mewn cyflwr tra gresynus.

Ond yr ydym yn ymattal, o gydymdeimlad âg esgyrn ein darllenwyr. Bydd gan ymdeithwyr gorllewinol, y rhai a dreuliasant oriau yn nghanol y nos yn y gorchwyl dyddorol o dynu *rails* o'r *ffenses*, i'w defnyddio fel trosolion i godi eu cerbydau o'r tyllau lleidiog, gydymdeimlad tyner a galarus a'n seneddwr. Yr ydym yn erfyn arnynt ollwng deigryn dystaw, a myned yn eu blaenau.

Yr oedd yn hwyr iawn yn y nos pan ddaeth y cerbyd allan o'r gors, yn diferu, ac wedi ei lychwino a baw, a safai wrth ddrws ffarmdy mawr. Cafwyd cryn lawer o drafferth i ddeffroi y bobl oddifewn; ond o'r diwedd ymddangosodd y perchenog parchus, ac agorodd y ddôr. Dyn tal, mawr ydoedd, yn llawn ddwylath a rhai modfeddi yn nhraed ei 'sanau, â chrys hela o wlanen goch am dano. *Mat* tew o wallt melyn-goch, tra dyryslyd, a barf o amryw ddyddiau o dyfiant, a roddent i'r gwr teilwng ymddangosiad lled anfoddhaol ar y cyntaf. Safodd am rai mynydau gan ddal y ganwyll i fyny a llygadu ar y trafaelwyr gyda rhyw dremiad digroeso ac amheus ag oedd yn hynod o ddigrif. Gorfu ar ein seneddwr wneud llawer o ymdrech i beri iddo ddirnad y mater yn drwyadl; a thra y mae ef yn gwneud ei oreu tuag at hyny, ni a roddwn i'n darllenwyr ychydig o hanes perchenog y tŷ.

Yr oedd yr hen John Van Trompe yn wr gonest, gynt yn meddiannu cryn lawer o dir a chaethion yn Kentucky. Nid oedd "dim o'r arth o'i gwmpas ond ei groen," ac wedi cael ei gynysgaeddu gan natur â chalon fawr, gywir, yn llawn gydradd â'i gorph anferth, yr oedd wedi bod am rai blynyddau yn syllu gydag anesmwythder ar weithrediad system ag oedd yn llawn mor niweidiol i'r gorthrymydd ag ydoedd i'r gorthrymedig. O'r diwedd, yr oedd calon John wedi chwyddo yn rhy fawr o lawer i wisgo ei gadwynau yn hwy. Felly ryw ddiwrnod cymerodd ei bwrs allan o'r gist, ac aeth drosodd i Ohio, a phrynodd chwarter cwmwd o dir da, bras; rhoddodd bapyrau rhyddid i'w holl bobl—gwyr, gwragedd, a phlant; paciodd hwynt mewn gwageni, a gyrodd hwynt ymaith, i sefydlu yno; ac yna trodd John ei wyneb i fyny ar ochr yr aber, a sefydlodd yn dawel ar ffarm gryno, mewn lle annghysbell, i fwynhau ei gydwybod a'i fyfyrdodau.

"A ydych chwi'n ddyn a rydd nodded i wreigen dlawd a'i phlentyn, a rhag helwr y caethion?" ebe'r seneddwr, yn bendant.

"Yr ydw' i braidd yn meddwl fy mod," ebe John, y glân ei galon, gyda chryn bwyslais.

"Yr oeddwn i'n meddwl felly," ebe'r seneddwr.

"Os oes rhywun yn dyfod," ebe'r gwr da, gan ymestyn ei gorph hir, gewynog tuag i fyny, "dyma fi'n barod iddyn nhw; ac y mae genyf saith o feibion, bob un yn chwe' throedfedd;

mi fyddan nhwtha'n barod iddynt. Cofiwch ni attyn nhw," ebe John, gan dynu ei fysedd trwy'r ysgub o wallt oedd yn toi ei ben, a thori allan mewn bonllef o chwerthin.

Yn flinedig, dolurus a digalon, ymlusgodd Eliza tua'r drws, â'i phlentyn yn cysgu yn drwm ar ei braich; daliodd y dyn garw y ganwyll wrth ei gwyneb, a chan fwngial rhyw sain tosturiol, agorodd ddrws ystafell wely fechan yn ymyl y gegin fawr lle yr oeddynt yn sefyll, ac amneidiodd arni i fyned i mewn. Goleuodd ganwyll, gosododd hi ar y bwrdd, ac yna cyfarchodd hi fel hyn:—

"Yrwan, glywi di lodes, nid rhaid i ti ofni neb a ddaw yma, pwy bynag a fo. Yr ydw' i'n gwybod am bobpeth fel hyn," eb efe, gan bwyntio at ddau neu dri o ynau oedd ar fantel y simne; "ac y mae pawb sy'n f' adwen i yn gwybod na byddai'n iechyd i'w croen dreio cael neb allan o nhŷ i pan fydda i yn erbyn. Felly *'nawr* dos i gysgu, mor esmwyth a phe b'ai dy fam yn dy siglo," eb efe, a chauodd y drws.

"Un glws annghyffredin ydi hon," eb efe wrth y seneddwr.

"Ah, wel; gan y rhai clysaf y mae mwy o achos i ddianc weithiau, os bydd ganddynt deimlad yn y byd fel y dylai fod gan ferched symyl. Mi wn i'r cwbwl am hyny."

Mewn ychydig eiriau, eglurodd y seneddwr hanes Eliza.

"Ow, ow, ow! oni wn i'n burion!" ebe'r gwr da, yn dosturiol; "sho, 'rwan, sho! Dyna natur, welwch chi; y creadur tlawd! yn cael ei hela fel y carw,—yn cael ei hela am fod ganddi hi deimladau mam, ac am 'neud peth na fedr un math o fam beidio ei 'neud! Mi ddeuda i chi beth, y mae pethau fel hyn agos a gneud i ddyn dyngu," ebe John onest, gan sychu ei lygaid â chefn ei law fawr, felen, frech. Mi ddeuda i chi beth, wr diarth, mi fu'm i flynyddoedd a blynyddoedd yn peidio myn'd i'r eglwys, am fod y gweinidogion o gwmpas ein lle ni yn pregethu fod y Beibil o du y pethau ofnadwy hyn; ac am nad oeddwn i fyny â nhw yn eu Groeg a'u Hebraeg, felly y trois yn eu herbyn nhw, a'r Beibil, a'r cwbl. Ni ddarumi ddim myned i'r eglwys nes i mi gael gweinidog ag oedd i fyny â nhw i gyd yn y Groeg a'r Hebraeg, a phobpeth, ac yr oedd o'n deud yn y gwrthwyneb; ac wedi hyn cymerais afael yn iawn, ac unais â'r eglwys—mi ddarum yn wir," ebe John, yr hwn oedd yr holl amser hwn yn ceisio tynu corcyn o bottel seider tra bywiog, yr hon a osododd o'u blaenau.

"Fydda'n well i chwi dest roi i fyny gyda ni heno, dan fydd hi'n ddydd," ebe efe yn siriol, "ac mi alwaf yr hen wraig i fyny, a hi a wna wely yn barod i chwi mewn dim amser."

"Diolch i chwi, fy nghyfaill," ebe'r seneddwr, "y mae'n rhaid i mi fyned ymlaen, i gymeryd y cerbyd nos i Columbus."

"Ah, wel, os rhaid i chwi fyned, mi af hefo chwi dipyn, a dangosaf i chwi groesffordd a'ch cymer yn well ac yn nes na'r ffordd y daethoch. Ffordd ddrwg iawn yw hono."

Gwisgodd John am dano, a chyda lantern yn ei law, arweiniodd gerbyd y seneddwr tua ffordd oedd yn rhedeg i lawr i bant y tu cefn i'r tŷ. Pan oeddynt ar ymadael, rhoddodd y seneddwr bapyr deg dolar yn ei law.

"Iddi hi y mae hwna," eb efe, yn fyr.

"Ie, ie," ebe John gyda'r un byrdra.

Ysgydwasant ddwylaw, ac ymadawsant â'u gilydd.

## PENNOD X.

### YR EIDDO YN CAEL EI GYMERYD YMAITH.

Boreu yn Chwefror a edrychai yn llwydlas a gwlith-wlawog trwy ffenestr Caban F'Ewythr Twm. Edrychai ar wynebau cymylog a chalonau galarus. Bwrdd bach oedd yn sefyll o flaen y tân, â brethyn smwddio drosto; crys brâs glân neu ddau, newydd fod o dan yr haiarn, yn hongian ar gefn y gadair wrth y tân, ac yr oedd gan Modryb Cloe un arall wedi ei daenu o'i blaen ar y bwrdd. Yr oedd pob plygiad a gwrym yn cael ei rwbio â'r haiarn yn ofalus ac yn fanwl, ac yn awr ac yn y man cyfodai ei llaw at ei gwyneb i sychu ymaith y dagrau oedd yn treiglo i lawr ei gruddiau.

Twm a eisteddai yn ymyl, â'i Destament yn agored ar ei lin, â'i ben yn gorphwys ar ei law; ond nid oedd yr un o honynt yn siarad. Nid oedd ond boreuol eto, a'r plant oll yn cysgu yn nghyd yn eu gwely bach troliog.

Twm, yr hwn oedd ganddo galon orlawn o dynerwch a chariad teuluaidd—yr hyn hefyd, gwae iddynt! sydd nodweddiad neillduol yn perthyn i'w hiliogaeth annedwydd—a gododd i fyny, ac a gerddodd yn ddystaw i edrych ar ei blant.

"Dyma'r tro olaf," eb efe.

Nid atebodd Modryb Cloe un gair, ond dal i rwbio'r crys brâs yr oedd drosodd a throsodd drachefn, er ei fod eisoes mor llyfn ag y gallai dwylaw ei wneud; ac o'r diwedd tarawodd yr haiarn i lawr yn fyrbwyll, eisteddodd wrth y bwrdd, "a chyfododd ei llef a hi a wylodd."

"Mae'n debyg fod yn rhaid ymostwng; ond, O Arglwydd! pa sut y medraf? Pe bawn i'n gwybod i b'le yr wyt ti'n myn'd, neu pa sut y trinia nhw di! Y mae missis yn deud y gwneiff hi dreio dy brynu di ymhen blwyddyn neu ddwy; ond O! nid oes neb yn dwad yn ol sy' wedi myn'd i lawr yno! Y mae nhw'n eu lladd nhw! Glywis i sôn fel y mae nhw'n eu gweithio nhw ar y planfeydd rheiny."

"Mi fydd yr un Duw yno, Cloe, ag sydd yma."

"Wel," ebe Modryb Cloe, "mae'n debyg y bydd; ond y mae'r Arglwydd yn gadel i bethau dychrynllyd hapio weithiau. Nid ydw' i'n cael dim cymffwrt, fel yna, rywsut.

"Yr ydw' i yn llaw yr Arglwydd," ebe Twm; "ni cheiff dim fyn'd ymhellach nag y gwneiff o adel iddo; ac, y mae *un* peth y medra' i ddiolch am dano. Y *fi* sy' wedi 'ngwerthu ac yn myn'd i lawr, a nid ti na'r plant. Yr ydych chi yn sâff yma; yr hyn a ddaw, arna' i y daw; ac mi wna yr Arglwydd fy helpu i—mi wn y gwna."

Oh! y galon ddewr, wrol, yn celu ei thristwch ei hun, i gysuro ei anwylion! Yr oedd Twm yn siarad â llais bloesg, a chyda thagfa chwerw yn ei wddf—ond siaradodd yn ddewr ac yn gadarn.

"Gadewch i ni feddwl am ein trugareddau!" eb efe, yn grynedig, fel pe buasai yn gwybod yn sicr fod angen arno i feddwl am danynt yn ddwys.

"Trugareddau!" ebe Modryb Cloe, "'dwy' i'n gwel'd dim trugaredd yn hyn! 'dydi ddim yn iawn! 'dydi ddim yn iawn ei bod felly! Ni ddyl'sai mas'r adael siawns i neb dy gymeryd di am ei dd'led. Yr wyt ti wedi ynill iddo ddwywaith gymint ag a gaiff o am danat ti. Yr oedd yn ddyledus arno roi i ti dy rydd-did, a dyl'sai ei roi flynyddoedd yn ol. F'allai na feder ei helpu ei hun yrwan, ond yr wy' i yn teimlo fod hyn o'i le. Ni feder dim guro hyn yna allan o hono i. Y fath gr'adur ffyddlon wyt ti wedi bod, bob amser yn gneud ei fusnes o, o flaen dy fusnes dy hun bob ffordd, ac yn meddwl mwy am dano fo nac am dy wraig a dy blant dy hun! Y rhai sy'n gwerthu cariad calon a gwaed calon, i gael myn'd yn rhydd o'u d'ryswch eu hunain, mi fydd yr Arglwydd i fyny â nhw!"

"Yn awr, Cloe, os wyt ti yn fy ngharu i, ni 'nei di ddim siarad fel yna, dest y tro ola' f'allai y byddwn gyda'n gilydd byth! Ac mi ddeuda i ti, Cloe, 'dydw' i ddim yn leicio clywed un gair yn erbyn mas'r. Oni ro'wd o yn y mreichia i yn fabi?—y mae natur yn gneud i mi feddwl llawer o hono fo. A 'doedd dim dysgwyl iddo fo feddwl cymint am Twm dlawd. Mae mistri wedi arfer cael gneud yr holl bethau hyn iddynt, ac yn natrol, nid ydynt yn meddwl cymint am dano. Ni ellir dysgwyl eu bod mewn unffordd. Gosod o wrth ochor mistri erill—pwy a gafodd y fath driniad da a b'foliaeth ag a gefais i? Ac ni f'asai fo byth yn gadel i hyn dd'od arna' i pe b'asai yn medru ei wel'd ymlaen llaw. Mi wn na wnaethai."

"Wal, beth bynag, y mae rhwbeth o'i le yn *rhwle*," ebe Modryb Cloe yr hon oedd ganddi ryw syniad di-ildio am gyfiawnder; "ni fedra' i ddim gwel'd yn iawn ymh'le, ond y mae rhyw gamwri yn rhwle; yr ydw i yn *glir* yn hyny."

"Mi ddylit ti edrych i fyny at yr Arglwydd sy' uwch ben; y mae ef yn uwch na phawb—nid oes aderyn tô yn syrthio hebddo."

"'Dydi o ddim fel yn fy nghymfforddio i, ond y mae'n debyg y dylai," ebe Modryb Cloe. "Ond 'dydi ddim iws siarad; mi 'na' i dest wlychu teisen gorn, a g'neud un brecwast da i ti, achos ni ŵyr neb pa bryd y cei di un arall."

Mewn trefn i ddeall yn iawn am ddyoddefiadau y negroaid yn y dehau, mae'n rhaid cofio fod holl serchiadau greddfol yr hiliogaeth hono yn hynod o gryfion. Y mae eu hymlyniad a'u serch at gartref yn barhaus iawn. Nid ydynt o natur yn ëofn ac anturiol, ond y maent yn caru eu cartref ac yn serchlawn. Ychwaneger at hyn yr arswyd sy'n tarddu oddiar anwybodaeth am bethau anadnabyddus iddynt, a chwaneger at hyn eto, fod gwerthu i'r dehau yn cael ei osod o flaen y negro o'i fabandod fel y gosbedigaeth dostaf. Y mae bygwth eu gyru i lawr yr afon yn eu dychryn yn fwy na chwipio na phenyd o un math. Ni a'u clywsom ein hunain yn adrodd y teimlad hwn, a gwelsom yr arswyd diffuant â'r hwn yr eisteddant i chwedleua, a dywedyd streuon dychrynllyd am "lawr yr afon," yr hon iddynt hwy ydyw—

"Yr oror dywyll, o gyffiniau'r hon
Ni ddychwel un ymdeithydd."

Dywedwyd i ni gan genhadwr yn mhlith y ffoaduriaid yn Canada fod amryw o'r ffoaduriaid wedi cyffesu eu hunain eu bod wedi dianc oddiwrth feistriaid go hynaws, ac iddynt, agos bob un, gael eu tueddu i wynebu peryglon ffoedigaeth, o herwydd yr arswyd gorwyllt â'r hwn yr edrychent ar werthu i'r dehau—dedfryd ag oedd yn crogi uwch eu penau eu hunain, neu eu gwragedd, neu eu plant. Y mae hyn yn cyfnerthu yr Affrican, yr hwn yn naturiol sydd amyneddus ac ofnus, âg ëofnder arwraidd, ac yn ei arwain i ddyoddef newyn, oerni, poen, peryglon yr anialwch,—a'r braw mwyaf oll, y perygl o gael ei ail-ddal.

Yr oedd y boreubryd plaen yn awr yn mygu ar y bwrdd, canys yr oedd Mrs. Shelby wedi esgusodi Modryb Cloe rhag tendio yn y tŷ mawr y boreu hwnw. Yr oedd y greadures dlawd wedi treulio ei holl egni ar y wledd olaf hon—a lladd a thrin ei chyw iâr goreu, a pharotoi ei theisen boeth yn dra gofalus, yn union at flas ei gŵr, ac wedi dwyn allan amryw gostrelau o gyffeithiau na ddefnyddid ond ar achosion neillduol.

"Dyn anwyl, Pete," ebe Mose, yn orfoleddus, "ond oes genym ni frecwast ffamws!" ac ar yr un pryd yn ymaflyd mewn darn o'r cyw.

Rhoddodd Modryb Cloe yn sydyn wab iddo ar ei gern. "Cymer hynyna!—yn bostio uwch ben y brecwast ola' y mae dy dadi druan yn gael cyn myn'd oddicartre'!"

"O Cloe!" ebe Twm, yn dyner.

"Wal, 'does gen i ddim help," ebe Cloe, gan guddio ei gwyneb yn ei ffedog; "yr ydwy' i'n cal 'y nhosio gymint o gwmpas, y mae'n peri i mi neud yn gâs."

Safodd y bechgyn yn hollol lonydd, gan edrych yn gyntaf ar eu tad ac yna ar eu mam, a'r babi yn dringo i fyny ei dillad, a ddechreuodd grio yn awdurdodol.

"Dyna!" ebe Modryb Cloe, gan sychu ei llygaid a chymeryd y babi i fyny; "yr ydwy' i wedi darfod 'rwan, gobeithio—gna fwyta rhywbeth. Fy nghyw iâr goreu ydi hwn. Dyna, fechgyn, gewch chwithau beth, y cyrduriaid tlodion! Mae eich mami wedi bod yn groes."

Nid oedd ar y plant ddim eisiau ail-wahoddiad, a llyncasant y bwyd gydag awch wancus; a da oedd eu bod yn gwneud felly, pe amgen ni buasai ond ychydig wedi cael ei wneud yn y ffordd hono gan y teulu.

"'Rwan," ebe Modryb Cloe, gan ffwdanu o gwmpas ar ol boregwest, "y mae'n rhaid i mi 'neud i fyny dy ddillad. Y mae'n ddigon tebyg y cymer o nhw i gyd i ffwrdd. Yr ydw i'n gwybod eu ffordd nhw—rhai bawaidd ydyn' nhw! Wal, 'rwan, y mae dy wlaneni rhag y rhewmatis yn y gornel yma; felly, bydd yn ofalus; ni wneiff neb yr un i ti eto. Ac yma y mae dy hen grysau, a dyma'r rhai n'w'ddion. 'Rois i draed yn y 'sana' yma neithiwr, a'r bellen ynyn nhw i'w mendio. Ond, dyn a dy helpo, pwy a'u mendia nhw?" A Modryb Cloe, yn colli'r dydd eto, a roes ei phen ar ochr y box, ac a wylodd. "Wrth feddwl am hyny! dim un er'adur i dendio arnat, yn sâl nac yn iach! Yn wir, 'dydw i ddim yn meddwl y dylwn i fod yn dda, 'rwan!"

A'r bechgyn, ar ol bwyta pob peth oedd ar y bwrdd, a ddechreuasant feddwl rhywfaint am y peth; ac wrth weled eu mam yn crio, a'u tad yn edrych yn drist iawn, dechreuasant hwythau grio, a rhoddi eu dyrnau yn eu llygaid. Yr oedd y babi gan F'Ewythr Twm ar ei lin, ac yr oedd yn gadael iddi ymlawenhau i'r eithaf, cripio ei wyneb, a thynu ei wallt, ac weithiau yn tori allan mewn crochlef o hyfrydwch, yn codi, yn ddiamheu, oddiar ei myfyrdodau tumewnol ei hun.

"Ie, gorfoledda, y cr'adur tlawd!" ebe Modryb Cloe, "mi ddoi ditha iddi hefyd! ddoi ditha i wel'd dy ŵr yn cael ei werthu, neu hwyrach cael dy werthu dy hun; a'r bechgyn yma, f'allai y can nhw eu gwerthu hefyd, mae'n ddigon tebyg, pan ddon nhw yn werth rhwbeth; dim iws fod gan niggers ddim yn y byd!"

Yma gwaeddodd un o'r bechgyn, "Dyma missis yn dwad i mewn!"

"Feder hi 'neud dim d'ioni; i be' mae hi'n dwad?" ebe Modryb Cloe.

Daeth Mrs. Shelby i mewn. Gosododd Modryb Cloe gadair iddi yn sarug ac afrywiog. Ond nid oedd hi yn ymddangos megys wedi sylwi ar y weithred na'r dull. Yr oedd yn edrych yn llwyd ac yn bryderus.

"Twm," ebe hi, "yr wyf fi wedi dyfod i—" a chan stopio yn sydyn a syllu ar y teulu dystaw, hi a eistedd i lawr yn y gadair, cuddiodd ei gwyneb yn ei napcyn, a dechreuodd wylo.

"O dyn, missis, peidiwch—peidiwch, 'rwan!" ebe Modryb Cloe, a thorodd hithau allan; ac am ychydig wylasant oll gyda'u gilydd. Ac yn y dagrau hyny a dywalltasant yn nghyd, yr uchel a'r isel, toddodd ymaith wg a chwerwder calon y gorthrymedig. O! chwi sy'n ymweled â'r trallodedig, a wyddoch chwi nad yw pob peth a eill eich arian brynu, os rhoddir â gwyneb oeraidd, yn werth cymaint ag un deigryn gonest a dywelltir mewn gwir gydymdeimlad?

"Fy machgen anwyl," ebe Mrs. Shelby, "ni fedraf fi roi dim a wna les i ti. Os rhoddaf i ti arian, fe'u cymerir oddiarnat. Ond yr wyf fi'n dweyd yn ddifrif, ac o flaen Duw, y cadwaf fi fy ngolwg arnat, ac y mynaf di adref yn ol mor fuan ag y medraf ddyfod o hyd i'r arian; a hyd hyny, ymddiried yn Nuw!"

Yma gwaeddodd y bechgyn allan fod Mas'r Haley wedi dyfod. Taflodd hwnw'r drws yn agored gyda chic, a safodd yno mewn natur hynod o ddrwg, wedi marchogaeth yn galed y noswaith o'r blaen, ac yn dra ffyrnig am iddo fethu dal ei ysglyfaeth.

"Tyr'd, wyt ti'n barod, nigger? Gyda'ch cenad ma'am," eb efe, gan dynu ei het, pan ganfu Mrs. Shelby. Ar ol i Modryb Cloe gau a chordio'r box, hi a gododd i fyny ac a edrychodd yn ddigllon ar y masnachwr, â'i dagrau yn ymddangos megys wedi troi yn wreichion o dân.

Cododd Twm i fyny yn llariaidd i ddylyn ei feistr newydd, a chododd ei gisten drom ar ei ysgwydd. Cymerodd ei wraig y babi yn ei breichiau i fyned gydag ef at y wagen, a'r plant, yn parhau i grio, yn ymlusgo ar eu hol.

Aeth Mrs. Shelby i fyny at y masnachwr, a daliodd ef am ychydig fynydau, yn ymddyddan mewn modd difrifol; a phan oedd hi yn ymddyddan fel hyn, aeth yr holl deulu yn mlaen tua'r wagen, yr hon oedd yn sefyll yn barod. Yr oedd tyrfa o'r holl bobl ar y lle, hen ac ieuanc, wedi ymgasglu o'i chwmpas, i ffarwelio â'u hen gyfaill. Edrychid ar Twm gan bawb o gwmpas fel pen gwas yn gystal ag athraw Cristionogol, ac yr oedd llawer o alar a chydymdeimlad diffuant o'r herwydd, yn enwedig yn mysg y merched.

"Wal, Cloe, yr wyt ti'n dal i fyny yn well na ni," ebe un o'r merched, yr hon oedd wedi bod yn wylo yn hidl, gan sylwi â'r fath brudd-der tawel yr oedd Modryb Cloe yn sefyll wrth y wagen.



"Y mae fy nagrau *i* wedi darfod!" ebe hi, gan edrych yn wgus ar y masnachwr, yr hwn oedd yn dyfod i fyny. "'Does arna' i ddim eisio crio o flaen yr hen gena' yna, beth bynag!"

"Dos i mewn!" ebe Haley wrth Twm, fel yr oedd yn dyfod yn mlaen trwy y dorf o weision, y rhai a edrychent arno yn wylofus.

Aeth Twm i mewn, a Haley, gan dynu allan bâr o efynau trymion o dan eisteddle y wagen, a'u gosododd yn dỳnion am ei ddwy goes.

Yr oedd ucheneidiau tagedig o ddigllonedd yn rhedeg trwy yr holl gylch, a gwaeddodd Mrs. Shelby oddiar y *verandah*,

"Mr. Haley, gallwch gymeryd fy ngair i fod y gofal yna yn hollol afreidiol."

"Nis gwn i mo hyny, ma'am; mi gollis i un pum' can' dolar o'r lle yma, ac ni fedra i ddim fforddio rhedeg i ddim chwaneg o berygl."

"Beth amgen all'sai hi ddysgwyl oddiwrtho fo?" ebe Modryb Cloe, yn ddigllon; a'r ddau fachgen, y rhai oeddynt yn awr yn dechreu amgyffred ar unwaith pa beth oedd tynged eu tad, a ddaliasant afael yn ngown eu mam, gan ocheneidio a gruddfan yn dost.

"Mae'n ddrwg genyf," ebe Twm, "nad ydi Mas'r George ddim yma."

Yr oedd George wedi myned i dreulio deuddydd neu dri gyda chydymaith ar stât yn y gymydogaeth, ac am ei fod wedi ymadael yn foreu iawn, cyn i anffawd Twm ddyfod yn gyhoeddus, aethai ymaith heb glywed am hyny.

"Cofiwch fi at Mas'r George," ebe Twm, yn ddifrifol.

Chwipiodd Haley y ceffyl, a chydag edrychiad diysgog a galarus, ac yn dal ei lygaid hyd y diwedd ar yr hen le, chwyrn-yrwyd Twm druan i ffordd.

Y pryd hwn yr oedd Mr. Shelby oddicartref. Yr oedd wedi gwerthu Twm o dan orfodaeth angenrheidrwydd llym, i ddyfod yn rhydd o grafangau dyn a arswydai, a'i deimlad cyntaf ar ol gwneud y fargen ydoedd math o ymwared. Ond deffrowyd ei edifeirwch haner cysglyd gan edliwiadau ei wraig; ac ychwanegwyd anesmwythder ei deimladau gan ffyddlondeb Twm. Ofer oedd iddo ddywedyd wrtho ei hun fod ganddo HAWL i wneud hyny, fod pawb yn ei wneud, a bod rhai yn gwneud felly heb un esgus o angenrheidrwydd; ni fedrai foddloni ei deimladau ei hun; ac fel na byddai yn dyst i'r olygfa annymunol yn y diwedd, aethai ar ryw neges i fyny i'r wlad, gan obeithio y byddai pob peth drosodd erbyn ei ddychweliad.

Gyrodd Twm a Haley yn gyflym ar hyd y ffordd lychlyd, gan chwyrnellu heibio i bob llecyn cynefin, nes myned yn deg dros derfynau'r stât, a dyfod i'r brif-ffordd. Wedi gyru oddeutu milltir, tynodd Haley i fyny yn sydyn wrth ddrws gefail gôf, a chan gymeryd pâr o lyffetheiriau gydag ef, piciodd i'r efail, i wneud ychydig o gyfnewidiad ynddynt.

"Y mae rhein dipyn yn rhy fychain iddo fo," gan ddangos y llyffetheiriau, a phwyntio at Twm.

"Gwarchod ni! onid Twm Mr. Shelby yw hwna. Ni ddaru o ddim ei werthu o?" ebe'r gôf, "'does bosib."

"Do, mi ddaru," ebe Haley.

"Tewch a deud! Wel, yn wir; pwy f'asai yn meddwl;" ebe'r gôf. "'Dydych chi ddim yn myn'd i lyffetheirio fo fel hyn. Y cr'adur gore, ffyddlona—"

"Ie, ïe," ebe Haley; "ond eich gweilch da ydi dest y cyrduriaid sydd eisio rhedeg i ffwrdd·

Y pethau dylion hyny, na waeth genyn' nhw i ble'r ânt, a'r rhai difedr, meddwon, na waeth genyn' nhw am ddim yn y byd, mi lynan' wrthych, ac y mae braidd yn dda genyn' nhw gael eu maeddu o gwmpas; ond y bechgyn brâf, y mae nhw yn 'i gasbau o fel pechod. 'Does dim ffordd ond 'i cadwyno nhw; y mae genyn' nhw draed—ac mi wna'n ddefnydd o honynt, yn ddiddowt."

"Wel, ŵr diarth," ebe'r gôf, gan chwilio yn mysg ei gelfi, "lle go ddrwg i nigger o Kentucky i fyned iddo ydi y planfeydd i lawr yna; y maent yn marw yn o ffast, ond ydyn' nhw?"

"Wel, ydyn', y mae nhw'n marw yn o ffast; rhwng y cleimat a'r naill beth a'r llall y mae digon yn marw i gadw i fyny'r farchnad yn lled fywiog," ebe Haley.

"Wel, 'rwan, nis geill dyn beidio meddwl fod yn biti garw gwel'd bachgen pert, hardd, a llonydd, fel Twm yna, yn myn'd i lawr i gael ei falu yn deg yn y planfeydd siwgwr."

"Wel, y mae ganddo siawns dda. Yr ydw' i wedi addo gneud rhywbeth drosto. Mi ga' i le iddo i fod yn was mewn rhyw hen deulu da, ac yna os gwneiff o sefyll y clefyd melyn a'r cleimat, mi geiff gystal lle ag a ddyla' un nigger ddysgwyl gael."

"Y mae wedi gadel ei wraig a'i blant i fyny yma, mae'n debyg?"

"Ydi; ond mi geiff un arall yno. Dyn a'ch helpo, y mae digon o ferched ymhob man," ebe Haley.

Yr oedd Twm yn eistedd yn drist iawn y tu allan i'r efail tra bu yr ymddyddan yma yn myned yn mlaen. Yn ddisymwth clywai glic buan byr carn ceffyl o'r tu ol iddo; a chyn iddo ddeffroi yn iawn o'i syndod, neidiodd Mas'r George ieuanc i mewn i'r wagen, a thaflodd ei freichiau am ei wddf, gan grio a dwrdio â'i holl egni."

"Yr ydw' i yn dweyd mai tro bawaidd ydyw! Ni waeth gen' i beth a dd'wed neb, yr un o honynt! Tro gwael, budr! Pe b'awn i yn ddyn ni chaent ei wneud—ni chaent *yn wir!*" ebe George, gyda rhyw gri wylofus lled ddystaw.

"O, Mas'r George! y mae hyn yn gneud lles i nghalon i!" ebe Twm. "Nid allwn i aros myn'd i ffwrdd heb eich gweled chi! Choeliech chi ddim gymint o dd'ioni y mae'n 'neud i mi!"

Yma symudodd Twm ychydig ar ei draed, a syrthiodd llygaid George ar y gefynau.

"Rhag cywilydd!" ebe George, gan godi i fyny ei ddwylaw. "Mi darawa' i yr hen gena' yna ei daloen—mi wnaf!"

"Na 'newch, Mas'r George; a rhaid i chi beidio siarad mor uchel. Ni wneiff 'i ddigio fo fod o ddim help i mi."

"Wel, ynte, ni wnaf, er dy fwyn di; ond meddwl am dano—onid ydyw yn gywilydd? Ni ddarfu nhw ddim gyru ata' i, nac anfon gair, ac oni b'asai Tom Lincon, ni chawswm glywed dim. Mi ddaru mi ei rhoi hi iddyn' nhw i gyd, yn bur chwerw gartref."

"Mae arna' i ofn nad oedd hyny yn iawn, Mas'r George."

"'Does gen' i ddim help! yr ydw' i yn deud fod yn g'wilydd! Edrych yma, F'Ewyrth Twm," eb efe, gan droi ei gefn at yr efail, a siarad mewn tôn gyfrinachol, "*Mi ddois i a nolar gyda mi!*"

"Oh! ni fedra' i ddim meddwl ei gym'ryd, mewn modd yn y byd, Mas'r George," ebe Twm, yn gyffroedig.

"Ond y mae'n *rhaid* i ti ei gym'ryd!" ebe George. "Edrych yma, mi dd'wedais i wrth Modryb Cloe y gwnawn i, ac mi ddaru hi beri i mi dori twll ynddo, a rhoi llinyn trwyddo i'w hongian am dy wddf, a'i gadw o'r golwg; onide y mae'r dyhiryn yma yn ddigon bawaidd i'w gymeryd oddiarnat. Yr ydw' i yn dweyd i ti, Twm, y mae arna' i eisio rhoi tafod drwg iddo! fe wnai les i mi!"

"Na, peidiwch, Mas'r George; ni wneiff hyny ddim d'ioni i *mi*."

"Wel, ni wna' i ddim, er dy fwyn di," ebe George, gan rwymo'r dolar o amgylch gwddf Twm, yn brysur; "dyna ti, yrwan botyma dy gôt yn dỳn drosto, a chadw ef, a chofia, bob dro y gweli di ef, y deuaf fi i lawr ar dy ol di, i dy gymeryd yn ol. Y mae Modryb Cloe a minau wedi bod yn siarad o'i gwmpas. Dywedais i wrthi am beidio ofni; mi edrychaf fi ar ol hyn, ac mi blagia einioes fy nhad allan o hono, os na wneiff o."

"O Mas'r George, ni wiw i chwi siarad fel yna am eich tad!"

"Dyn anwyl, F'Ewyrth Twm, nid wyf yn meddwl dim drwg."

"Ac 'rwan, Mas'r George," ebe Twm, "y mae'n rhaid i chwi fod yn fachgen da; cofiwch gymint o galonau sy' wedi eu gosod arnoch chi. Cadwch yn agos at y'ch mam bob amser. Peidiwch myn'd i'r ffyrdd ffol sy' gen' rai bechgyn o feddwl eu hunain yn rhy fawr i hidio eu mamau. Ydw' i yn deud i chwi Mas'r George, y mae'r Arglwydd yn rhoddi llawer o bethau ddwywaith drosodd; ond nid ydi o ddim yn rhoi mam ddim ond unwaith. Ni welwch chi byth y fath ddynes, Mas'r George, pe byddech byw i gant oed. Felly, 'rwan, daliwch chi wrthi hi, a thyfwch i fyny, a byddwch yn gymffwrt iddi, fy machgen da i—mi 'newch felly, oni 'newch chi?"

"Gwnaf, yn sicir F'Ewyrth Twm," ebe George, yn ddifrifol.

"A byddwch yn ofalus am eich siarad, Mas'r George. Mae bechgyn ifanc wedi dyfod i'ch oed chwi, yn gyndyn weithiau—y mae'n natrol

iddynt fod. Ond nid yw bon'ddigions iawn, a gobeithio y byddwch chwithau yn un felly, byth yn deud gair anmharchus wrth eu rhieni. 'Dydych chi ddim wedi digio, Mas'r George?"

"Nac ydwyf yn wir, F'Ewyrth Twm; oni fyddit ti bob amser yn rhoddi cynghor da i mi?"

"Yr ydwy' i yn hynach na chwi, mi wyddoch," ebe Twm, gan dynu ei law fawr gref ar hyd ben crych clws y bachgen, ond â llais mor dyner a merch, "ac yr wy' i'n gwel'd y cwbwl sy' ynoch chwi. O Mas'r George! y mae genych chi bob peth—dysgeidiath, breintiau, darllen, 'sgrifenu—a thyfwch i fyny yn ddyn mawr, dysgedig, a da, a bydd yr holl bobl ar y lle, a'ch tad a'ch mam mor falch o honoch! Byddwch yn Fas'r da fel eich tad, a byddwch yn Gristion fel eich mam. Cofiwch eich Creawdwr yn nyddiau eich ienctid, Mas'r George."

"Mi fyddaf fi yn dda iawn, F'Ewythr Twm, siwr i ti," ebe George. "Yr ydw' i am fod yn ddyn annghyffredin; a phaid a digaloni. Mi fynaf fi di yn ol i'r lle eto. Ac fel y d'wedais wrth Modryb Cloe y bore heddyw, mi adeilada dy dŷ di i gyd drosto, a thi a gei ystafell i fod yn barlwr, pan ddo' i yn ddyn. Oh, mi gei di weled amser da eto!"

Yn awr daeth Haley i'r drws, â'r llyffetheiriau yn ei law.

"Gwrandewch, Syr," ebe Goerge, gydag ymddangosiad hynod o oruchel, fel yr oedd yn dyfod allan, "mi ddywedaf fi wrth nhad a mam fel yr ydych yn trin F'Ewyrth Twm!"

"Mae i chwi groeso," ebe'r masnachwr.

"Mi 'ddyliwn y dylai fod arnoch chwi gywilydd i dreulio eich holl fywyd yn prynu dynion a merched, ac yn eu cadwyno nhw fel anifeiliaid! Mi feddyliwn i eich bod yn teimlo eich hun yn ddiystyrllyd!" ebe George.

"C'yd ag y b'o ar eich pobol fawr chwi eisio gwerthu dynion a merched, yr ydw' i gystal a hwythau," ebe Haley; "'dyw ddim mwy diystyrllyd eu prynu nag ydi eu gwerthu."

"Ni wna i y naill na'r llall, pan ddelwyf fi yn ddyn," ebe George. "Y mae'n g'wilydd genyf heddyw fy mod yn un o fechgyn Kentucky. Yr oeddwn yn falch o fod, bob amser o'r blaen;" ac eisteddodd George yn syth iawn ar ei geffyl, ac edrychodd o'i gwmpas fel pe buasai yn dysgwyl y gwnai ei farn effaith ar yr holl dalaeth.

"Wel, ffarwel, F'Ewyrth Twm; cadw dy ben i fyny," ebe George.

"Ffarwel, Mas'r George," ebe Twm, gan edrych yn hoffus ac yn barchedig arno. "Duw Hollalluog a'ch bendithio! Ah! 'does yn Kentucky ond 'chydig o bobol fel chwi!" eb efe, o gyflawnder ei galon, fel yr oedd y gwyneb gonest, bachgenaidd, yn diflanu o'r golwg. Ymaith yr aeth, ac edrychodd Twm hyd nes oedd sŵn carnau y ceffyl yn myned o'i glyw—y sŵn a'r olygfa olaf yn perthyn i'w gartref. Ond yr oedd llecyn cynes ar ei galon, lle y gosodasai y dwylaw ieuainc hyny y dolar gwerthfawr. Cododd Twm ei law i fyny, a daliodd hi'n dỳn ar ei galon.

"'Rwan, mi dd'weda i ti, Twm," ebe Haley, gan nesâu at y wagen, a thaflu y llyffetheiriau i mewn; "yr ydw' i am startio yn deg gyda thi, fel y bydda' i'n gneud yn g'ffredin efo fy niggers; ac yr wy' i'n deud i ti 'rwan yn y dechre' os gnei di 'nhriu i'n deg, mi 'na ina' dy drin ditha' yn deg; nid ydw' i byth yn greulon wrth fy niggers. Ceisio gneud drostyn' nhw y gore' a fedraf. 'Rwan, wel'di, mae'n well i ti dest setlo dy hun yn gyfforddus, a pheidio treio trin tricia; yr ydw' i fyny â holl dricia'r niggers, a 'dydi o ddim iws treio. Os bydd niggers yn llonydd, ac yn peidio ceisio myn'd i ffwrdd, mi gân fyd da gyda mi; ond os na wnânt, eu bai nhw ydyw, nid fy mai i."

Dywedodd Twm wrth Haley nad oedd, yn sicr, yn meddwl yn awr am redeg ymaith. Yn wir, yr oedd y cynghor yn ymddangos yn lled afreidiol i ddyn â gefynau cryfion am ei draed. Ond yr oedd Haley wedi myned i ryw arferiad o ddechreu ei gydnabyddiaeth â'i eiddo dynol gyda rhyw anogaethau o'r fath yma, y rhai, yn ei farn ef, a dueddent i beri sirioldeb a hyder, ac i luddias yr angenrheidrwydd o unpeth anhyfryd.

Ac yma, yn bresenol, yr ydym yn gadael Twm, gan fyned i ddylyn helyntion rhai eraill yn ein chwedl.

## PENNOD XI.

### YN MHA UN Y MAE EIDDO YN SYRTHIO I FEDDWL ANFODDLON.

Yr oedd braidd yn hwyr ar ddiwrnod gwlybyrog, pan ddisgynodd teithiwr wrth ddrws tŷ tafarn yn mhentref N—, yn Kentucky. Yn yr ystafell ddiota, efe a gafodd gwmpeini cymysg, wedi troi i mewn i ochel y gwlaw, ac yr oedd yno olygfa a geir yn gyffredin yn y fath le, dan gyffelyb amgylchiadau. Kentuckiaid mawr, tal, esgyrnog, mewn gwisgiad helwriaeth, yn llusgo eu cymalau dros diriogaethau anferth eu maint, a'u hosgo yn rhonc a di-lun—gynau yn un pentwr yn y gongl, fflasciau powdwr, cydau helwriaeth, cŵn hela, a negroaid bychain yn y cornelau—oedd prif hynodrwydd y darlun. Un ochr i'r aelwyd eisteddai clumach hirgoes, ei gadair yn gogwyddo yn ol, ei het am ei ben, a sodlau ei fotasau budron yn addurno mantel y simne—ystum (dylem ddweyd i'n darllenwyr) ffafriol iawn i dueddfryd tafarndai'r gorllewin, lle mae teithwyr yn dangos parodrwydd hynod i godi eu sodlau i'r gwynt yn lle hurtio â'u penau ynddo.

O'r tu ol i'r bar safai gwr y tŷ, yr hwn, fel ei gydwladwyr yn gyffredin, oedd fawr o gorph-

olaeth, da ei natur, ystwyth o gymalau, a llwyn o wallt ar ei ben, a het â choryn hir ar ben hyny.

Mewn gair, yr oedd pob un yn yr ystafell yn dwyn ar ei goryn nod unbenaeth dyn, pa un bynag ai het ffelt, deilen palmwydden, befer seimlyd, neu het newydd spon oedd ganddo, dyna'r lle safai mewn gwir annibyniaeth republicanaidd. Yn wir, yr oedd yr het yn fynegfys i garacter y dyn. Gwisgid hi gan rai yn ysmala ar ochr y pen—gweilch llon eu llygaid, siriol eu hwynebpryd, glan eu calon, oedd y rhai hyn; tynid hi gan eraill i lawr dros eu llygaid —dynion trymion, drwodd a thraw, dim lol, ond yn gwisgo'u hetiau o ddifrif, oedd y rhai hyn; eraill drachefn a'i gwisgent ar eu gwegil—dynion llygad-agored, ac eisiau gweled ymhell; a thrachefn, rhai ysmala, heb wybod na gofalu sut y byddai'r het yn eistedd, ond gadael iddi droi ac ysgwyd yma a thraw fel y dygwyddai. Yn wir, yr oedd yr hetiau yn ddigon o wers i philosophydd tebyg i Shakespear.

Gwelid yno nifer o negroaid, yn myn'd ac yn dwad, mewn llodrau llac a llaes, a lled lymllyd o ran crysau, heb wneud dim yn y byd yn neillduol, oddieithr dangos pob parodrwydd i droi a thwmblo'r holl greadigaeth o'r naill ben i'r llall, er mwyn mas'r a'i westwyr. Ac ychwaneger at hyn oll, dân coed goleu, yn fflamio, cracio, a gwreichioni i fyny i'r simne—a drws y tŷ a phob ffenestr yn llydan agored, a'r curtains yn whippio ac yn snappio yn y gwynt llaith oer—yna bydd genych ryw draws-amcan o ddull a modd cegin tafarn yn Kentucky.

Mae'r Kentuckiad hyd heddyw yn esponiad rhagorol o'r athrawiaeth o drawsfudiad tymherau a thueddiadau. Heliwr cadarn oedd ei dad—un yn byw yn y goedwig, ac yn cysgu dan awyrgylch y nef, a'r ser yn dal canwyll iddo; ac y mae ei fab yr un fath fyth a hefyd, yn ymddwyn fel pe na b'ai ei dŷ ond gwersyll —yn gwisgo ei het bob amser, ac yn codi ei sodlau ar gefn y gadair neu'r fantel simne, yr un fath ag y byddai ei dad yn ymrolio ar y glaswellt, ac yn gosod ei draed ar goed a chyffion—cadw'r drysau a'r ffenestri yn agored haf a gauaf, fel y gallo gael digon o awyr i'w gylla mawr—yn galw pawb a gyferfydd yn "wr dyeithr," gyda chroeso calon, ac y mae'r creadur mwyaf hywaeth, rhwydd, a glân ei galon ag a anwyd i'r byd erioed.

I ganol y fath gwmpeini difyr a hwnyna y disgynodd ein trafaeliwr. Dyn bychan lled ffurf ydoedd, a'i ddillad am dano'n drwsiadus, a gwynebpryd crwn, siriol, a da ei natur, ond yn ei ymddygiad yn orofalus, ac yn penderfynu cael ei ffordd ei hun. Cymerai ofal mawr o'i fwndel a'i umbrela, y rhai a ddygodd i mewn yn ei law ei hun, ac ni chymerai help gan neb, er fod y gweinidogion yn ceisio'n daer. Taflodd ei olwg dros yr ystafell braidd yn bryderus, ac wedi cael allan y gongl fwyaf clyd, efe a eisteddodd, ac a ddododd ei gelfi dân y gadair, gan edrych yn lled amheus ar y teilwng oedd a'i sodlau ar y fantel, yr hwn a boerai trwy ei ddannedd, ar dde ac ar aswy, mor rymus ac egniol ag i ddychrynu pobl weiniaid, a gofalus am eu dillad.

"Wel, y gwr diarth, sut y mae chi?" ebe'r gwr â'i sodlau i fyny, gan boeri cyfarchiad o sudd tobacco i gyffiniau'r dyn oedd newydd eistedd.

"Yn iach, diolch i chwi," ebe yntau, gan ysgoi yn lled sydyn rhag cael ei daro â'r ergyd o sudd tobacco.

"Dim newydd?" ebe'r llall, gan dynu darn o dobacco a chloben o gyllell hela o'i boced.

"Dim neillduol am a wn i," ebe'r dyn.

"Shaw?" meddai'r cyntaf, gan estyn tamaid o dobacco i'r hen wr, mewn dull ac agwedd hollol frawdol.

"Dim, diolch i chwi, nid yw ddim yn cytuno â mi," ebe'r dyn bychan, gan nesu draw.

"Ho, felly," ebe'r mawr yn ddifater; a tharawodd y tamaid yn ei geg ei hun, i barotoi rhagor o sudd, er lles y cyffredin.

Bob tro y saethai'r hirgoes ei boeryn tua chornel yr hen wr, fe neidiai hwnw gan ofn; a phan welodd y saethwr hyny, efe a drodd ei fwa ffordd arall, ac a ddaliodd i bledru'r celfi tân fel pe buasai yn gwarchae dinas gaerog.

"Beth ydyw hwnyna?" ebe'r hen wr, pan welodd dwr o'r cwmpeini yn darllen rhyw bapyr ar y pared.

"Hyspysiad am nigger," ebe un o'r cwmpeini yn lled gwta.

Yna cyfododd Mr. Wilson, (oherwydd dyna oedd enw yr hen wr,) ac ar ol edrych a oedd ei fwndel a'i umbrela yn ddyogel, a thynu ei spectol allan yn arafaidd, a'i gosod ar ei drwyn, efe a ddarllenodd fel hyn:—

"Wedi dianc oddiar y tanysgrifiwr, fy mulato George. Mae'r George rhagddywededig yn chwe' throedfedd o daldra, o liw pur oleu, a gwallt rhydd cyrliog; mae'n bur ddeallus, yn siaradwr da, ac yn medru darllen ac ysgrifenu; mae'n ddigon tebyg o basio fel dyn gwyn; mae creithiau ar ei gefn a'i ysgwyddau, ac y mae'r llythyren H wedi ei llosgi â haearn poeth ar ei law ddehau.

"Mi rof fi bedwar can' dolar am dano yn fyw, a'r un swm am brawf boddhaol ei fod wedi ei ladd."

Darllenodd yr hen wr yr hyspysiad yma drwyddo o'i ddechreu i'w ddiwedd, mewn llais isel, fel pe buasai yn astudio.

Yna cyfododd yr hirgoes fuasai yn gwarchae ar y celfi tân, fel yr adroddwyd yn barod, ac ar ol hel ei gymalau ynghyd, ac ymsythu, efe a gerddodd at yr hyspysiad ac a boerodd lon'd ei geg o sudd tobacco arno.

"Dyna marn i am dano fo," eb efe, gan eistedd i lawr drachefn.




"Holo, gwr diarth, be ydi hyna da?" ebe gwr y tŷ.

"Mi gawsa'r dyn 'sgyfenodd o'r un peth, pedasa fo yma," ebe'r hirddyn, gan ail ddechreu tori tobacco, yn hollol ddifater. "Mae undyn fo â bachgen fel hwn ganddo, ac na ŵyr ddim gwell ffordd i'w drin na 'nyna, yn *haeddu* ei golli. Mae'n g'wilydd ac yn warth i Kentucky fod y fath bapyrau a nyna ar y parwydydd; dyna marn i, os oes ar neb eisio gwybod."

"Wel, 'rwan, dyna'r gwir," ebe gwr y tŷ, fel yr oedd yn cofnodi rhyw beth yn ei gof-lyfr.

"Mae gen i gang o fechgyn," ebe'r dyn tal, gan ail-ddechreu ei ymosodiad ar y celfi tân, "a meddaf fi wrthyn nhw, 'Mechgyn i, *rhedwch* 'rwan, ceibiwch, palwch, carthwch, planwch, gwnewch y peth fyd a fynoch chi! Ni ddo i ddim i edrych ar'ch hola chi.' Dyna fel 'rydw i yn cadw mechgyn. G'dewch iddyn nhw wybod y gallan nhw gymryd y goes, os byddan nhw'n dewis, yna fydd arnyn nhw ddim blys d'engyd. A mwy na'r cwbl i gyd, mae gen i bapyrau yn barod, ac yn llaw'r twrne, i roi rhyddid i bob un o honyn nhw, os dygwydd rhyw anghaffael i mi rywdro, ac mi wyddan hyny'n burion. 'Rwan, mi ddeuda i chi beth, y gwr diarth, nid oes yr un dyn yn ein cymydogaethau ni yn cael mwy allan o'i niggars nag ydw i. Mi fu mechgyn i yn Cincinnati â gwerth pum can' dolar o ebolion, drachefn a thrachefn, ac mi ddaethon a'r arian adre i'r ddima. Mae'n sefyll wrth rheswm y g'nan nhw felly. Triniwch nhw fel cwn, ac mi na'n hwythau droion a chastiau cwn. Triniwch nhw fel dynion, ac mi ymddygan fel dynion." Ac fe seliodd y porthmon gonest ei olygiad moesol hwn â chawod o bystilloedd at y celfi tân.

"Yr wyf fi o'r farn, ffrynd, eich bod chwi ynghanol eich lle," ebe Mr. Wilson, "ac y *mae'r* bachgen yna yn llanc digyffelyb—dim amheuaeth am hyny. Fe fu'n gweithio yn fy ffactri i am chwe' blynedd, syr, ac efe oedd y dyn goreu o'i mewn. Mae yn fachgen cywrain ryfeddol, hefyd. Fe ddyfeisiodd beiriant i lanhau hemp—un hynod o ddefnyddiol; mae wedi ei osod i fyny mewn llawer ffactri. Ac y mae ei feistr yn dal y patent o hono hyd heddyw."

"Ydi, mi gwrantaf fo," ebe'r porthmon, "yn ei ddal ac yn gneud arian o hono, ac wedi hyny yn troi ac yn *marcio'r* bachgen â'r haiarn poeth yn ei law ddehau. Pe cawn i ddim ond cyfle, mi ro'wn i fy marc arno yntau, na chai o ddim gwared o hono ar frys, neu 'rydw i'n camgymeryd yn rhyfeddol."

"Mae'r bechgyn yma sy'n gwybod tipyn yn bur anodd ymhel â nhw, ac yn bur goiglyd, 'n gyffredin," ebe rhyw greadur dideimlad o'r ochr arall i'r ystafell: "dyna'r p'am maen' nhw'n cael eu curo a'u baeddu. Ni chaen nhw ddim pe baen' nhw'n behafio eu hunain."

"Cystal a deyd fod yr Hollalluog wedi eu gwneud nhw'n ddynion, ac mai gwaith caled ydyw eu tynu nhw i lawr i fod yn anifeiliaid," ebe'r porthmon, dros ei ysgwydd.

"Nid ydi niggars deallus ddim lles yn y byd i'w meistradoedd," ebe'r llall, oherwydd yr oedd yn rhy bendew a chroendew i deimlo awch atebiad llym y porthmon, "pwy les ydi talentau a phethau o'r fath, os na fedrwch gael y defnydd o honyn nhw i chwi'ch hunan. Myn'd dros eich pen chi ydi'r cwbwl mae'r niggars yn 'neud hefo'u talentau. Mi fu gen i ddau neu dri o rai felly, ac mi gwerthis i nhw i lawr yr afon, oherwydd mi wyddwn mai eu colli nhw 'nawn i yn y diwedd, os na werthwn i nhw."

"Fydda'n well i ti yru gair i fyny at yr Hollalluog i neud set o bwrpas i ti, a gadael yr eneidiau allan o hony'n nhw," ebe'r porthmon.

Ond fe dorwyd ar yr ymddyddan, trwy glywed swn cerbyd wrth y drws. Yr oedd yr olwg arno'n foneddigaidd, a dyn o wisgiad da yn eistedd ynddo, a gwas du yn ei yru.

Dechreuodd yr holl gwmpeini rythu llygaid ar y teithwyr, fel y bydd twr o segurwyr mewn tafarn ar ddiwrnod gwlawog yn arfer gwneud. Yr oedd y dyn yn dal, o wynebpryd tywyll Hispaenaidd, llygaid duon bywiog, a gwallt crych, du fel y frân. Parodd yr olwg ar ei drwyn del, ei wefus deneu, a thlysni cyffredin ei aelodau a'i gorphoriad hardd, i bawb o honynt feddwl ei fod yn rhywun mwy na'r cyffredin. Efe a gerddodd i mewn yn hyf i fysg y cwmpeini, a chydag awgrymiad pen dangosodd i'r gwas ymha le i osod ei drwnc, cyfarchodd y cwmpeini drwy godi ei het, ac aeth at y bar yn arafaidd, gan roddi ei enw i wr y tŷ, Henry Butler, Brynderwen, Sir Shelby. Yna cymerodd dro o gwmpas yr ystafell yn hamddenol, a darllenodd yr hysbysiad ar y pared.

"Jim," eb efe wrth ei was, "oni welsom ni

fachgen tebyg i hwn i fyny tua thŷ Bernan?"

"Do, mas'r," ebe Jim, "ond 'dydw i ddim yn siwr ynghylch y llaw."

"Wel, ddarfu ni ddim edrych, wrth reswm," ebe'r gwr dyeithr, gan ymlyfu gên yn ysmala. Yna efe a gyfarchodd wr y tŷ, ac a ofynodd am ystafell wrtho ei hun, am fod ganddo waith ysgrifenu ar frys.

Yr oedd gwr y tŷ yn llawn parodrwydd, a dechreuodd tua chwech neu saith o negroaid, hen ac ieuainc, gwryw a benyw, mawr a bychain, redeg drwy eu gilydd, fel gwybed ar brydnawnddydd haf, gan drystio, rhedeg, sathru ar draed eu gilydd, a syrthio ar draws eu gilydd, yn eu hawydd am wneud ystafell mas'r yn barod. Eisteddodd yntau ar gadair ynghanol y bar, a dechreuodd siarad â'i gymydog nesaf ato.

Yr oedd y ffactrwr, Mr. Wilson, yn dal i edrych arno gyda rhyw fath o anesmwythyd, o'r mynyd y daethai i'r tŷ. Yr oedd yn lled atgof ganddo iddo ei weled o'r blaen, ond ymha le nis gallsai yn ei fyw gofio. Bob ychydig fynydau, pan siaradai'r dyn, pan wenai, neu pan symudai, byddai llygaid y ffactrwr arno, a gostyngai ei aeliau yn y mynyd, pan gyfarfyddai lygaid duon mawr y dyeithr, yn edrych arno yn hollol ddidaro. O'r diwedd daeth i'w gof ar unwaith, oherwydd efe a edrychodd arno gyda'r fath syndod a dychryn, fel y cododd ac yr aeth ato.

"Mr. Wilson, onite?" ebe yntau, mewn tôn gyfeillgar, gan estyn ei law. "Maddeuwch i mi, ni ddarfum i eich adnabod yn gynt. Mi welaf eich bod chwi yn fy nghofio i—Mr. Butler, Brynderwen, Sir Shelby."

"Ie—ie—ie, syr," ebe Mr. Wilson, fel un yn siarad mewn breuddwyd.

Gyda hyn daeth bachgenyn du, ac a ddywedodd fod yr ystafell yn barod.

"Jim, edrych at y trynciau," ebe'r gwr boneddig, gyda llaw; yna, gan droi at Mr. Wilson, efe a ddywedodd, "Fe fyddai yn dda genyf gael gair â chwi ar fusnes, yn fy ystafell am ychydig fynydau, os gwelwch fod yn dda."

"Aeth Mr. Wilson ar ei ol, fel un yn cerdded trwy gwsg; ac aethant i ystafell i fyny'r grisiau, lle'r oedd tân newydd ei gyneu yn cleccian, a nifer o weinidogion yn gorphen tacluso.

Pan orphenwyd hyn, ac iddynt oll fyned allan, clodd y dyeithr y drws, a dododd yr agoriad yn ei boced. Yna efe a drodd, a'i freichiau ymhleth, ac a edrychodd yn myw llygad Mr. Wilson.

"George!" ebe Mr. Wilson.

"Ie, George," ebe'r dyn ifanc.

"Ni feddyliais i erioed!"

"Nid hawdd fy adnabod, feddyliwn," ebe yntau, dan wenu. "Mae rhisglyn cnau ffreinig wedi lliwio fy nghroen melyn yn rhudd-goch, ac y mae fy ngwallt wedi ei lifo yn ddu; felly nid wyf yn ateb i'r hysbysiad fodd yn y byd."

"Ond, George anwyl, yr ydych wedi dechreu chwareu camp beryglus ofnadwy. Ni f'aswn i ddim yn eich cynghori i'w wneud."

"Mi fedraf wneud heb gyngor neb," ebe George, gyda'r un wên fawreddus.

Dylem ddweyd, wrth fyned heibio, fod George yn wŷn o du ei dad. Un o'r llwyth anhapus oedd ei fam, sydd yn aml, oherwydd prydferthwch personol, yn gaethferch i nwydau'r perchenog, ac yn fam i blant na byddant byth yn adnabod eu tad. Yr oedd ei bryd a gwedd Ewropaidd yn etifeddiaeth a ddisgynodd iddo trwy un o'r teuluoedd mwyaf penuchel yn Kentucky. Oddiwrth ei fam ni chafodd ond ychydig o liw'r mulatto, am yr hyn yr oedd ei lygad du llawn yn ddigon o gynysgaeth. A'r newidiad lleiaf yn lliw'r croen a'r gwallt a'i trawsnewidiodd i'r Hispaeniad yr ymddangosai ar y pryd; a chan fod osgo celfydd a moesgarwch boneddigaidd yn berffaith naturiol iddo, nid oedd yn anhawdd iddo chware'r gamp a gymerasai mewn llaw—sef boneddwr yn trafaelio a gwas gydag ef.

Yr oedd Mr. Wilson yn hen wr da iawn ei natur, ond yn hynod o ofalus ac anesmwyth, ac efe a gerddodd yn ol ac ymlaen, "yn ddyrys iawn yn y dyn oddi mewn," chwedl John Bunyan, ac yn cloffi yn ei feddwl, rhwng ei ddymuniad i wasanaethu George a rhyw dyb niwliog y dylai ufuddhau i'r gyfraith; felly ar ol hopian fel iar ar farwor, efe a gyfarchodd George fel hyn:—

"Wel, George, mae'n debyg eich bod yn dianc i ffordd—yn gadael eich meistr cyfreithlon, George—(nid ydyw ryfedd yn y byd)—yr un pryd, George, mae'n ddrwg genyf eich gweled—ydyw, y mae yn wir—yr wyf yn meddwl y rhaid i mi ddweyd hyny, George—fy nyledswydd i ydyw dweyd hyny wrthych."

"Paham y mae yn ddrwg genych?" ebe George, yn llariaidd.

"Am eich gweled, fel pe b'ai yn gosod eich hunan yn erbyn cyfreithiau 'ch gwlad."

"Fy ngwlad *i?*" ebe George, gyda phwyslais cadarn a chwerw; "pa wlad sydd genyf fi ond y bedd? ac O na buasai Duw yn gwel'd yn dda fy rhoddi yno!"

"O George! na, na, ni wna hyna byth mo'r tro; mae siarad fel yna yn bechod—yn anysgrythyrol. George, mi gawsoch chwi feistr caled—yn wir, y mae—wel, y mae i'w feio—ni wiw i mi geisio ei amddiffyn. Ond chwi wyddoch sut y darfu'r angel orchymyn i Hagar ddychwelyd at ei meistres, ac ymostwng dan ei llaw; ac fe yrodd yr Apostol Onesimus yn ol at ei feistr."

"Peidiwch a chodi'r Bibl ataf fi fel yna, Mr. Wilson," ebe George, a'i lygaid yn melltenu; "peidiwch! oherwydd y mae fy ngwraig yn

Gristion, ac yr wyf finau yn bwriadu bod, os byth y cyrhaeddaf le ag y gallaf fod; ond y mae codi'r Bibl at ddyn yn fy amgylchiadau i yn ddigon a gyru un i'w wadu o'r dechreu i'r diwedd. Mi appeliaf at y Duw Hollalluog; yr ydwyf yn ddigon boddlon i osod y mater yn ei law Ef, a gofyn iddo os wyf yn pechu trwy geisio ynill fy rhyddid."

"Mae'r teimladau yna yn ddigon naturiol, George," ebe'r dyn bach, da ei natur, gan chwythu ei drwyn. "Ydynt, y maent yn naturiol, ond fy nyledswydd i ydyw peidio eu cefnogi ynoch chwi. Ydyw, machgen i, mae'n ddrwg genyf drosoch chwi, 'rwan; mater drwg ydyw—drwg iawn; ond y mae'r Apostol yn dweyd, 'Arhosed pob un yn y cyflwr y galwyd ef iddo.' Rhaid i ni oll ymostwng i drefn Rhagluniaeth, George, ydych chwi ddim yn gweled?"

Safodd George a'i ben i fyny, a'i ddwyfraich ymhleth yn dyn ar ei frest lydan, a chyda gwên ddiystyrllyd yn crychu ei wefus.

"Mr. Wilson, beth be bai'r Indiaid yn dyfod, ac yn eich cymeryd chwi yn garcharor, oddi wrth eich gwraig a'ch plant, ac yn ceisio eich cadw dros eich hoes i howio corn drostynt hwy, ai tybed y barnech chwi mai eich dyledswydd fyddai aros yn y cyflwr y galwyd chwi iddo! Braidd na feddyliwn y cymerech y ceffyl cyntaf y dygwyddech gael gafael arno yn drefn Rhagluniaeth i ddianc oddi yno—oni wnaech?"

Dechreuodd y dyn bach rythu ei ddau lygad pan glywodd yr esponiad yma ar y mater; ac er nad oedd yn llawer o ymresymwr, yr oedd ganddo ddigon o'r synwyr sydd heb fod mor gyffredin gan rai—sef peidio a siarad lle ni bo dim i'w ddweyd. Felly, tra'r oedd yn sefyll ac yn tynu'r umbrela trwy ei law, ac yn tynu pob crychni allan o hono, efe a aeth ymlaen â'i gynghorion mewn ffordd gyffredin.

"Edrychwch chwi yma, 'rwan, George; chwi wyddoch i mi sefyll yn ffrind i chwi bob amser; a pha beth bynag a ddywedais, mi a'i dywedais er eich lles. Dyma i chwi, mae'n ymddangos i mi eich bod yn rhedeg i berygl ofnadwy. Ni fedrwch chwi ddim dysgwyl llwyddo. Os delir chwi, hi fydd yn waeth arnoch nag erioed; ni wnant ddim ond eich maeddu, eich haner ladd chwi, a'ch gwerthu chwi i lawr yr afon yn y diwedd."

"Mi wn i hyn i gyd, Mr. Wilson," ebe George. Yr *ydwyf* yn rhedeg i berygl, ond"—ac efe a ddadfotymodd ei gôt uchaf, ac a ddangosodd ddau bistol a llafn o ddur. "Dyna," eb efe, "yr wyf fi yn barod iddyn nhw! I lawr i'r dê *nid âf byth.* Nac âf! os daw hi hyd at hyny, mi fedraf ynill i mi fy hun ddwylath o leiaf o ddaear rydd—y cyntaf a'r olaf fydd byth yn fy meddiant yn Kentucky."

"George anwyl! mae'r teimladau yna yn ddychrynllyd! mae hi'n myn'd yn arswydus, George. Yr ydych yn codi ofn arnaf fi. Yn myn'd i dori cyfreithiau 'ch gwlad!

"Fy ngwlad *i*, eto! Mr. Wilson, mae genych *chwi* wlad; ond pa wlad sydd genyf *fi?* na neb yr un fath a mi, wedi ei eni o gaeth-fam? Pa gyfreithiau sydd i ni? Nid ydym ni ddim yn eu gwneud—nid ydym yn cydsynio iddynt—nid oes dim a fynom â hwynt; y cyfan a wnant i ni ydyw ein malurio, ein llethu i lawr. Oni fum i yn gwrando ar eich areithiau y pedwerydd o Orphenaf? Onid ydych yn dweyd wrthym oll unwaith bob blwyddyn fod llywodraethau yn derbyn eu hawl gyfiawn oddi wrth gydsyniad y sawl a lywodraethir? Ac oni fedr y sawl a glywant y pethau hyn *feddwl?* Oni fedrant ddodi hynyma a hynyna ynghyd, a gweled pa beth y mae yn feddwl?"

Yr oedd meddwl Mr. Wilson yn un o'r rhai hyny ellir yn ddigon priodol eu cydmaru i sachaid o gotwm—esmwyth, meddal, cymysgfa o natur dda yn ymbalfalu. Yr oedd yn tosturio dros George â'i holl galon, ac yr oedd ganddo ryw draws-amcan o ddirnadaeth am y teimladau oedd yn ei gynhyrfu; eto yr oedd yn barnu mai ei ddyledswydd oedd dal ati yn ddi-ildio i siarad wrtho *er ei les.*

"George, mae hyn yn ddrwg. Rhaid i mi ddweyd wrthych, wyddoch, fel ffrind, mai gwell i chwi adael y fath olygiadau a rhai'n yn llonydd; maent yn ddrwg George, yn ddrwg iawn i fechgyn yn eich cyflwr chwi—ydynt y maent;" ac yna efe a eisteddodd wrth y bwrdd, a chnwp ei umbrela yn ei geg.

"Gwrandewch am fynyd, Mr. Wilson," ebe George, ac efe a eisteddodd ar ei gyfer mewn dull penderfynol; "edrychwch arnaf fi, yn awr. A ydwyf fi ddim yn eistedd ar eich cyfer, yn mhob ffordd, a ymhob dim, yn ddyn, cymaint ag ydych chwithau. Edrychwch ar fy ngwyneb—edrychwch ar fy nwylaw—edrychwch ar fy holl gorph," ac fe ymsythodd y dyn ifanc yn uchelfrydig. "Paham nad wyf fi yn ddyn, cystal a neb arall? Wel, Mr. Wilson, gwrandewch ar yr hyn sydd genyf i'w ddweyd. Fe fu genyf dad—un o'ch boneddigion yn Kentucky—yr hwn nid oedd yn meddwl digon o honof i'm cadw rhag fy ngwerthu, gyda'i gwn a'i geffylau, i dalu ei ddyledion pan fu farw. Mi welais fy mam a'i saith blentyn, yn cael eu gwerthu wrth ocsiwn gan y *sheriff.* Gwerthwyd hwynt o flaen ei llygad, bob yn un ac un, i wahanol feistriaid; a myfi oedd yr ieuangaf. Hi aeth ar ei gliniau o flaen fy meistr, i fegio arno i phrynu hi gyda mi, fel y gallai gael cwmni un o'i phlant; ond efe a'i ciciodd ymaith â'i fotasau mawrion. Mi a'i gwelais yn gwneud; a'r olaf a glywais o lais fy mam, oedd ei llefain a'i gruddfanau, pan rwymwyd fi wrth wddf ei geffyl, i'm cymeryd gydag ef adref."

"Beth wedi hyny?"



"Fe brynodd fy meistr fy chwaer hynaf gan un o'r dynion, ar ol hyny. Yr oedd hi yn lodes dda, dduwiol, yn aelod gyda'r Bedyddwyr—ac mor hardded dynes ag oedd fy mam bob mymryn. Cawsai ei dwyn i fyny yn dda, ac yr oedd yn foesgar iawn ei hymddygiad. Ar y cyntaf yr oedd yn dda genyf iddo ei phrynu, oherwydd yr oedd genyf un ffrind yn agos ataf. Ond bu yn ddrwg genyf yn bur fuan. Mi fum yn sefyll wrth y drws, syr, pan fyddid yn ei whipio, ac yn teimlo fel pe buasai pob ergyd yn tori fy nghalon noeth, ac ni fedrwn wneud dim i'w helpu. Hi gafodd ei whipio, syr, am fod arni eisiau byw bywyd rhinweddol a Christionogol, yr hyn nis goddef eich cyfreithiau chwi i unrhyw gaethferch wneud, ac o'r diwedd mi a'i gwelais mewn gefynau gyda nifer mawr o rai eraill, yn cychwyn i farchnad Orleans—gyrwyd hi yno am ddim yn y byd ond hyny—a thyna'r olaf a wn i am dani. Wel, mi dyfais i fyny—flynyddau hirion meithion—heb dad, heb fam, heb chwaer, heb un enaid byw yn gofalu dim mwy am danaf nag am gi; dim ond fy whipio, fy rhegu, fy haner lewygu. Mi fum yn dyoddef cymaint o eisiau bwyd, fel ag yr oedd yn dda genyf grafu'r esgyrn a deflid i'r cwn; ac eto, pan oeddwn yn hogyn bach, ac yn effro trwy gydol y nos yn wylo'r dagrau, nid yr eisiau bwyd, nid y whipio fyddai'r achos. Nage, syr; am fy *mam* a'm *chwaer* y byddai fy nagrau yn rhedeg—am nad oedd genyf un ffrind ar wyneb yr holl ddaear i ofalu am danaf. Ni wybum erioed pa beth oedd cysur a heddwch. Ni chlywais erioed un gair o garedigrwydd hyd oni ddaethum atoch chwi i weithio i'r ffactri. Mr. Wilson, chwi fuoch yn garedig wrthyf; chwi ddarfu fy anog i fyned yn y blaen, a dysgu darllen ac ysgrifenu, a threio bod yn rhywbeth, ac y mae Duw yn gwybod pa mor ddiolchgar ydwyf i chwi am hyny. Wedi hyny syr, mi a gyfarfyddais fy ngwraig; chwi gwelsoch hi—chwi wyddoch hardded dynes ydyw. Gan wybod ei bod yn fy ngharu, a phan briodais hi, prin y medrwn goelio fy mod yn fyw, yr oeddwn mor hapus; ac y mae hi mor dda ag ydyw yn hardd, syr. Ond beth nesaf? Dyma fy meistr yn dyfod, ac yn fy nghymeryd oddi wrth fy ngwaith, oddi wrth fy ffrindiau, a phob peth sy dda genyf, ac yn fy malu i lawr i'r dom. A phaham? Am fy mod, medd efe, yn anghofio pwy ydwyf; myn fy nysgu, medd ef, nad wyf ddim ond nigger! Wedi'r cwbl, ac yn olaf o'r cwbl, dyma fe yn dyfod rhyngof fi a'm gwraig, ac yn dweyd y rhaid i mi ei gadael, a byw gyda dynes arall. Ac y mae'ch cyfreithiau chwi yn rhoddi iddo awdurdod i wneud hyn oll, er gwaetha Duw na dyn! Edrychwch arno, Mr. Wilson. Nid oes dim *un* o'r holl bethau hyn, a dorasant galon fy mam, fy chwaer, fy ngwraig, a minau, nad yw eich cyfreithiau yn eu goddef, ac yn rhoddi i bob dyn o fewn Kentucky awdurdod i'w gwneud, ac ni faidd neb ddywedyd paid wrtho! A fedrwch chwi alw y rhai hyn yn gyfreithiau fy ngwlad *i?* Syr, nid oes genyf fi wlad, ddim mwy nag y mae genyf dad. Ond yr wyf yn myned i gael gwlad. Nid oes arnaf eisiau dim gan eich gwlad *chwi*, ond fy ngadael yn llonydd—i fyned yn heddychol allan o honi; a phan gyrhaeddaf Canada, lle y bydd y gyfraith yn fy nghydnabod ac yn fy noddi, *dyna* fy ngwlad i, ac mi gadwaf ei chyfreithiau. Ond os meiddia un-gwr geisio fy rhwystro, edryched ati, oherwydd yr wyf fi yn benderfynol. Mi ymladdaf dros fy rhyddid hyd yr anadl olaf yn fy nghorph. Yr ydych chwi yn dweyd fod eich tadau wedi gwneud hyny; os oedd yn iawn ynddynt hwy, mae yn iawn ynwyf finau."

Traddodwyd yr araeth hon mewn rhan pan oedd George yn eistedd wrth y bwrdd, ac mewn rhan pan oedd yn cerdded i fyny ac i lawr ar hyd yr ystafell—traddodwyd hi gyda dagrau, llygaid yn melltenu, ac ystumiau gwallgofus—ac yr oedd yn ormod o lawer i'r creadur tyner galon oedd yn ei gwrando, yr hwn a dynasai hancas sidan o'i boced, ac oedd yn mopio ei wyneb nerth ei ddegbys.

"Boeth y bo'n nhw, bob un o honyn nhw," efe a dorodd allan yn sydyn. "Oni ddeudas i mai felly 'roedd hi bob amser?—yr hen felldithion uffernol. Gobeithio nad ydw i ddim yn tyngu 'rwan. Wel, ffwrdd a hi, George, ffwrdd a hi; ond, cymer ofal, machgen i; paid a saethu neb, George, os na—wel—na, *well* i ti beidio saethu, 'rydw i'n meddwl; o leiaf, ni wnawn i ddim *taro* neb, wyddost. Ymhle mae dy wraig di, George?" eb efe, gan godi yn grynedig o'r gadair, a dechreu cerdded ar hyd yr ystafell.

"Wedi myn'd, syr; wedi myn'd, a'i phlentyn yn ei breichiau. Duw yn unig wyr i bl'e. Wedi myn'd ar ol seren y gogledd; a pha bryd y cyfarfyddwn, neu a gyfarfyddwn byth yn rhagor yn y byd yma, nid oes yr un creadur fedr ddweyd."

"Ai posibl! rhyfedd iawn! ac oddi wrth y fath deulu caredig!"

"Mae teulu caredig weithiau yn syrthio mewn dyled, ac y mae cyfreithiau eich gwlad *chwi* yn gadael iddynt werthu'r plentyn o fynwes ei fam i dalu dyled y meistr," ebe George, yn chwerwder ei ysbryd.

"Wel, wel," ebe'r hen ŵr gonest, gan deimlo yn ei boced. "Mae'n debyg, efallai, nad ydwyf yn gwneud yn ol fy marn—aed i'w chrogi, *ni wnaf* fi ddim yn ol fy marn!" eb efe'n sydyn, "tyr'd yma, George," a chan gymeryd tŵr o fanc-biliau o'i goden, efe a'u cynygiodd iddo.

"Na, na, fy anwyl a charedig Syr," ebe George, "chwi wnaethoch lawer caredigrwydd â mi, ond fe allai y daw hyn a chwi i drafferth. Mae genyf ddigon o arian, yr wyf yn gobeithio, i'm cymeryd mor belled ag y mae arnaf eisiau."

"Na, George, rhaid i ti. Mae arian yn help mawr bob amser; ni fedri byth gael gormod, ond i ti eu cael yn onest. Cymer nhw,—gwna, 'rwan—cymer nhw, machgen i!"

"Wel, Syr, mi wnaf, ar yr amod y caf ryw ddydd eu talu'n ol," ebe George, gan gymeryd yr arian i fyny.

"'Rwan, George, pwy hyd yr wyt ti yn myn'd i drafaelio fel yma?—nid yn hir, nac yn mhell, gobeithio. Mae'r ddyfais yn dda, ond yn rhy hyf. A'r dyn dû yma, pwy ydyw hwn?"

"Un cywir galon; fe aeth i Canada dros flwyddyn yn ol; ond fe glywodd ar ol myned yno fod ei feistr mor ddig wrtho am ddianc, fel y whipiodd ei hen fam dlawd; ac fe ddaeth yr holl ffordd yn ei ol i'w chysuro, ac i dreio ei chymeryd gydag ef yn ol i Canada."

"A gafodd efe hi?"

"Naddo, eto; mae yn troi o gwmpas y lle, ond heb gael siawns hyd yma. Yn y cyfamser, mae yn myned gyda mi cybelled ag Ohio, i'm gosod yn mysg ffrindiau fu'n help iddo ef, yna efe a ddaw yn ei ol i'w cheisio hithau."

"Pur beryglus—peryglus iawn!" ebe'r hen ŵr.

Ond ymsythodd George, gan edrych yn ddiystyrllyd.

Ac edrychodd yr hen ŵr arno o'i ben i'w draed, gyda math o hoffder a syndod plentynaidd.

"Wel, George," eb efe, "mae rhywbeth wedi dy aeddfedu di yn rhyfeddol. Yr wyt yn codi dy ben, ac yn siarad fel dyn arall."

"Am fy mod yn *ddyn rhydd!*" ebe George. "Do, Syr, mi ddywedais 'Mas'r' am y tro olaf wrth un-gŵr a chwythodd erioed! *Yr wyf yn rhydd!*"

"Cymer ofal! Paid a bod yn rhy siwr—ti elli gael dy ddal."

"Mae pawb yn rhydd ac yn gydradd—*yn y bedd*, os daw hi hyd at hyny, Mr. Wilson," ebe George.

"Yr wyf yn synu dy fod yn meiddio gwneud mor hyf, fel yma, yn y tŷ tafarn nesaf at y lle."

"Mae fy ymddygiad *mor* hyf, ac y mae'r dafarn *mor* agos, Mr. Wilson, fel na feddyliant byth am danaf yn y fan yma; bydd y chwilio am danaf yn mhell oddiyma. Ni buasai hyd yn nod chwi yn fy adnabod. Nid ydyw meistr Jim yn byw yn y Sir yma, ac nid oes yma neb yn adnabod Jim. Heblaw hyny, y mae ef wedi ei roddi i fyny; nid oes neb yn chwilio am dano; ac mi allwn i feddwl na chymer neb fi i fyny oddiwrth yr hysbysiad."

"Ond y nôd ar dy law di?" Tynodd George ei faneg, a dangosodd y graith oedd newydd groenio.

"Dyna'r prawf olaf a gefais o ofal Mr. Harris am danaf," eb efe, yn ddiystyrllyd. "Tua phythefnos yn ol y tarawodd yn ei ben ei roddi i mi, o herwydd ei fod yn credu, meddai, y ceisiwn ddianc un o'r dyddiau yma. Mae'n nôd pur hardd, onid ydyw?" ebe efe, gan dynu ei faneg am ei law drachefn.

"Yn wir, mae fy ngwaed yn rhedeg yn oer wrth feddwl am danat—dy gyflwr a dy beryglon," ebe Mr. Wilson.

"Mae fy ngwaed *i* wedi rhedeg yn oer dros lawer blwyddyn, Mr. Wilson; mae bron i fyny i'r *point* berwi heddyw," ebe George.

"Wel, fy anwyl Syr," ebe George ar ol ychydig fynydau o ddystawrwydd rhyngddynt; "mi welais eich bod chwi yn fy amheu, a bernais mai doethach i mi siarad â chwi, rhag i'r olwg sŷn arnoch fy mradychu. Yr wyf yn meddwl cychwyn yn fore fory, cyn dydd; a nos y fory yr wyf yn dysgwyl cael cysgu yn ddyogel yn Ohio. Mi drafaeliaf yn y dydd, gan aros yn y prif westdai, ac eistedd wrth y bwrdd gydag arglwyddi'r tir. Felly, ffarwel i chi, Syr; os clywch fy mod wedi fy nal, gallwch benderfynu fy mod yn ddyn marw."

Safodd George yn dalgryf fel y graig, ac estynodd allan ei law fel tywysog. Ysgydwodd yr hen ŵr hi hyd at y penelin, ac ar ol arllwys llon'd sach o gynghorion i fod yn ofalus, efe a ymaflodd yn ei umbrela, ac a gropiodd ei ffordd allan o'r ystafell.

Safodd George gan edrych yn sŷn-fyfyriol ar y drws, fel yr oedd yr hen ŵr yn ei gau. Tarawodd rhywbeth yn sydyn ar ei feddwl, ac efe frysiodd at y drws, ac a alwodd—

"Mr. Wilson, un gair yn rhagor." Trodd yr hen ŵr yn ol, a chlodd George y drws fel o'r blaen; safodd am fynydyn, â'i lygaid tua'r llawr mewn math o amheuaeth. O'r diwedd efe a edrychodd i fyny ar unwaith—

"Mr. Wilson, chwi a brofasoch eich hunan yn Gristion yn eich ymddygiad tuag ataf fi—ac y mae arnaf chwant gofyn i chwi un gymwynas Gristionogol eto am y tro olaf."

"Wel, George?"

"Wel, Syr, mae'r peth ddywedasoch chwi yn

ddigon gwir; yr *ydwyf* yn rhedeg i berygl dychrynllyd. Nid oes un enaid byw ar wyneb y ddaear a deimlai pe b'awn yn marw," eb efe, gan dynu uchenaid drom, a siarad trwy boen. "Fe'm teflir i allan, ac fe'm cleddir fel claddu ci, ac ni bydd neb yn cofio am danaf dranoeth —*neb ond fy ngwraig!* Druan oedd hi! fydd hi yn galaru â chalon drom; a phe gallech fodd yn y byd, Mr. Wilson, yru'r pin brest yma iddi hi. Fy ngeneth anwyl, ei rhodd hi i mi yn y Gwyliau ydoedd! Gyrwch ef iddi, a dywedwch fod yn dda genyf am dani hyd y fynyd olaf. A wnewch chwi? A *wnewch* chwi?" eb efe, gyda math o daerineb.

"Gwnaf, siwr, machgen anwyl i," ebe'r hen ŵr, mewn llais crynedig, gan gymeryd y pin, â'r dagrau yn llenwi ei lygaid.

"Dywedwch un peth wrthi," ebe George, "dyma fy nymuniad olaf; os *gall* fyned i Canada, am fyned yno. Ni waeth pa mor garedig ydyw ei meistres—ni waeth pa mor hoff ydyw o'i chartref; deisyfwch arni beidio myned yn ol yno—o herwydd y mae caethiwed bob amser yn dybenu mewn poen a gofid. Dywedwch wrthi am ddwyn ein bachgen i fyny yn ddyn rhydd, yna ni raid iddo ddyoddef fel y darfum i. Dywedwch hyn wrthi, a wnewch chwi, Mr. Wilson?"

"Gwnaf, George, mi ddywedaf wrthi; ond gobeithio na byddi farw; cymer galon, yr wyt ti yn fachgen gwrol. Ymddiried yn Nuw, George. Yr wyf fi yn dymuno o nghalon i ti fedri llwyddo—ydwyf yn wir!"

"A *oes* Duw i ymddiried ynddo?" ebe George, yn y fath gyfyngder enaid ag a ddychrynodd yr hen ŵr. "Och, mi welais y fath bethau yn fy nydd, ag a wnaethant i mi deimlo nad oes Duw yn bod. Eto nis gŵyr Cristionogion sut y mae pethau fel yma yn edrych i ni. Mae Duw i chwi, ond a oes un i ni?"

"O, paid 'rwan—paid, machgen i," ebe'r hen ŵr, â'r dagrau ar ei ruddiau, "paid a theimlo fel yna. Oes, y mae—oes, y mae; 'cymylau a thywyllwch sydd o'i amgylch ef, ond cyfiawnder a barn yw trigfa ei orseddfainc.' Y *mae Duw* yn bod, George—creda di; rho dy faich arno,—fydd yn sicr o dy helpu. Fe uniawnir pob cam—os nid yn y byd yma, mewn byd arall."

Yr oedd teimladau Cristionogol a dyngarol yr hen ŵr yn ei wisgo â math o fawredd ac awdurdod tra'r oedd yn llefaru. A safodd George yn nghanol ei gerddediad terfysglyd yn ol ac yn mlaen, gan syn-fyfyrio am fynyd, yna dywedodd yn arafaidd,

"Diolch i chwi am hynyna, fy anwyl gyfaill; *mi feddyliaf am hynyna.*"

---

## PENNOD XII.

### UN O DDIGWYDDIADAU MASNACH GYFREITHLON.

"Llef a glybuwyd yn Rama, galar, ac wylofain, ac ochain mawr; Rahel yn wylo am ei phlant, ac ni fynai ei chysuro am nad oeddynt."

Yr oedd Haley a Thwm yn honcian ymlaen yn y wagen, a phob un, am enyd, yn synfyfyrio wrtho ei hun. Yn awr, peth rhyfedd yw adfyfyrdodau dau ddyn yn eistedd ochr yn ochr —yn eistedd ar yr un fainc, a chanddynt yr un fath lygaid, a chlustiau, a dwylaw, a galluoedd o bob math, a'r un gwrthrychau o flaen eu llygaid; rhyfedd y fath amrywiaeth a geir yn yr adfyfyrdodau hyn!

Fel esiampl, cymerwn Haley: yr oedd yn meddwl yn gyntaf am hyd a lled Twm, ac am ba faint y gwerthai, pe cedwid ef yn dew ac yn raenus hyd nes iddo ei gymeryd i'r farchnad. Yr oedd yn meddwl pa fodd y gwnelai i fyny ei fintai (*gang*); yr oedd yn meddwl am bris marchnadol gwragedd, a phlant, a dynion eraill a ddichon fod yn y rhifedi, a materion eraill yn perthyn i'r busnes; ac yna meddyliodd am dano ei hun, ac mor deimladwy ydoedd, pan oedd pobl eraill yn cadwyno eu niggars law a throed, nid oedd ef yn llyffetheirio ond y traed yn unig ac yn gadael i Dwm ei ddwylaw yn rhyddion, cyhyd ag yr ymddygai yn iawn; ac ochueidiodd wrth feddwl mor anniolchgar oedd dynion; ac yr oedd lle i amheu nad oedd hyd yn oed Twm yn gwerthfawrogi ei drugareddau. Yr oedd wedi cael ei gymeryd i mewn mor aml gan niggars y buasai yn dda wrthynt; ac eto yr oedd yn synu wrtho ei hun ei fod yn parhau mor hynaws er y cwbl!

Ond am Twm, yr oedd ef yn meddwl am eiriau rhyw hen lyfr go gyffredin, y rhai oeddynt yn dal i redeg yn ei ben, drachefn a thrachefn, fel y canlyn: "Canys nid oes i ni yma ddinas barhaus, eithr un i ddyfod yr y'm ni yn ei dysgwyl; o achos paham nid cywilydd gan Dduw ei alw yn Dduw iddynt hwy, oblegid efe a barotôdd ddinas iddynt." Y mae'r geiriau hyn allan o hen lyfr, a wnaed i fyny'n benaf gan "ddynion anllythyrenog ac annysgedig," wedi dal rhyw fath o ddylanwad ar feddyliau dynion tlodion, diniwed, fel Twm, trwy bob oes. Y maent yn cynhyrfu yr enaid o'i waelod, ac megys â sain udgorn yn cyffroi gwroldeb, ymegnïad, a gwresogrwydd, lle o'r blaen nid oedd dim ond nos o anobaith.

Tynodd Haley allan o'i boced amrywiol bapyrau newyddion, a dechreuodd edrych dros yr hysbysiadau, gyda dyddordeb mawr. Nid oedd yn ddarllenwr hynod o rwydd, a byddai yn arfer darllen mewn rhyw fath o gynghanedd, yn lled uchel, mewn ffordd o alw ei glustiau i brofi gwirionedd yr hyn a gesglid gan ei lygaid. Yn y dôn hon darllenodd yn araf yr hysbysiad a ganlyn:

ARWERTHIAD GAN YSGUTORION.—NEGROAID!—Gwerthir, yn ol gorchymyn y Llys, ar ddydd Mawrth, Chwefror yr 20fed, o flaen drws y Llysdy, yn nhref Washington, Kentucky, y Negroaid

canlynol:—Hagar, 60 oed; John, 30 oed; Ben, 21 oed; Saul, 25 oed; Albert, 14 oed; er mael gofynwyr ac aerod Jesse Blutchford, Yswain.

"SAMUEL MORRIS, } *Ysgutorion.*"
"THOMAS FFLINT, }

"Rhaid i mi edrych beth ydi hwn," eb efe wrth Twm, o eisiau rhywun arall i siarad âg ef. "Wel'di, yr ydw i am wneud i fyny gang ragorol i fyn'd i lawr gyda thi, Twm; mi fydd hyny yn gyfeillgar ac yn ddiddan—cwmpeini da felly, mi wyddost. Yn gynta' ac yn flaena' rhaid i ni yru yn syth i Washington, ac mi rhof fi di yn y carchar tra byddw' i'n myn'd o gwmpas 'musnes."

Derbyniodd Twm yr hyspysiad cysurus hwn yn hollol addfwyn; yn unig yn rhyfeddu ynddo ei hun pa sawl un o'r rhai hyn oedd a chanddynt wragedd a phlant, ac a oeddynt yn teimlo wrth eu gadael fel yr oedd ef yn teimlo. Y mae'n rhaid addef hefyd nad oedd yr hyspysiad esgeulus a blaenllaw ei fod i gael ei daflu i garchar, yn peri argraff hyfryd iawn ar greadur tlawd a ymfalchïai yn ei onestrwydd a'i fywyd diargyhoedd. Ie, y mae'n rhaid i ni gyffesu, yr oedd Twm braidd yn falch o'i onestrwydd, y peth gwirion—am nad oedd ganddo fawr ddim arall i fod yn falch o hono; pe buasai yn perthyn i'r radd uchaf o'r bobl, ni ddygasid ef i'r fath gyfyngder, oni buasai ganddo rywbeth amgenach i ymffrostio ynddo. Modd bynag, aeth y diwrnod heibio, ac yn yr hwyr gwelid Haley a Thwm wedi eu lletya yn gysurus yn Washington—y naill mewn tafarn, a'r llall yn y carchardy!

Oddeutu un-ar-ddeg dranoeth yr oedd tyrfa gymysgedig wedi ymgynull o gwmpas grisiau y Llysdy—yn smocio, yn cnoi, yn poeri, yn tyngu, ac yn siarad, bob un yn ei dro ac yn ol ei dueddiad, i ddysgwyl am yr ocsiwn ddechreu. Yr oedd y dynion a'r merched ag oeddynt ar werth yn eistedd yn nghyd o'r neilldu, yn siarad â'u gilydd mewn tôn isel. Affrican drwyadl mewn gwynebpryd a llun oedd y ddynes a elwid Hagar yn yr hyspysiad. Efallai ei bod yn dr'ugain oed; ond yr oedd caledwaith ac afiechyd yn peri iddi edrych yn hŷn; yr oedd yn haner dall, ac yn lled gloff gan y cryd-cymalau. Wrth ei hochr safai ei hunig fab, Albert, bachgen bach pert, oddeutu pedair-arddeg oed. Efe oedd yr unig un a adawsid iddi allan o deulu lluosog, y rhai a werthwyd y naill ar ol y llall, a gyrwyd hwynt i'r farchnad yn y dehau. Yr oedd y fam yn dal ei gafael ynddo â'i dwy law grynedig, ac yn syllu gyda dychryndod ar bob un a ddeuai ymlaen i edrych arno.

"Peidiwch ag ofni, Modryb Hagar," ebe'r hynaf o'r dynion, "mi siaradais â Mas'r Thomas am y peth, ac yr oedd yn meddwl y gallai eich gwerthu gyda'ch gilydd, yn un lot."

"Nid rhaid iddyn' nhw ddeyd 'mod i wedi gwisgo allan yn lân eto, ebe hi, gan godi ei dwylaw crynedig. "Mi fedra i gwcio, a scrwbio, a scwrio—yr ydw i'n werth 'y mhrynu, er i mi fyn'd yn rhad! deudwch chi hyny wrthyn' nhw—*deudwch* chi hyny!" ychwanegodd yn ddwys.

Ar hyn daeth Haley yn mlaen gan ymwthio i'r dyrfa, a cherddodd i fyny at y dyn hynaf, agorodd ei geg, ac edrychodd i mewn iddi, teimlodd ei ddannedd, gwnaeth iddo sefyll ac ymsythu, camu ei gefn, a gwneud amryw ystumiau i ddangos nerth ei ewynau; ac yna aeth yn mlaen at y nesaf, a gwnaeth i hwnw fyned trwy yr un treial. Yn olaf aeth i fyny at y bachgen, teimlodd ei freichiau, sythodd ei ddwylaw, edrychodd ar ei fysedd, a gwnaeth iddo neidio, i ddangos ei ystwythder.

"Ni chaiff o moi'i werthu hebdda i!" ebe'r hen wraig, yn awyddus a chynhyrfiol; "rhaid iddo fo a fina fyn'd yn un lot gyda'n gilydd; yr ydw i yn eitha cry eto, mas'r, fedra i neud hylldod o waith—medra, hylldod."

"Ar y blanfa?" ebe Haley, yn wawdus. "Stori go debyg!" ac yna, gan edrych megys wedi cael ei foddloni, cerddodd allan, a safodd a'i ddwylaw yn ei bocedi, ei segâr yn ei geg, a'i het ar ochr ei ben, yn barod i wneud cynygiad.

"Beda chi'n feddwl am danyn' nhw?" ebe un dyn, yr hwn oedd wedi dylyn Haley yn ei chwiliad, megys fel am wneud ei feddwl i fyny oddiar ei farn ef.

"Wel," ebe Haley, gan boeri ar lawr, "mi gynygia i am y rhai ifanc a'r bachgen."

"Y mae arnynt eisio gwerthu y bachgen a'r hen wraig gyda'u gilydd," ebe'r dyn.

"Mi ga'n hyny yn waith go galed; gwarchod ni, nid ydi hi ddim ond sached o hen esgyrn—dim yn werth ei halen."

"Ac ni 'newch chi mo hyny?" ebe'r dyn.

"Ni wna neb ond ffwl y fath beth. Mae hi 'n haner ddall, ac wedi ei chamu gan y rhewmatis, ac yn hurt yn y fargen."

"Y mae rhai'n prynu hen greaduriaid fel hyn, ac yn cael mwy o waith o honynt nac a feddyliai neb," ebe'r dyn, yn syn-fyfyriol.

"Ni thal hi ddim," ebe Haley; "yn wir, ni chym'rwn i moni hi yn rhodd; yr ydw' i yn *gwel'd.*"

"Wel, mae'n resyn garw peidio'i phrynu hi gyda'i mab; y mae ei chalon hi wedi ei gosod ar y bachgen. Beth pe bydda iddyn' nhw ei thaflu hi i mewn yn rhad?"

"Byddai hyny'n burion i'r rhai sy' genyn nhw arian i'w taflu i ffwrdd fel yna. Mi gynygia i am y bachgen yna, i weithio ar y blanfa; ni chym'rwn i moni hi am un pris—na wnawn, pe cawn hi am ddim," ebe Haley.

"Mi fydd yr hen wreigen yn drallodus iawn," ebe'r dyn.

"Mae'n naturiol iddi fod felly," ebe'r masnachydd, yn ddifater.

Torwyd ar yr ymddyddan gan ryw sibrwd prysur yn mysg y dyrfa, a daeth yr arwerthwr —pwtyn ffwdanus, gorchestol ydoedd—gan ymwthio i'r dorf. Tynodd yr hen wreigen ei hanadl ati, a gafaelodd yn dŷn yn ei mab.

"Cadw'n agos at dy fammi, Albert—yn agos iawn—mi ro'n nhw ni i fyny gyda'n gilydd,,' ebe hi.

"O mami, mae arna' i ofn na wnant," ebe'r bachgen.

"Y mae'n rhaid iddyn nhw, fy mhlentyn: ni fedra' i ddim byw yn y byd, os na wnant," ebe yr hen greadures, yn danbaid.

Crochlefodd yr arwerthwr am osteg, a chyhoeddodd fod yr ocsiwn ar ddechreu. Cliriwyd lle iddo, a dechreuwyd cynyg.

Tarawyd i lawr y gwahanol ddynion ar y rhestr am brisiau a ddangosent fod cryn ofyniad yn y farchnad; a syrthiodd dau o honynt i ddwylaw Haley.

"Tyr'd 'rwan, hogyn," ebe'r arwerthwr, gan ei gyffwrdd â'i forthwyl; "neidia i fyny, a dangos dy fod yn sionc."

"Rhowch ni fyny gyda'n gilydd—gyda'n gilydd—os gwelwch yn dda, mas'r," ebe'r hen wraig, gan ddal ei gafael yn gyndyn yn y bachgen.

"Cerdd i ffordd," ebe'r dyn, yn sarug, gan wthio ymaith ei dwylaw; "yn olaf yr wyt ti i ddyfod. 'Rwan, y croenddu, neidia i fyny;" a chyda'r gair gwthiodd y bachgen ymlaen at y blocyn; ac yr oedd uchenaid drom, ddofn, i'w chlywed y tu ol iddo. Safodd y bachgen, ac edrychodd yn ol; ond nid oedd dim amser i aros, a chan daflu y dagrau oddiwrth ei lygaid mawr gloywon, yr oedd ar ei draed mewn moment.

Ei lun hardd, ei aelodau heinif, a'i wyneb dysglaer, a barasant gydymryson yn ebrwydd, ac yr oedd haner dwsin o gynygion yn taro ar glust yr arwerthydd ar unwaith. Edrychai y bachgen o'r naill ochr i'r llall, yn bryderus a haner dychrynedig, wrth glywed swn y cynygion ymrysongar—weithiau yma ac weithiau acw—nes i'r morthwyl syrthio, Haley a'i cafodd. Gwthiwyd ef ymaith oddiwrth y blocyn tuag at ei feistr newydd, ond safodd am fynydyn, ac edrychodd yn ol ar ei hen fam dlawd, yr hon oedd yn crynu bob aelod, ac yn estyn ei dwylaw tuag ato.

"Prynwch finau hefyd, mas'r; er mwyn fy Arglwydd anwyl,—prynwch finau—mi fydda i farw, os na 'newch!"

Ni pharhaodd y cynyg dros yr hen greadures ond byr. Prynwyd hi am ychydig gan y dyn a siaradasai â Haley, a'r hwn yr oedd ganddo beth tosturi; yna dechreuodd yr edrychwyr ymwasgaru.

A'r trueiniaid a werthwyd, y rhai a fuasent gyda'u gilydd yn yr un man am flynyddoedd, a ymgasglasant o amgylch yr hen fam ofidus, cyfyngder yr hon oedd yn dra gresynus ei weled.

"Oni all'sent adel i mi un? Yr oedd mas'r yn deud bob amser y cawn i un," ebe hi, drosodd a throsodd drachefn, mewn llais tor-calonus.

"Ymddiriedwch yn yr Arglwydd, Modryb Hagar," ebe'r hynaf o'r dynion yn alarus.

"Pa les a wna hyny?" ebe hi, gan ochneidio yn orwyllt.

"Mam! mam! Peidiwch, peidiwch!" ebe'r bachgen. "Y maen' nhw'n deud fod genych feistr da."

"Nid ydw' i ddim yn hidio—nid ydw' i ddim yn hidio. O, Albert! O, machgen! Ti ydi maban olaf i. Arglwydd, sut y medraf i?"

"Dowch, cym'rwch hi ffwrdd, 'newch chi?" ebe Haley, yn sychlyd. "'Dydi ddim d'ioni iddi fynd ymlaen fel yna."



Rhwng perswadio a thynu, llwyddodd yr hen bobl o'r cwmpeini i gael ganddi ollwng ei gafael olaf o hono, ac aethant a hi at wagen ei meistr newydd, gan wneud eu goreu i'w chysuro.

"Yrwan!" ebe Haley, gan wthio ei dri chaethwas ynghyd, a thynu allan sypyn o efynau, rhoddodd hwynt am eu harddyrnau, gan sicrhau pob gefyn wrth gadwyn, a gyrodd hwynt o'i flaen i'r carchar.

Yn mhen ychydig o ddyddiau gwelid Haley, a'i eiddo, yn ddyogel ar un o agerdd-longau Ohio. Dechreuad y gyr oeddynt, a chwanegid atynt fel yr elai y llestr ymlaen, gan amrywiol farsiandiaeth o'r un fath, y rhai a gedwid ganddo ef neu rai o'i oruchwylwyr mewn gwahanol fanau ar y lan.

Yr oedd y *La Belle Reviere*, llestr mor odidog a hardd ag a dramwyodd erioed ar ddyfroedd yr afon o'r un enw, yn nofio yn hoyw i lawr y ffrwd, o dan awyr ddysglaer, a'r brith-

resi a'r ser ar faner America rydd yn chwifio uwch ben; yr oedd tyrfa o foneddigesau a boneddigion gwych eu gwisgoedd ar y bwrdd, yn rhodiana ac yn mwynhau y diwrnod hyfryd. Yr oedd pawb yn llawn o fywyd, yn ysgafn, ac yn llawen; pawb ond mintai Haley, y rhai, yn nghyd â nwyfau eraill, oeddynt wedi eu stwffio i'r dec isaf, ac nid oeddynt, rywfodd, yn gwerthfawrogi eu hamrywiol freintiau, ond yn eistedd yn swp, ac yn ymddyddan a'u gilydd mewn tôn isel.

"Fechgyn," ebe Haley, gan ddyfod i mewn yn fywiog, "yr ydw' i'n gobeithio eich bod yn cadw eich calon yn llawen ac yn siriol. Yrwan, dim ymoni a sori welwch chi; daliwch y'ch pena i fyny; gnewch yn iawn â mi, ac mi 'na ina'n iawn â chwitha."

Ac atebodd y bechgyn a anerchwyd yn y dull digyfnewid o "Ydan, mas'r,"—arwyddair Affrica dlawd er's oesoedd; ond y mae'n rhaid addef nad oeddynt yn edrych yn siriol iawn. Yr oedd ganddynt eu hamrywiol ragfarnau bychain, am eu gwragedd, eu mamau, eu chwiorydd, a'u plant, a welsent am y tro olaf; ac er i'r "rhai a'i hanrheithiasent ofyn ganddynt lawenydd," nid oedd yn dyfod mewn mynyd.

"Y mae gen i wraig," ebe'r peth a elwid "John, deg-ar-hugain oed," a gosododd ei law gadwynog ar lin Twm, "ac ni ŵyr hi 'run gair am hyn, yr eneth wirion!"

"Ymhle mae hi'n byw?" ebe Twm.

"Mewn tafarn, ychydig i lawr yna," ebe John; "yrwan mi fydda'n dda gen i ei gwel'd unwaith yn rhagor yn y byd yma," eb efe.

John druan! *yr oedd* braidd yn naturiol; a'r dagrau a syrthient fel yr oedd yn siarad, a ddaethant mor naturiol a phe buasai yn ddyn gwyn. Tynodd Twm anadliad hir allan o galon drom, ac ymdrechodd ei gysuro, yn ei ffordd drwsgl ei hun.

Ac uwchben, yn y caban, yr oedd tadau a mamau yn eistedd, gwyr a gwragedd; a phlant llawen yn dawnsio ac yn gweu yn eu plith fel gloywon byw, a phobpeth yn myned yn mlaen yn esmwyth ac yn gysurus.

"O mama," ebe bachgen bach, yr hwn oedd newydd ddyfod i fyny o'r gwaelod, "y mae prynwr dynion ar y bwrdd, ac y mae wedi dyfod â phedwar neu bump o gaethion i lawr yma."

"Y creaduriaid gwirion!" ebe'r fam, mewn rhyw lais rhwng galar a digllonedd.

"Beth ydyw hynyna?" ebe gwraig arall.

"Rhyw gaethion tlodion o danom yn y gwaelod," ebe'r fam.

"Ac y maent mewn cadwynau," ebe'r bachgenyn.

"Y mae'n gywilydd i'n gwlad fod y fath bethau i'w gweled!" ebe'r wraig arall.

"Oh, y mae llawer i'w ddweyd o bob tu i'r cwestiwn," ebe gwraig foneddigaidd, yr hon oedd yn eistedd wrth ddrws ei hystafell wely, yn gwnïo, a geneth fechan a bachgen yn chwareu yn eu hymyl. "Yr ydwyf fi wedi bod yn y dehau, ac y mae'n rhaid i mi ddweyd fy mod i'n meddwl eu bod yn well allan na phe byddent yn rhyddion."

"Mewn rhai ystyriaethau y mae yn dda arnynt, mi addefaf," ebe'r llall. "Y peth mwyaf dychrynllyd yn perthyn i gaethiwed, yn fy marn i, ydyw yr esgelerder tuag at eu teimladau a'u serchiadau—megys eu gwahanu oddiwrth eu teuluoedd, fel engraifft."

"Y *mae* hyny yn gas, yn sicr," ebe'r wraig arall, gan ddal i fyny wisg i'w babi, newydd ei gorphen, ac yn edrych yn siriol ar yr addurniadau; "ond nid ydwyf fi'n meddwl fod hyny yn dygwydd yn aml."

"Oh, ond y mae," ebe'r gyntaf yn wresog. "Mi fu'm i'n byw yn Kentucky ac yn Virginia am lawer o flynyddoedd, ac mi welais i ddigon i beri i galon undyn lesmeirio. Beth pe byddai i'ch dau blentyn chwi gael eu cymeryd oddiwrthych, a'u gwerthu?"

"Ni fedrwn ni ddim rhesymu yn nghylch pobl fel hyn oddiwrth ein teimladau ein hunain," ebe'r llall, gan drefnu rhyw wyrstyd oedd ganddi ar ei glin.

"Yn wir, ma'am, ni wyddoch chwi ddim am danynt os ydych yn medru dweyd felly," atebai y wraig arall, yn wresog. "Yr ydwyf fi wedi fy ngeni a'm magu yn eu plith. Yr ydwyf fi'n gwybod eu *bod* yn teimlo, yn llawn mor llym—ac fe allai yn llymach—nag yr ydym ni."

"Felly'n wir!" ebe'r llall, gan ddylyfu ei gen, ac edrych allan trwy ffenestr y caban, ac fel diweddglo, ail-adroddodd y sylwad gyda'r hwn y dechreuasai—"Ar ol y cwbl, yr wyf fi'n meddwl eu bod yn well allan na phe byddent yn rhyddion."

"Mae'n ddiamheuol mai dyben Rhagluniaeth yw fod i'r Affricaniaid barhau yn weision—a'u cadw mewn cyflwr isel," ebe gwr bonheddig o ymddangosiad difrifol, mewn dillad duon, gweinidog, yn eistedd wrth ddrws y caban. "'Melldigedig fyddo Canaan; gwas gweision ei frodyr fydd,' medd yr Ysgrythyr."

"A glywch chi, wr diarth, ai hynyna yw meddwl y gair?" ebe dyn tal oedd yn sefyll ger llaw.

"Ie, yn ddiamheuol. Y mae wedi rhyngu bodd i Ragluniaeth, oblegid rhyw reswm anchwiliadwy, ddyfarnu yr hiliogaeth i gaethiwed, oesoedd yn ol; ac ni ddylem ni osod i fyny ein mympwy yn erbyn hyny."

"Wel, ynte, mi awn ni 'mlaen i gyd i brynu niggars," ebe'r dyn, "os hynyna yw ffordd Rhagluniaeth—oni nawn ni, sgweir?" eb efe, gan droi at Haley, yr hwn oedd yn sefyll wrth

y tân, a'i ddwylaw yn ei bocedi, ac yn gwrando yn astud ar yr ymddyddan.

"Ie," aeth y dyn tal ymlaen gan ddywedyd, "rhaid i ni gyd foddloni ar drefn Rhagluniaeth. Y mae'n rhaid gwerthu niggars, a'u cludo o gwmpas, a'u cadw danodd; i hyny y gwnaed nhw. Y mae eich golygiad chwi ar y mater yn ein lloni, ond ydi o, wr diarth?" eb efe wrth Haley, drachefn.

"Ddaru mi 'rioed feddwl am y peth," ebe Haley. "Ni f'aswn i ddim yn medru deyd cymint, fy hun; ni chefis i ddim dysgeidiaeth. Mi ddaru mi gym'ryd i fyny y trâd dest i gael byfoliaeth; os nad ydi'n iawn, yr ydw' i'n dysgwyl cael amser i 'difarhau, wyddoch chi."

"Ac yn awr chi spariwch i chi'ch hun y drafferth, oni 'newch?" ebe'r dyn tal. "On'd ydech chi'n gwel'd, rwan, beth ydi gwybod yr Ysgrythyrau? Pe b'asech chi ond stydio'r Beibil, fel y gwr da yma, gall'sech ei wybod o'r blaen, ac achub llawer o drwbwl. Gall'sech ddeud, 'Melldigedig fyddo'—beth ydi 'i enw fo?—a b'asai pobpeth yn dyfod yn iawn." A'r gwr dyeithr, yr hwn nid oedd amgen na'r porthmon gonest a ddygasom ger bron ein darllenwyr yn y dafarn yn Kentucky, a eisteddodd i lawr, a dechreuodd smocio, â rhyw wên ddigrif ar ei wyneb hir, sychlyd.

Yma daeth dyn ieuanc, eiddil, ymlaen, â chanddo wyneb yn dangos teimlad cryf a llawer o wybodaeth, ac adroddodd y geiriau, "'Pa bethau bynag oll a ewyllysioch eu gwneuthur o ddynion i chwi, felly gwnewch chwithau iddynt hwy.' Ysgrythyr ydyw hynyna hefyd, mae'n debyg," eb efe, "yn gystal a 'Melldigedig fyddo Canaan.'"

"Wel, wr diarth," ebe John y porthmon, "y mae'n ymddangos i gyrduriaid dylion fel ni yn destyn llawn mor blaen a'r llall;" a smociodd John fel mynydd tanllyd.

Arosodd y gwr ieuanc, ac edrychodd fel pe buasai am ddywedyd ychwaneg, ond yn ddisymwth safodd y llestr, a rhuthrodd y bobl, fel arferol mewn agerdd-long, i edrych ymhle'r oeddynt yn glanio.

"Personiaid ydi'r ddau walch yna, onite?" ebe John wrth un o'r dynion, fel yr oeddynt yn myned allan.

Atebodd y dyn, trwy amnaid mai ïe.

Pan safodd y llong, daeth dynes ddu gan redeg yn wyllt i fyny'r planc, rhuthrodd i ganol y dyrfa, a phiciodd i'r lle yr oedd y caethion yn eistedd, a chlymodd ei breichiau o amgylch y darn o farsiandïaeth a grybwyllwyd o'r blaen, sef "John, deg-ar-hugain oed," a chydag ocheneidiau a dagrau, galarodd yn ddwys dros ei gwr.

Ond pa raid dywedyd y chwedl, a ddywedir mor fynych—a ddywedir bob dydd—am galonau yn cael eu rhwygo, er elw a chyfleusdra i'r cadarn! Nid oes eisiau ei dywedyd; y mae pob diwrnod yn ei dywedyd—ac yn dywedyd hefyd yn nghlustiau Un nad yw yn fyddar, er ei fod yn hir yn ddystaw.

Yr oedd y dyn ieuanc a siaradasai o'r blaen o blaid dynoliaeth ac o blaid Duw, yn sefyll a'i freichiau ymhleth, yn syllu ar yr olygfa. Troes ei wyneb, a gwelai Haley yn sefyll wrth ei ochr. "Fy nghyfaill," ebe efe, gan lefaru'n grynedig, "pa fodd y medrwch, pa fodd y meiddiwch, ddwyn ymlaen y fath fasnach a hon? Edrychwch ar y creaduriaid truain yna! Dyma fi, yn llawenychu yn fy nghalon fy mod yn myned adref at fy ngwraig a'm plentyn; a'r un gloch ag sy'n fy ngalw i i fyned ymlaen atynt hwy, sydd yn arwydd i'r dyn tlawd hwn a'i wraig i ymadael â'u gilydd am byth. Gellwch benderfynu y dwg Duw chwi i'r farn am hyn oll."

Aeth y masnachydd ymaith yn fud.

"'Rwan, welwch chi," ebe'r porthmon, gan gyffwrdd â'i benelin, "y mae rhagoriaeth yn y personiaid yma, on'd oes? Nid yw 'melldigedig fyddo Canaan' yn myn'd i lawr yn rhwydd gyda hwn, a ydi o?"

Rhoddodd Haley ryw chwyrniad anesmwyth.

"Ac nid dyna'r gwaetha' o hono," ebe John; "f'allai nad eiff i lawr gyda'r Arglwydd 'chwaith, pan ddowch i setlo cyfrifon gydag Ef, ryw ddiwrnod, fel y bydd raid i ni i gyd, mae'n debyg."

Cerddodd Haley, ymaith yn sŷn-fyfyriol i'r pen arall i'r llestr.

"Os gwna' i arian go glws gyda'r gŷr neu ddau nesa', yr ydw' i'n meddwl y stopia i ar hyny; y mae'n wir yn myned yn enbyd." A chymerodd allan ei lyfr, a dechreuodd wneud i fyny ei gyfrifon—gorchwyl a gafwyd allan gan amryw foneddigion heblaw Haley, yn hynod o effeithiol i lonyddu cydwybod euog."

Ysgubodd yr agerlong yn odidog oddiwrth y làn, ac aeth pob peth yn mlaen yn siriol fel cynt. Tarawodd y dynion ati i siarad, lolian, darllen, a smocio. Gwnïodd y merched, chwareuodd y plant, ac aeth y llestr yn mlaen ar ei mordaith.

Un diwrnod, pan oedd yn gorwedd am enyd ar gyfer tref fechan yn Kentucky, aeth Haley i fyny i'r lle ar ryw neges.

Gan fod llyffetheiriau Twm yn goddef iddo fyned ychydig o amgylch, efe a nesaodd at ochr y llong a rhoddodd ei bwys ar y ganllaw, gan edrych drosodd yn lled ddifeddwl. Yn mhen ychydig gwelai ei feistr yn dychwelyd, yn ngwmpeini dynes ddû, â phlentyn bach yn ei breichiau. Yr oedd wedi ymwisgo yn dra pharchus, a dyn dû yn dyfod ar ei hol, ac yn cario trwnc bychan. Daeth y ddynes yn mlaen yn llòn, gan siarad â'r dyn oedd yn cludo ei thrwnc; ac felly aeth i fyny'r planc i'r llestr. Canwyd y gloch, chwibanodd yr agerdd, grudd-

fanodd a phesychodd y peiriant, ac ymaith â hi i lawr yr afon.

Cerddodd y ddynes yn mlaen i blith y cistenau a'r paciau ar y dec isaf, ac eisteddodd i lawr, gan ddifyru ei hun trwy drydar wrth ei babi.

Rhoes Haley dro neu ddau o amgylch y llestr, ac yna gan ddyfod yn mlaen, eisteddodd yn ei hymyl, a dechreuodd ddywedyd rhyw beth wrthi yn lled ddystaw.

Gwelodd Twm yn fuan fod cwmwl tywyll yn sefydlu ar dalcen y wraig, a'i bod yn ateb yn gyflym ac yn danbaid.

"Nid ydw' i'n coelio; ac ni wna' i ddim coelio!" clywai hi yn dywedyd. "'Dydech chi ddim ond ceisio gwneud ffŵl o honof!"

"Os na choeli, edrych yma," ebe'r dyn, gan dynu papyr allan; "dyma ysgrif y gwerthiad, a dyna enw dy feistr wrtho; ac mi delais i lawr arian sychion am dano, hefyd—a wel'di 'rwan?"

"Ni choelia i ddim y twyllai mas'r fi fel yna; nid ydi o ddim yn wir!" ebe'r wraig, gan gynhyrfu yn waeth waeth.

"Mi elli ofyn i rai o'r dynion yma sy'n medru darllen. Hwdiwch," eb efe wrth ddyn oedd yn myned heibio; "dest darllenwch y papyr yma, 'newch chi? Nid ydi'r lodes yma ddim yn fy nghoelio i, a mina' yn deyd beth ydi o."

"Ysgrif gwerthiad ydyw, wedi ei seinio gan John Fosdick," ebe'r dyn, "yn troi Lucy a'i phlentyn drosodd i chwi. Y mae pob peth yn ddigon teg am a wela' i."

Parodd crochlefau gorwyllt y wraig i dyrfa o bobl gasglu o'i hamgylch, ac eglurodd y masnachwr iddynt yn fyr yr achos o'r cynhwrf.

"Yr oedd yn deyd wrtha' i fy mod yn myn'd i lawr i Louisville, i gyflogi yn gogyddes yn y dafarn lle mae ngŵr yn gweithio; dyna ddeudodd mas'r wrtha' i â'i dafod ei hun, ac ni choeliwn yn fy myw y gwnai ddweyd celwydd," ebe'r wraig.

"Ond y mae wedi eich gwerthu, wreigen druan, nid oes dim dadl am hyny," ebe dyn â golwg teimladwy arno, yr hwn a edrychasai ar y papyrau; "y mae wedi ei wneud, yn ddigon siwr i chwi."

"Wel, 'dydi ddim iws siarad," ebe'r wraig, gan droi yn hollol dawel mewn mynyd; a chan gofleidio ei phlentyn yn dŷnach yn ei breichiau, eisteddodd i lawr ar ei chisten, troes ei chefn, ac edrychodd yn sŷn tua'r afon.

"Myn'd i gym'ryd pethau yn bur esmwyth, wedi'r cwbwl," ebe'r masnachwr. "Y mae gan y lodes synwyr, mi wela'."

Fel yr oedd y llong yn myned yn mlaen, edrychai y ddynes yn hollol ddigyffro; chwythai awel hafaidd dyner heibio uwch ei phen, fel rhyw ysbryd tosturiol—yr awel dyner nad yw byth yn ymofyn pa un ai dû a'i gwŷn yw y talcen y mae yn ei sirioli. A gwelai yr haulwen yn dysgleirio ar y dwfr, yn grychiadau euraidd, a chlywai leisiau hoenus, yn gyflawn o esmwythyd a phleser, yn siarad o'i chwmpas yn mhob man; ond yr oedd ei chalon hi yn gorwedd fel pe buasai maen mawr wedi syrthio arni. Ymgyfododd ei babi ar ei glin, a dylofodd ei gruddiau â'i ddwylaw bychain; a chan neidio i fyny ac i lawr, ac ymorfoleddu, a pharablu, fel yn penderfynu codi ei hysbrydoedd. Gwasgodd ef at ei mynwes yn sydyn ac yn dŷn, a syrthiai yn arafaidd, y naill ddeigryn ar ol y llall, ar ei wyneb sŷnedig a diniwed; ac yn raddol, o dipyn i dipyn, daeth yn dawelach, a cheisiodd ddifyru ei hun wrth ei dendio a'i feithrin.

Bachgen deng-mis oed oedd y plentyn, anghyffredin o fawr a chryf o'i oed, ac yn dra bywiog yn ei aelodau. Nid oedd byth yn llonydd, ac yr oedd ei fam yn cael digon o waith i'w ddal, a gwarchod ei sioncrwydd aflonydd.

"Gwalch bach brâf yw hwna!" ebe rhyw ddyn, gan sefyll yn sydyn ar ei gyfer, â'i ddwylaw yn ei bocedi. "Beth ydi ei oed?"

"Deng mis a haner," ebe'r fam.

Chwibanodd y dyn arno, a rhoes iddo ddarn o siwgwr candi, yn yr hwn yr ymaflodd yn awyddus, ac yn ddioed rhoes ef yn nhrysorle cyffredinol babandod, sef yn ei enau.

"Gwalch digrif!" ebe'r dyn. "Y mae o'n gwybod beth y mae o o'i gwmpas!" a chwibanodd a cherddodd ymaith. Wedi myned i'r ochr arall i'r llong, daeth ar draws Haley, yr hwn oedd yn smocio ar bentŵr o gistiau.

Tynodd y dyn dyeithr fatsen allan o'i boced, a goleuodd ei segâr, ac wrth wneud hyny, dywedodd—

"Geneth go weddol yw hona sydd genych, ŵr diarth."

"Wel, yr ydw' i'n cynsidro *ei bod* yn un go lew," ebe Haley, gan chwythu'r mŵg allan o'i gêg.

"Myn'd â hi i lawr i'r dehau?" ebe'r dyn.

Amneidiodd Haley mai ïe, ac aeth yn mlaen gyda'i smocio.

"Llaw ar y blanfa?" ebe'r dyn.

"Wel," ebe Haley, "yr ydw' yn gwneud i fyny *gang* i fyn'd i blanfa, ac yr wyf yn meddwl ei rhoi hithau i mewn. Y mae nhw yn deyd i mi mai cogyddes dda ydi hi; ac mi allan' ei hiwsio hi i hyny, neu ei gosod i bigo cotwm. Y mae ganddi eitha' bysedd i hyny; mi 'drychais i arnyn' nhw. Mi werth yn dda, unrhyw ffordd;" ac ail-gymerodd i fyny ei segâr.

"Ni bydd arnyn' nhw ddim eisio'r plentyn ar blanfa," ebe'r dyn.

"Mi gwertha' i fo, y siawns gynta' a gaf fi," ebe Haley, gan danio ei segâr drachefn.

"Mae'n debyg y gwerthwch chi o yn o rad," ebe'r dyn dyeithr, gan ddringo ar y cistiau, ac eistedd i lawr yn gysurus.

"Nis gwn i p'run," ebe Haley; "cyw bach go smart ydi fo—syth, tew, cry' cnawd mor g'leted a chareg!"

"Gwir iawn; ond eto dyna'r drafferth a'r gôst i'w fagu o."

"Nonsens!" ebe Haley; "y maent mor hawdd eu magu ag unrhyw greadur arall; 'does damed mwy o drafferth gyda nhw na chyda cŵn bach. Mi fydd y gwalch yma yn rhedeg o gwmpas ymhob man ymhen y mis."

"Y mae gen i le da i fagu, ac yr oeddwn i'n meddwl cymeryd i mewn ychydig yn rhagor o stôc," ebe'r dyn. "Y mae un gogyddes wedi colli ei hun bychan yr wythnos ddiweddaf—boddodd yn y tŵb golchi, pan oedd ei fam allan yn taenu'r dillad; ac yr ydw' i'n meddwl y byddai gystal ei rhoi ar waith i fagu hwn."

Smociodd Haley a'r dyn dyeithr am enyd mewn dystawrwydd, y naill a'r llall yn anfoddlon i ofyn y prif gwestiwn. O'r diwedd aeth y dyn yn mlaen:—

"Ni feddyliech am ofyn dim mwy na deg dolar am y gwalch yna, yn enwedig gan fod yn *rhaid* i chwi ymadael âg ef rywsut."

Ysgydwodd Haley ei ben, a phoerodd yn ffyrnig.

"Ni wna hyny byth mo'r tro, fodd yn y byd," eb efe, a dechreuodd smocio drachefn.

"Wel, ŵr diarth, pa faint a gym'rwch?"

"Wel,' rwan," ebe Haley, "mi *fedrwn* i fagu'r cyw yna fy hun, neu gael ei fagu; y mae'n hynod o iach a bywiog, ac mi gawn gan' dolar am dano ymhen chwe' mis; ac ymhen blwyddyn neu ddwy mi ddoi â dau gant i mewn ond myn'd âg ê i'r llecyn iawn; felly ni chyma' i ddim dime llai na haner cant am dano 'rwan."

"O, ŵr diarth! y mae hyny dros ben pob rheswm," ebe'r dyn.

"Mae'n wir!" ebe Haley, gan amneidio yn benderfynol â'i ben.

"Mi ro' i ddeg-ar-hugain am dano," ebe'r llall, "a dim dime'n 'chwaneg."

"Yrwan, mi ddeuda' i chi beth a wnaf," meddai Haley, gan boeri gyda phenderfyniad adnewyddol; "mi rana'r ymrafel, a d'wedwn bump-a-deugain; a dyna yr eitha' a wnaf."

"Dyna gytundeb!" ebe'r dyn, yn mhen enyd.

"Dyna ben!" ebe Haley. "Ymh'le yr ydych yn lanio?"

"Yn Louisville," ebe'r dyn.

"Louisville!" ebe Haley. "Go lew; mi fyddwn yno tua min nos. Bydd y gwalch bach yn cysgu—pob peth yn iawn—ni a'i cawn i ffwrdd yn ddystaw, a dim gwichian—hap'nio i'r dim—dda gen i wneud pethau yn dawel—mae'n gas gen i bob math o ddwndwr a chynhwrf." Felly, wedi trosglwyddiad rhyw bapyrau o boced y dyn i'r masnachydd, cymerodd i fyny ei segâr.

Noswaith ddysglaer, dawel ydoedd pan safodd y bâd wrth lanfa Louisville. Yr oedd y ddynes wedi bod yn eistedd â'i babi yn ei breichiau, yn cysgu yn drwm. Pan glywodd y bobl yn gwaeddi allan enw y lle, gosododd y plentyn i lawr ar frys mewn math o gryd a wnaethai iddo yn mysg y cistiau, wedi iddi yn gyntaf daenu ei chlog yn ofalus o dano; ac yna llamodd tuag ochr y llestr, gan ddysgwyl cael gweled ei gŵr yn mysg y gweision tafarnau oedd yn ymdyru ar y lànfa. Gyda'r gobaith hwn ymwthiodd tua'r canllawiau blaenaf, a chan ymestyn drostynt yn mhell, edrychai yn egniol ar y penau oedd yn ymsymud ar y làn, a phwysodd y dyrfa rhyngddi hi a'r plentyn.

"Dyma'r amser," ebe Haley, gan gymeryd y plentyn yn ei gwsg, a'i roddi i'r dyn dyeithr. "Peidiwch ei ddeffro a gwneud iddo nadu 'rwan; bydd helynt cynddeiriog efo'r hogen." Cymerodd y dyn y bwndel yn ofalus, ac aeth o'r golwg yn fuan yn mysg y dorf oedd yn myned i fyny i'r dref.

Pan oedd y llestr wedi ei gollwng yn rhydd oddiwrth y làn, ac yn dechreu crecian, a thuchan, a phiffio, ac yn cychwyn yn mlaen yn araf, daeth y ddynes yn ol i'w hen eisteddle. Yr oedd y masnachydd yn eistedd yno—ond yr oedd y plentyn wedi myned!

"Beth ydi hyn!—ymh'le y mae—?"—dechreuodd, mewn syndod gwallgofus.

"Lucy," ebe'r masnachwr, "y mae dy blentyn di wedi myn'd; ni waeth i ti ei wybod yn fuan nac yn hwyr. Yr oeddwn i'n gwybod, wel'di, na fedrit ti ei gym'ryd i lawr i'r dehau; a chefis siawns i'w werthu i deulu da, y rhai a'i dygant i fyny yn well nag y medrit ti."

Yr oedd y masnachwr wedi dyfod i'r sefyllfa hono o berffeithrwydd Cristionogol a gwladwriaethol a gymeradwyid yn ddiweddar gan rai pregethwyr a gwladgarwyr yn y gogledd, yn yr hon yr oedd wedi gorchfygu yn hollol bob gwendid a rhagfarn ddynol. Yr oedd ei galon, Syr, yn union yn yr un man ag y gellid dwyn eich calon chwi a minau iddo trwy ymdrech briodol a meithriniad. Buasai yr olwg wyllt o ofid a pherffaith anobaith a daflodd y ddynes tuag ato, yn aflonyddu unrhyw ddyn annghynefin; ond yr oedd ef wedi cynefino â hyny. Gwel'sai yr un fath olwg gannoedd o weithiau. Gallech chwithau hefyd, fy nghyfaill, ddyfod yn gynefin â'r fath bethau; a dyben mawr yr ymdrechiadau diweddar ydyw dwyn y bobl yn y gogledd yn arferol â hwynt, er gogoniant yr Undeb. Felly, nid oedd y masnachydd yn edrych ar y gloesion angeuol a welai yn gweithio yn ei gwynebpryd tywyll, y dwylaw tỳngauad, a'r anadliad tagedig, ond pethau angenrheidiol yn perthyn i'r fasnach, ac yn gobeithio nad oedd hi yn myned i ysgrechian ac i godi cynhwrf ar fwrdd y llestr; ac fel eraill sy'n dal

i fyny ein sefydliadau neillduol, yr oedd yn casâu terfysg a chythrwfl o'i galon.

Ond nid ysgrechiodd y ddynes. Yr oedd y saeth wedi myned yn rhy union drwy ei chalon iddi fedru gwaeddi na chrïo.

Eisteddodd i lawr â'i phen fel yn nofio. Syrthiodd ei dwylaw yn farw wrth ei hochr. Yr oedd ei llygaid yn edrych yn syth rhag ei blaen, ond ni welai ddim. Holl sŵn a sibrwd y llestr, a gruddfanau'r peiriant, a gymysgent fel breuddwyd yn ei chlustiau dyryslyd; ac nid oedd gan y galon druenus, archolledig, na llef na dagrau i'w dangos dros ei hadfyd eithaf. Yr oedd yn hollol dawel.

Yr oedd y masnachwr, ac ystyried ei fanteision, agos mor deimladwy a rhai o'n gwladwriaethwyr, ac ymddangosai megys yn teimlo yn ddyledus arno weini iddi y fath gysur ag a oddefai yr achlysur iddo.

"Yr ydw' i'n gwybod fod pethau fel hyn yn d'od yn galed iawn yn y dechreu, Lucy," eb efe: "ond ni wneiff lodes smart, gall, fel ti ymroi iddo. Mae yn *angenrheidiol*, wel'di, a 'does dim help am dano."

"Oh, peidiwch, mas'r! peidiwch!" ebe'r wraig, â llais fel un yn tagu.

"Yr wyt ti'n lodes smart, Lucy," eb efe drachefn. "Yr ydw' i am 'neud yn dda i ti, a chael lle brâf i ti i lawr yr afon; ac mi gei ŵr arall yn fuan—y fath eneth olygus a'ch di—"

"Oh, mas'r, na pheidiech a siarad â mi 'rwan!" ebe'r wraig, mewn llais o ofid mor dòr-galonus, nes y teimlodd y masnachydd fod rhyw beth yn y mater presenol tu hwnt i'w drefn ef o weithredu. Cododd i fyny, a throes y ddynes draw, a chuddiodd ei gwyneb yn ei chlôg.

Cerddodd y masnachwr yn ol ac yn mlaen am enyd, gan sefyll ac edrych arni yn awr ac yn y man.

"Y mae'n cym'ryd ati yn o dost," eb efe wrtho ei hun; "ond yn llonydd er hyny; gadewch iddi chw'su am dipyn; mi ddaw ati ei hun yn y man."

Yr oedd Twm wedi bod yn sylwi ar y cwbl o'r dechreu i'r diwedd, ac yr oedd yn deall yn berffaith y canlyniadau. Iddo ef edrychai fel rhyw beth annhraethadwy o erchyll a chreulon, oblegid nid oedd ef—y creadur dû, tlawd, annysgedig! wedi dysgu rhesymu ol a blaen, a chymeryd golygiadau ëang. Pe buasai ef ond wedi cael ei addysgu gan rai gweinidogion Cristionogol, efallai y meddyliasai yn well o'r peth, ac na wel'sai ynddo ond dygwyddiadau beunyddiol yn perthyn i fasnach gyfreithlon: masnach ag sydd yn gynaliaeth bywiol i sefydliad, yr hon, fel y dywedir wrthym gan rai difinyddion Americanaidd, *nad oes ynddo ddim drygau nad ydynt yn anwahanol âg unrhyw berthynasau gwladol neu deuluaidd eraill.* Ond gan fod Twm, fel y gwelwn, yn adyn tlawd, anwybodus, yr hwn, na ddarllenodd lyfr erioed ond y Testament Newydd, ni fedrai ei gysuro a'i ddyddanu ei hun â golygiadau fel hyn. Yr oedd ei enaid yn gwaedu o'i fewn wrth edrych ar y *camwri* a ddyoddefid gan y greadures dlawd oedd yn gorwedd fel corsen ysig yn mysg y cistiau; y darn ciddo, â theimlad a bywyd a gwaed ynddo, eto yn arfarwol, yr hwn y mae cyfraith dalaethol America yn ei restru gyda'r bwndeli, y paciau, a'r cistiau yn mysg pa rai y mae'n gorwedd.



Nesaodd Twm, a cheisiodd ddywedyd rhyw beth! ond ni wnaeth hi ond gruddfan. Yn onest, ac â dagrau yn treiglo i lawr ei ruddiau ei hun, dywedodd wrthi am galon lawn o gariad fry, am Iesu tosturiol, a chartref tragywyddol; ond yr oedd y glust yn fyddar gan drallod, ac nid oedd y galon wywedig yn teimlo.

Daeth y nos—noson dawel, ddigyffro, a gogoneddus, yn tywynu i lawr â'i llygaid angylaidd, dirif, gwreichionog, a phrydferth, ond dystaw. Nid oedd iaith nac ymadrodd, nid oedd un llais tosturiol na llaw o gynorthwy, o'r awyr bell hono. Y naill ar ol y llall dystawai y sŵn masnachol a'r sain hyfrydwch; yr oedd pawb ar y llestr yn cysgu, a chlywid yn eglur sŵn y dwfr yn mlaen y llong. Ymestynodd Twm ar un o'r cistiau, ac fel yr oedd yn gorwedd yno, clywai yn awr ac yn y man ryw uchenaid neu gri isel oddiwrth y greadures druenus—"O, beth a wnaf? O Arglwydd! O Arglwydd da, helpa fi!" ac felly, yn awr ac eilwaith, nes i'r murmur ddarfod mewn dystawrwydd.

Tua haner nos deffrodd Twm yn sydyn. Aeth rhyw beth tywyll heibio iddo ar frys at ochr y llong, a chlywodd sioch yn y dwfr. Ni welodd ac ni chlywodd neb arall ddim. Cyfododd ei ben—yr oedd lle'r ddynes yn wag! Cododd i fyny, a chwiliodd o'i amgylch, ond yn ofer. Yr oedd y galon derfysglyd wedi llonyddu o'r diwedd, ac yr oedd yr afon yn rhedeg yn grych-nyddiadau clysion, ac yn dysleirio yn union fel na chausai am dani.

Amynedd! amynedd! chwi sy' â'ch calonau yn chwyddo o ddigllonedd tuag at drais fel hyn. Ni annghofir un uchenaid drist, nac un o ddagrau y cystuddiedig, gan y Gŵr Gofidus, Arglwydd y Gogoniant. Y mae Efe yn goddef cystuddiau byd yn ei fynwes amyneddgar a haelionus. Goddef dithau, fel yntef, a gweithia mewn cariad; canys mor wired a'i fod yn Dduw, fe ddaw "blwyddyn ei waredigion."

Deffrodd y masnachydd yn siriol ac yn foreu, a daeth allan i edrych ar ol ei dda byw. Ond yn awr, daeth ei dro yntau i edrych o'i amgylch yn ddyrysiyd.

"Ymh'le ddrwg y mae'r hogen yna?" eb efe wrth Twm.

Ni theimlai Twm, yr hwn a ddysgasid yn y ddoethineb o gadw cyfrinach—ni theimlai fod yn ddyledus arno draethu ei sylwadau a'i amheuaeth—ond dywedodd nas gwyddai.

"Yn siwr, nis gallai hi fyn'd i ffwrdd yn y nos yn un o'r llefydd glanio, o herwydd yr oeddwn i'n effro, ac yn edrych allan, bob tro y stopia'r llestr. Nid ydw' i byth yn trystio y pethau hyn i bobol erill."

Yr oedd yr araeth hon yn cael ei chyfeirio at Twm, yn gyfrinachol, megys pe buasai yn rhyw beth hynod o ddyddorol iddo ef. Ond ni roes Twm un ateb.

Chwiliodd y masnachydd y llestr o benbwygilydd, yn mysg y cistiau, a'r paciau, a'r barilau, o amgylch y peiriant, a'r simneiau, ond yn ofer.

"'Rwan, a glywi di, Twm, actia di'n dêg yn y peth yma," eb efe, pan ddaeth at y lle yr oedd Twm yn sefyll. "Yr wyt ti'n gwbod rhwbeth am dani, 'rwan. Paid a gwadu—yr ydw' i'n siwr dy fod. Mi welis i yr hogen yn gorwedd yma o gwmpas deg o'r gloch, ac wedi'n rhwng un a dau; ac am bedwar yr oedd wedi myn'd, a thitha'n cysgu yn y fan o hyd. Yrwan, mi wyddost ti rwbeth—nid oes dim posib na wyddost ti."

"Wel, mas'r," ebe Twm, "yn y bore, mi aeth rhwbeth heibio i mi, ac mi ddarum ryw haner deffro; ac wedi hyny clywis splash fawr yn y dŵr, ac yna mi ddarum ddeffro'n lân, ac yr oedd y lodes wedi myn'd. Dyna gymint a wn i am dano."

Nid oedd y masnachydd wedi na brawychu na synu; o herwydd, fel y dywedasom o'r blaen, yr oedd yn gynefin â llawer iawn o bethau na wyddoch chwi ddim am danynt. Ni tharawyd ef âg un iâs ddifrifol, hyd yn oed yn ngwydd Angeu. Gwel'sai ef Angeu lawer gwaith—cyfarfu âg ef yn ffordd masnach, a daeth yn gydnabyddus âg ef—ac ni feddyliai am dano ond fel prynwr caled, yr hwn oedd yn dyrysu ei orchwyl yn annheg iawn; ac felly tyngodd nad oedd y lodes ond dyhiren, ac ei fod yn anlwcus ofnadwy, ac os âi pethau yn mlaen fel hyny na enillai un ddime ar y daith. Yn fyr, yr oedd yn ei ystyried ei hun fel dyn wedi cael llawer iawn o gam; ond nid oedd dim help am dani, gan fod y ddynes wedi diane i dalaeth nad yw byth yn rhoi i fyny ffoadur—hyd yn oed ar archiad yr holl Undeb! Gan hyny, eisteddodd y masnachydd yn foddlon, â'i lyfr cyfrifon bychan yn ei law, a rhoddes i lawr y corph a'r enaid o dan y pen *colledion!*

"Rhyw greadur echryslawn yw'r masnachwr yma, onite?—mor ddideimlad! Y mae'n arswydus yn wir!"

"Oh, nid oes neb yn meddwl dim o'r masnachwyr yma! Y maent yn cael eu diystyru yn gyffredinol—nid ydynt byth yn cael myned i gwmpeini pobl barchus!"

Ond pwy, Syr, sy'n gwneud y masnachwr? Ar bwy mae'r bai mwyaf? Y dyn goleuedig, dysgedig, gwybodus, yr hwn sy'n cynal y gyfundrefn o ba un nid yw y masnachwr ond y canlyniad anocheladwy? ynte'r masnachwr tlawd ei hun? Y chwi, sy'n creu archwaeth y cyhoedd, sy'n galw am ei fasnach, ac sydd yn ei lygru ac yn ei halogi ef, nes y mae'n methu teimlo cywilydd o'r herwydd; ac yn mha beth yr ydych chwi yn rhagori arno ef?

A ydych chwi'n ddysgedig, ac yntau yn anwybodus? chwi yn uchel ac yntau yn isel? chwi yn foneddigaidd ac yntau yn drwsgl? chwi yn ddoniol ac yntau yn ddŵl?

Yn nydd y farn a ddaw, efallai y bydd i'r ystyriaethau hyn ei gwneud yn esmwythach iddo ef nag i chwi.

Wrth ddybenu y dygwyddiadau bychain hyn mewn masnach gyfreithlon, y mae'n rhaid i ni erfyn ar y byd beidio meddwl fod Seneddwyr America yn hollol amddifad o deimladrwydd, fel y gellid, hwyrach, gasglu yn annheg oddiwrth yr ymdrechiadau a wneir yn ein Senedd i amddiffyn a pharhau y dull yma o fasnach.

Pwy sydd heb wybod fel y mae ein gwŷr mawr yn myned y tu hwnt iddynt eu hunain yn eu hareithiau yn erbyn caeth-fasnach *dramor?* Y mae llawer Clarkson a Wilberforce wedi codi yn ein mysg ar y testyn hwnw, yn dra addysgiadol i'w clywed a'u gweled. Fy anwyl ddarllenwyr, peth echrydus yw cludo negroaid o Affrica; ni ddylid meddwl am dano heb arswyd! Ond eu cludo o Kentucky a'u gwerthu—peth arall hollol ydyw hyny.

## PENNOD XIII.

### SEFYDLIAD Y CRYNWYR.

Mae golygfa dawel yn awr yn ymagor o'n blaen. Cegin fawr, helaeth, wedi ei phaentio yn lân, a'r llawr melyn yn dysgleirio, heb gymaint a llwchyn i'w weled arno; offer coginiaeth gloywddu, rhesi o ddysglau metel dysglaer, yn arwyddion afrifed o ddaionus bethau at

archwaeth dyn; cadeiriau cryfion wedi gweled llawer o ddyddiau, eto mor ddysglaer a'r gwydr; cadair siglo fechan, a chlustog o wahanol ddarnau o frethyn ynddi, ac un arall fwy ac esmwythach â breichiau agored yn gwahodd pawb yn deuluaidd i ymorphwys ar ei chlustogau o fânblu—cadair ddirodres, lawn o esmwythyd a chysur, amgenach ganwaith na dwsin o'ch cadeiriau cerfiedig ac addurnedig mewn parlyrau; ac yn y gadair hon eisteddai ein hen ffrind Eliza, a'i llygaid yn craffu ar fân wniadwaith. Iē, dyna lle'r oedd hi, yn llwytach ac yn deneuach nag yn ei chartref yn Kentucky, a byd o ofid dystaw yn gorwedd dan ei haeliau hirion, ac yn tynu ei linellau o gylch ei gwefus ddel! Yr oedd yn hawdd canfod mor henaidd a diysgog y tyfasai ei chalon blentynaidd dan ddysgyblaeth chwerwder chwerw; a phan godai ei llygad, yn awr ac yn y man, i edrych ar gampiau ei hanwyl Harri, yr hwn oedd yn chware fel gloywyn byw yn llygad haul, yn ol ac yn mlaen ar hyd y llawr, gwelid ynddo benderfyniad dwfn a diysgog, nas gwelsid erioed yn ei dyddiau boreuaf a hapusaf.

Yn ei hymyl, eisteddai dynes, a phadell loyw ar ei glin, i ba un yr oedd yn pigo ffrwythydd *peaches* sychion, yn araf a gofalus. Ymddangosai rhwng pymtheg a deugain a thriugain oed; ond yr oedd ei hwynebpryd hi yn un o'r rhai hyny ag y mae cyffyrddiad henaint yn eu gloywi a'u haddurno. Gwelid ar unwaith pwy oedd ei phobl, oddiwrth y cap gauze gwyn fel yr eira, wedi ei wneud yn null y Crynwyr, yr hancas gwyn yn blygion esmwyth ar ei brest,



a'r shawl a gown llwyd yn gorwedd mor naturiol am dani. Yr oedd ei gwyneb yn grwn a gwridgoch, yn llawn a meddal fel afal aeddfed; a'i gwallt, wedi ei arianu gan amser, yn rhanedig mor wastad a llyfn ar ei thalcen uchel ac agored, ar ba un nid oedd blynyddoedd wedi ysgrifenu dim ond "ar y ddaear tangnefedd, i ddynion ewyllys da;" ac oddi tanodd dysgleiriai dau lygad mawr, clir, gonest, euraidd, anwyl,—nid oedd dim ond eisiau edrych yn syth iddynt, i deimlo eich bod yn gwel'd i waelod un o'r calonau goreu a chywiraf a gurodd yn mynwes merch erioed. Mae llawer wedi ei ddweyd a'i ganu am brydferthwch merched ifanc, paham na chymerai rhyw un mewn llaw ganu clod prydferthwch hen wragedd. Os clyw neb ar ei galon, ac arno chwant cael ei ysprydoli at hynyma, cynghorwn ef i fyned at ein ffrind Rachel Haliday, fel ag y mae'n eistedd yn y fan yna, yn ei chadair siglo. Yr oedd gan y gadair yna ryw hen gast o wichian —trwy gael anwyd yn more ei hoes, neu trwy glefyd yr asthma, neu efallai y rhewmatis yn ei chymalau; ond, fel y byddai yn siglo yn ol ac ymlaen, canai yr hen gadair fath o "wich wach" fuasai yn annyoddefol mewn unrhyw gadair arall. Ond byddai yr hen Simeon Haliday yn arfer dweyd ei fod cystal a miwsig iddo ef; ac yr oedd y plant bob un yn dweyd na chollent swn cadair mam er dim yn y byd. Paham? Oherwydd, dros fwy nag ugain mlynedd, na ddaeth o'r hen gadair hono ddim ond geiriau caredig, cynghorion tyner, a serch anwylaidd mam—llawer cur mewn pen, a llawer gofid calon a symudwyd ynddi—a phrofedigaethau, ysbrydol a thymhorol, y cafwyd ynddi ollyngdod o honynt—oll gan un wraig anwyl; Duw dalo iddi.

"Ac felly, Eliza, yr ydwyt ti yn dal i feddwl o hyd am fyned i Canada?" ebe hi, tra'r oedd hi yn edrych yn arafaidd dros ei ffrwythydd.

"Ydwyf, ma'am," eb Eliza yn benderfynol. "Rhaid i mi fyned ymlaen; ni wiw i mi aros."

"A pha beth a wnei ar ol cyrhaedd yno? Rhaid i ti feddwl am hyny, fy merch."

Diferodd "fy merch" yn bur naturiol dros wefusau Rachel Haliday; o herwydd yr oedd ei hwynebpryd a'i hymddangosiad yn gwneud "fy mam," y gair mwyaf naturiol ar wyneb daear. Dechreuodd dwylaw Eliza grynu, a syrthiodd dagrau ar y gwaith oedd ganddi, ond hi a atebodd yn hyderus.

"Mi wnaf—unpeth a gâf. Yr wyf yn gobeithio cael rhywbeth i'w wneud."

"Ti a wyddost y gelli aros yma yr hyd fyd fynot ti," ebe Rachel.

"O, diolch i chwi," eb Eliza; "ond"—a hi a gyfeiriodd at Harri—"nis gallaf gysgu'r nos—dim gorphwys. Mi welais y dyn hwnw yn dyfod i'r buarth neithiwr yn fy mreuddwyd," ebe hi, gan grynu o ofn.

"Druan oeddat ti!" ebe Rachel, gan sychu ei llygaid; "ond rhaid i ti beidio meddwl fel yna. Mae'r Arglwydd wedi darparu na ddygwyd neb erioed o'r pentref yma; ac yr wyf yn hyderu mai nid dy blentyn di fydd y cyntaf."

Ar hyn agorwyd y drws, a daeth dynes fach, fer, gron, gryno, daclus, fel y pin yn y papyr, i mewn, a'i gwyneb siriol bochgoch yn edrych fel afal pêr. Yr oedd ei gwisgiad llwyd sobr yn gyffelyb i un Rachel, a'r muslin wedi ei blygu mor ddel ar ei brest fach, gron, gwmpasog.

"Ruth Stedman, sut yr wyt ti?" ebe Rachel, gan godi yn groesawus i'w chyfarfod, a'i hysgwyd yn garedig gerfydd ei dwy law.

"Harti," ebe Ruth; a thynodd ei bonnet lwyd, gan sychu'r llwch oddi arni â'i hancas poced, ac felly dangos pen bach crwn, ar ba un yr eisteddai cap y crynwyr dipyn yn chwareugar, er gwaetha'r holl lyfnhau â'i dwylo bach crynion. Diangodd ambell gudyn troellog, er maint ei gofal a'i gwyliadwriaeth, a gorfu arni eu perswadio yn ol i'w lle drachefn; edrychai tu phump-ar-hugain oed; yna hi a drodd oddi wrth y drych, lle buasai yn ymdacluso, ac a edrychodd yn hapus ac wrth ei bodd—fel ag y gallai pawb a edrychent arni fod; oherwydd yr oedd yn ddiau yn un o'r gwragedd bach mwyaf siriol, lawen-galon, a hapus a lonodd galon dyn erioed.

"Ruth, dyma fy ffrind Eliza Harris, a dyna'r bachgen bach y bum yn son am dano wrthyt."

"Mae yn dda genyf dy weled, Eliza—yn dda iawn," ebe Ruth, gan ysgwyd dwylaw, fel pe buasai Eliza yn hen ffrind fu yn hir ddysgwyl am dani; "a dyma'r bachgen bach—mi ddois a chacen iddo," ebe hi, gan estyn llun calon iddo; daeth yntau ymlaen i'w chymeryd yn wylaidd, gan dremio trwy ei wallt troellog.

"Lle mae dy blentyn di, Ruth?" ebe Rachel.

"O, y mae yn ymyl; fe cym'rodd Mari ef pan ddaethum i mewn, ac a redodd i'r ysgubor, i'w ddangos i'r plant."

A chyda'r gair, dyma'r drws yn agor, a daeth Mari (lodes fochgoch, lân, â llygaid tywyll fel ei mam) i mewn a'r plentyn ganddi.

"Ha! ha!" ebe Rachel, gan godi y lwmpyn tew gwyn yn ei breichiau, "mor dda mae'n edrych, ac fel y mae'n prifio!"

"Debyg gen i'n wir," ebe Ruth, yn llawn busnes, gan gymeryd y plentyn, a thynu ei hwd sidan glâs, a nifer o blygion o ddillad uchaf oedd ganddo; ac ar ol tynu'r peth yma, owtio'r peth acw, a'i dacluso o'i ben i'w draed, hi a'i cusanodd o ewyllys calon, ac a'i gosododd ar lawr, i hel ei feddyliau ynghyd. Ymddangosai y plentyn yn ddigon cynefin â thriniaeth o'r fath yma, oherwydd efe a wthiodd ei fawd i'w geg (fel mater o ddyledswydd,) a syrthiodd i synfyfyrio rhyngddo ag ef ei hun, tra'r oedd ei fam yn tynu allan hosan fraith hir, ac yn dechreu gweu yn gyflym.

"Mari, fyddai ddim yn well i ti lenwi'r tecetl, oni byddai?" ebe'r fam yn arafaidd.

Cymerodd Mari'r cetl i'r ffynon, a daeth yn ol yn fuan, a gosododd ef ar y tân, lle y dechreuodd ganu, ac agerddu, megys thuser lletygarwch a chroeso. Ac ar awgrymiad Rachel, dodwyd y *peaches* gan yr un llaw mewn scelet ar y tân.

Yna ymaflodd Rachel mewn noe lân, a dododd ffedog o'i blaen, i barotoi teisenau, ond yn gyntaf dywedodd wrth Mari, "A fyddai ddim yn well i ti ddweyd wrth John am barotoi cywan?" ac aeth Mari i drefnu hyny yn y fan.

"A sut y mae Abigail Peters?" ebe Rachel, fel yr oedd yn myned ymlaen â'i theisenau.

"O, y mae hi'n well," ebe Ruth; "mi fum i yno'r bore yma; mi gyweirias y gwely, ac mi dacluss y tŷ. Fe aeth Leah Hils yno'r prydnawn, ac hi bobodd gymaint fydd eisiau am rai diwrnodau; ac yr ydwyf finau wedi addaw galw yno i'w chodi heno."

"Mi âf finau yno bore fory, ac mi wnaf y glanhau a'r trwsio fo'n eisie," ebe Rachel.

"O'r goreu," ebe Ruth. "Mi glywais," ebe hi drachefn, "fod Hannah Stanwood yn sâl. Fu John i fyny yno neithiwr—rhaid i minau fyn'd yno fory."

"Os bydd achos am i ti aros yno trwy'r dydd, fe all John ddyfod yma i nol ei brydiau," ebe Rachel.

"Diolch i ti, Rachel; ni gawn weled fory; ond dyma Simeon."

A phwy ddeuai i mewn ond Simeon Haliday,—dyn mawr, tal, syth, a llyfndew, mewn côt lwyd, a throwsis, a het a chantal llydan.

"Sut yr wyt ti, Ruth?" eb efe yn serchlon, gan ymaflyd yn gynhesol yn ei llaw fechan, â'i gledr lydan agored, "a sut y mae John?"

"O, mae John a'r teulu'n iach," ebe Ruth, yn llawen.

"Oes dim newydd, Simeon?" ebe Rachel, pan oedd yn troi'r teisenau i grasu.

"Fe ddeudodd Peter Stebbins y byddai yma heno, hefo *ffrindiau*," ebe Simeon, gyda phwyslais, gan olchi ei ddwylaw mewn sinc fach lân gryno yn y cefn.

"Felly'n wir!" ebe Rachel, gan daflu ei golygon yn ystyriol ar Eliza.

"A ddywedaist ti mai Harris y gelwir di?" ebe Simeon wrth Eliza, pan ddaeth i mewn yr ail waith.

Edrychodd Rachel yn bryderus ar ei gwr, pan atebodd Eliza yn grynedig "do;" ei hofnau, bob amser yn effro, yn dweyd wrthi y gallasai fod hysbysiadau allan.

"Rachel," ebe Simeon, gan sefyll wrth y drws cefn.

"Beth a fyni di?" ebe hithau, gan rwbio'r toes oddiar ei dwylo, a myned allan ato.

"Mae gwr y ddynes yn y sefydliad, ac fe ddaw yma heno," ebe Simeon.

"Wel, 'rwan, ai tybed?" ebe Rachel, a'i hwynebpryd yn dysgleirio o lawenydd.

"Mae'n ddigon gwir. Fu Peter i lawr ddoe, hefo'r wagen, ac yr oedd yno hen wraig a dau ddyn, ac fe ddywedodd un mai George Harris oedd ei enw; ac yr wyf fi'n sicr mai efe ydyw'r dyn, oddiwrth hyny o'i hanes a gefais. Dyn hardd cariadus iawn ydyw hefyd."

"A gawn ni ddweyd wrthi ar unwaith?" atebai Simeon.

"Gad i ni ddweyd wrth Ruth," ebe Rachel.

"Gwrando Ruth—tyr'd yma!"

"Gosododd Ruth ei phellen a'i hosan heibio, a brysiodd at y drws cefn.

"Beth feddyliat ti, Ruth?" ebe Rachel. "Mae Simeon yn dweyd fod gwr Eliza newydd ddyfod i'r sefydliad, ac y bydd yma heno."

Dechreuodd y Gwaceres fach waeddi 'diolch,' ac wrth iddi neidio oddi ar y llawr, gan guro ei dwylaw bychain, diangodd dwy droellen o'i gwallt oddi tan ei chap, a safasant ar ei hancas wen fel dau gyhuddwr y brodyr.

"Hist, taw ngeneth anwyl i," ebe Rachel, yn addfwyn; "taw, Ruth! Dywed, a gawn ni ddweyd wrthi 'rwan?"

"'Rwan! siwr iawn, y mynyd yma. Beth pedase fo John ni, sut y b'aswn i yn teimlo? Dywed wrthi ar unwaith."

"Nid wyt ti yn gwneud dim ond dysgu caru dy gymydog, Ruth," ebe Simeon, gan edrych yn siriol ar y wraig fach.

"Gwir iawn. Onid i hyny y gwnawd ni? Pe na basa'n dda geni am John a'r babi, fedswn i ddim teimlo drosti hithau. Tyr'd 'rwan, dywed wrthi—paid ac oedi!" a hi a osododd ei llaw ar fraich Rachel i'w thynu. "Cymer hi i'th ystafell dy hun, dos, mi ferwa i 'r cyw tra byddi di'n gneud."

Yna aeth Rachel i mewn i'r gegin, lle'r oedd Eliza yn gwnio, a chan agor drws ystafell wely fechan, hi a ddywedodd yn arafaidd, "Tyr'd i mewn yma, fy merch; mae genyf newydd i ti."

Gwridodd Eliza hyd at ei chlustiau; a hi a gododd yn grynedig, a'i llygad tuag at ei bachgen.

"Na, na" ebe Ruth, gan redeg ati; ac ymaflyd yn ei llaw; "paid a dychrynu; newydd da, Eliza—dos i mewn, dos i mewn!" A gwthiodd hi yn garedig at y drws, yr hwn a gauwyd ar ei hol. Yna gafaelodd Ruth yn Harri bach, a dechreuodd ei gusanu.

"Mi gei di wel'd dy dad, 'mychan i. Wyddost ti! Mae dy dad yn dwad," ebe hi drosodd a throsodd drachefn, fel yr oedd y plentyn yn synu arni.

Yn y cyfamser, o'r tu fewn i'r ystafell, yr oedd gwaith arall yn myned ymlaen. Fe dynodd Rachel Haliday Eliza tuag ati, ac a ddywedodd, "Mae'r Arglwydd wedi cymeryd trugaredd arnat, fy merch; mae dy briod wedi dianc o dŷ'r caethiwed."

Rhuthrodd y gwaed fel ffrwd i wyneb Eliza, ac yn ol i'w chalon yn gyffelyb. A hi a eisteddodd i lawr, yn welw, ac mewn llewygfa.

"Cymer galon, fy merch," ebe Rachel, gan ddodi ei llaw ar dalcen Eliza; mae yn mysg cyfeillion, a hwy a'u dygant yma heno."

"Heno!" ebe Eliza, "Heno!" Hi a gollodd ystyr y gair; trodd ei phen yn gymylog a dyryslyd; ac am foment yr oedd pob peth mewn niwl a thywyllwch.

Pan ddeffrodd, hi a ganfu ei bod mewn gwely, a phlanced drosti, a Ruth yn rhwbio ei dwylo â champhyr. Agorodd ei llygaid fel mewn haner breuddwyd, a'i theimladau mor hyfryd a phe buasai bwn mawr wedi ei symud oddiar ei chefn, a hithau yn chwenych gorphwyso. Yr oedd yr ofn aruthrol a ymaflodd ynddi ar y cyntaf, ac heb lacio dim o'i afael hyd yn hyn, wedi ei symud ymaith, a theimlai esmwythyd a dyogelwch annirnadwy; ac fel yr oedd yn gorwedd, a'i llygaid mawrion yn dylyn symudiadau'r sawl oedd o'i hamgylch, megys mewn breuddwyd melys, hi a ganfu'r drws yn agored, a'r bwrdd a llian gwyn arno wedi ei hilio at swper; hi glywai'r tecetl yn suo canu, ac a welai Ruth yn gwibio yn ol ac ymlaen gyda phlatiau a chacenau, a soseri yn llawn cyffeithiau, ac yn awr ac yn y man yn sefyll i roddi cacen yn llaw Harri, neu i osod ei llaw ar ei ben, neu i ddirwyn ei wallt troellog o gwmpas ei bysedd bach gwynion. Hi a welai Rachel hefyd, a golwg mam ar bob cymal o honi, yn dyfod at ochr y gwely yn aml, ac yn

tycio a thacluso'r dillad, fel argoel o'i serch a'i gofal; a theimlai fod math o belydrau heulog yn tywynu arni o'i llygaid mawrion, clirion, cynhesol. Hi a welodd wr Ruth yn dyfod i mewn—a hithau yn rhedeg ato, gan sisial yn ddifrifol, a chyfeirio'n fynych tua'r ystafell wely. Hi a'i gwelodd, a'i babi ar ei glin, yn eistedd i yfed tê; gwelodd hwynt oll o gwmpas y bwrdd, a Harri bach ar gadair uchel, dan gysgod edyn Ruth; lle'r oedd swn siarad isel, a thincian y llwyau tê, a miwsig y cwpanau a'r soseri,—y cyfan oll mewn breuddwyd o dawelwch a gorphwysfa; a chysgodd Eliza mewn ffordd na chysgasai o'r blaen, er yr awr arswydus y diangodd gyda'i phlentyn ar noswaith rewlyd a serenog.

Hi a freuddwydiodd am wlad hyfryd—gwlad fel yr ymddangosai iddi, o orphwysfa—glanau afonydd gwyrddlas, ynysoedd prydferth, dyfroedd grisialaidd,—ac yno, mewn tŷ ag y dywedid wrthi yn serchlon mai ei chartref oedd, hi a welai ei phlentyn yn chware yn fachgen rhydd a hapus. Hi a glywai swn troed ei gwr, hi a'i teimlai yn nesâu ati; yr oedd ei freichiau am dani, a'i ddagrau yn syrthio ar ei gwyneb, a hi a ddeffrodd. Ond nid breuddwyd mo hono. Yr oedd y dydd wedi darfod er's meityn; ei phlentyn yn cysgu'n dawel yn ei hymyl; y ganwyll yn llosgi'n ddwl ar y bwrdd, a'i phriod yn wylo'r dagrau'n hidl ar ei gobenydd.

---

Yr oedd dranoeth yn fore llawen yn nhy'r Cwacer. "Y Fam" wrthi hi gyda'r dydd, a bechgyn a genethod yn brysur o'i chwmpas, y rhai ni fedrem prin eu henwi ddoe, ac yr oeddynt yn myn'd ac yn dyfod mewn ufudd-dod i awgrymiad tyner Rachel—dim ond "Fyddai'n well i ti," neu y fwynach fyth, "Oni byddai'n well i ti?" yn y gwaith o barotoi'r boreubryd; oherwydd y mae'r pryd hwnw yn gofyn llawer iawn o barotoadau yn nyffrynoedd breision Indiana, fel ag y mae pigo dail rhosynau a chropio'r perthi ym Mharadwys yn gofyn dwylaw eraill heblaw eiddo y fam gyntaf. Gan hyny, tra'r oedd John yn rhedeg i'r ffynon i gyrchu dwfr glan, Simeon yr ail yn gogryn blawd at y teisenau, a Mary yn malu'r coffi, yr oedd Rachel wrthi hi'n dawel o fan i fan, yn gwneud cacenau, yn parotoi'r cyw iâr, ac yn pelydru math o heulwen ar yr holl beirian-waith. Os dygwyddai fod rhyw granc yn gweithio'n anesmwyth oddiar fawr awydd yr ieuainc i ragori yn eu gwahanol orchwylion, dodai olew arno â "Dowch, dowch!" neu "Ni wnawn i ddim fel yna;" yr hyn fyddai'n hen ddigon i rwyddhau pob anhawsder. Mae Beirdd wedi ysgrifenu am wregys Venus, ddarfod iddo roddi'r bendro i'r holl fyd y naill oes ar ol y llall. O'n rhan ni, byddai yn fwy dewisol genym wregys Rachel Haliday, i gadw eu penau rhag troi, a gwneud i bobpeth fyned yn y blaen yn esmwyth. Mae yn ddiau yn fwy priodol i'r oes hon.

Tra'r oedd y parotoadau hyn yn myned yn mlaen, safai Simeon yr hynaf yn llewys ei grys o flaen drych mewn congl, gyda'r gorchwyl gwrth-batriarchaidd o ymeillio. Yr oedd pob peth yn myned ymlaen yn y gegin fawr hono mor rwydd, mor esmwyth, mor lithrig,—fel yr ymddangosai mai pleser pawb oedd gwneud yr hyn oedd ganddo i'w wneud—yr oeddynt yn byw mewn awyr o gyd-gordiad a chyd-ymddiried; yr oedd hyd yn nod y cyllill a'r ffyrc yn gwneud swn cartrefol wrth fyned ar y bwrdd; a'r ham a'r cyw yn y badell yn ffrio mor siriol, fel pe buasai yn well ganddynt eu coginio na pheidio; a phan ddaeth George, ac Eliza, a Harri bach i'r gegin, hwy a gawsant y fath groeso calon, fel nad rhyfedd ei fod yn ymddangos megys breuddwyd iddynt. O'r diwedd, yr oeddynt oll yn eistedd wrth eu boregwest, a Mari yn sefyll wrth y stove, i wneud cacenau, y rhai a ddodid ar y bwrdd yn barhaus fel y cyrhaeddent berffeithrwydd.

Nid oedd unman lle'r edrychai Rachel mor berffaith hapus ag wrth ben ei bwrdd. Yr oedd cymaint o galon anwyl mam yn ei dull o estyn plât neu dywallt cwpanaid, fel yr oedd yn gwneud ei bwyd a'i diod yn fwy blasus.

Dyma'r tro cyntaf i George erioed eistedd wrth fwrdd un dyn gwyn fel ei gydradd; ac yr oedd ar y dechreu yn teimlo braidd yn yswil ac annghynefin; ond diflanodd y cwbl yn fuan dan ddylanwad y fath garedigrwydd teuluaidd, yn gyffelyb i darth o flaen pelydrau'r haul.

Mewn gwirionedd, yr oedd hwn yn gartref —*yn gartref*—gair na wybuasai George erioed ei ystyr; a dechreuodd cred yn Nuw ac ymddiried yn ei ragluniaeth gylchynu ei galon, megys, mewn cwmwl euraidd o nawdd ac amddiffyn, y mae amheuon tywyll, anfoddog, grwgnachlyd, atheistaidd, yn toddi o flaen goleuni'r Efengyl—a hwnw'n adlewyrchu o wynebau siriol, ac yn cael ei bregethu â thafodau gweithredoedd aneirif o gariad ac ewyllys da, pa rai, fel y cwpanaid o ddwfr yn enw dysgybl, ni chollant byth mo'u gwobr.

"Beth os ceir di allan eto, fy nhad?" ebe Simeon yr ail, pan oedd yn taenu'r 'menyn ar ei deisen.

"Mi dalaf y ddirwy," ebe Simeon, yn ddigon didaro.

"Ond, beth os gyrant di i garchar?"

"Oni fedret ti a dy fam drin y ffarm?" ebe Simeon, a gwên ar ei enau.

"Fedr mam wneud bron bobpeth," ebe'r bachgen. "Ond a ydyw ddim yn gywilydd gwneud y fath gyfreithiau?"

"Na ddywed yn ddrwg am benaeth dy bobl, Simeon," eb ei dad, yn sobr. "Nid yw'r Arg-

lwydd yn rhoddi da'r byd hwn i ni i ddim ond gwneud yn iawn ac yn drugarog; os bydd ein penaethiaid yn gofyn pris am hyny, rhaid i ni ei dalu."

"Wel, mae'n gâs gen i'r hen gaethfeistri yna!" ebe'r bachgen, yr hwn a deimlai mor annghristionogol ag y gweddai i un o ddiwygwyr y dyddiau hyn.

"Mae'n rhyfedd genyf atat, fy mab," ebe Simeon; "ni ddysgaist erioed mo hyna gan dy fam. Mi wnawn i yr un fath i'r caethfeistr ag i'r caethwas, pe dygai'r Arglwydd ef at fy mhorth yn drallodedig."

Gwridodd Simeon yr ail fel ysoarlad; ond gwenodd ei fam, a dywedodd, "Machgen da i ydi Simeon; fe dyf yn hŷn bob yn dipyn, yna fe fydd fel ei dad."

"Gobeithio, fy anwyl syr, nad ydych mewn perygl o'n hachos ni," ebe George, yn ofnus.

"Paid ag ofni dim, George, o herwydd i hyny yr anfonwyd ni i'r byd. Os nad awn i berygl mewn achos da, yr ydym yn anheilwng o'n henw.

"Ond *o'm hachos i!*" ebe George, "nis medraf oddef y fath beth."

"Nac ofna, ffrind George, nid trosot ti, ond tros Dduw, yr ydym ni yn gwneud," ebe Simeon. "Ac yn awr rhaid i ti aros yma yn ddystaw am heddyw, a heno, am ddeg o'r gloch, fe cymer Phineas Ffletcher di hyd y lle nesaf sydd genym—tydi a'r rhai oll sy gyda thi. Mae dy ymlidwyr yn gyru yn drwm ar dy ol; nid oes genym ddim amser i'w golli."

"Os felly, paham aros tan nos?" ebe George.

"Yr wyt ti yn ddyogel yma liw dydd, o herwydd Ffrind ydyw pob un yn y sefydliad, ac y mae pob un ar ei wyliadwriaeth. Heblaw hyny, mae'n fwy dyogel trafaelio'r nos."

## PENNOD XIV.

### EVANGELINE.

Seren ddysglaer am fynydyn
Yn pelydru hub ei hail;
Prin 'r agorai'r peraidd rosyn
Cyn i'r gawod ddwyn ei ddail:
Bûn anwylaidd,
Bèr, ond hawddgar, fu ei hoes.

Y Mississippi! Fel y mae wedi newid, megys â gwialen y swynwr, er pan ddarluniwyd hi gan Chateaubriand, yn afon fawr, ddi-dor, ac annghyfanedd, yn ymrolio trwy ryfeddodau anhysbys y greadigaeth lysieuaidd ac anifeilaidd.

Ond, megys mewn awr, mae'r afon hon o freuddwydion a gwyllt anturiaethau wedi tori allan i hanfodiad sylweddol, llawn mor hynod ag oedd dychymygion yr amser gynt. Pa afon arall ar wyneb y ddaear a gluda ar ei mynwes i'r weilgi, oludoedd ac anturiaethau gwlad nad oes ei chyffelyb,—gwlad ag y mae ei chynyrchion yn cynwys pob peth rhwng y pegynau a'r gwregys llosg!

Mae llif-ddyfroedd coch-ddû'r afon hon, yn rhuthro, yn ffrothio, ac yn rhwygo yn mlaen, yn adlewyrchiad priodol o'r llif o fasnach a ymarllwys ar hyd ei gwyneb, yn nwylaw dynion mwy diorphwys ac ymroddol nag a welodd y byd mewn unrhyw oes. O! na pheidiai a chludo hefyd, yn ei llong-lwythi, ddagrau'r gorthrymedig, ucheneidiau'r amddifad, a gweddiau chwerwon calonau tlodion ac anwybodus at Dduw nad adwaenant—anadnabyddus, anweledig, dystaw, ond Duw a ddaw eto "allan o'i fangre, ac a weryd holl drueiniaid y tir."

Yr oedd pelydrau haul brydnawn yn gwefrio ar wyneb dyfroedd llydain yr afon, a'r heag a'r sypreswydd mawrion yn orchuddiedig â mwswgl yn hongian ar ei glanau, ac yn benthyca o'r adlewyrchiad euraidd, fel yr oedd yr agerlong drwm-lwythog yn ymrwyfo yn mlaen.

Yn llawn o fwndeli cotwm, o amrywiol blanfeydd, i fyny dros ei bwrdd a'i hochrau, mae'r agerdd-long yn ymddangos oddiyma draw fel crynswth llwyd ysgwâr yn dynesu at borthladd y farchnadfa. Rhaid i ni chwilio am gryn amser ar hyd ei bwrdd llawn, cyn dyfod drachefn o hyd i'n hen gyfaill Twm, druan. O'r diwedd dyma fe, i fyny ar y bwrdd uchaf, mewn congl yn mysg y bwndeli cotwm.

Mewn rhan trwy'r darluniad a gawsai gan Mr. Shelby, ac mewn rhan trwy ymddygiad rheolaidd a llonydd Twm, yr oedd hyd yn oed Haley wedi gadael iddo ynill ei ymddiried i raddau pell.

Ar y dechreu gwyliodd ef yn fanwl trwy gydol y dydd, ac nis gadawai iddo gysgu'r nos heb osod gefynau ar ei draed; ond efe a adawodd heibio y pethau hyn yn raddol, trwy ei fod yn gweled amynedd di-achwyn Twm, a'i ymddangosiad boddlon o leiaf. Felly'r oedd Twm er's tipyn o amser megys ar air o ymddiried, yn cael rhyddid i fyned a dyfod fel y mynai, ar fwrdd yr ager-long.

Un dystaw, llonydd, a chymwynasgar oedd Twm erioed, a dangosai bob parodrwydd i estyn help llaw i'r llongwyr; felly enillodd serch a ffafr pob un o honynt, a threuliodd lawer awr yn eu helpu gyda'r fath ewyllys da ac egniad ag y gweithiodd erioed ar ffarm yn Kentucky.

Pan welai nad oedd dim neillduol i'w wneud, efe a ddringai i ryw gongl yn mysg y bwndeli cotwm ar y bwrdd uchaf, lle'r ymdrechai astudio ei Fibl, ac yno y cawn ef yn awr.

Dros gan' milltir neu ragor oddiar New Orleans, y mae'r afon yn uwch na'r wlad o amgylch, ac yn treiglo ei ffrwd anferth rhwng dau glawdd llanw cryfion, tuag ugain troedfedd o uchder. Mae'r teithiwr oddiar fwrdd yr agerlong, megys oddiar dyrau castell nofiadwy, yn canfod y wlad o bobtu am filltiroedd lawer. O

ganlyniad yr oedd Twm yn gweled o'i flaen fap o'r byd oedd yn ei aros, yn llygad agored, yn blanfa ar ol planfa.

Efe a welai'r caethion oddiyma draw gyda'u caledwaith; efe a welai yn mhell-bell eu rhesi o fythynod, yn dysgleirio yn yr haul, a chryn dipyn rhyngddynt a phalasau y meistri â'u rhodfeydd gorwychion; ac fel yr oedd y pictiwr yn myned heibio iddo, trôai ei galon yn ol at y ffarm yn Kentucky, a'r hen goedydd cysgodfawr —at dŷ ei feistr a'r neuadd ëang, oer, yn agos i'r caban bach, lle tyfai y rhosynau a'r briallu. Yno tybiai weled ei hen gyd-weision, y rhai a gyd-dyfasent âg ef er yn blant; efe a welai ei wraig yn brysur yn parotoi'r hwyr-bryd; a chlywai grechwen lawen y plant wrth eu chwareu, a'r fechan yn pratlo o gwmpas ei draed; yna, gyda naid, diflanai'r cwbl ar unwaith, ac efe a welai drachefn y corsydd, yr hesg, a'r sypreswydd ar y planfeydd, a chlywai chwythiad a thuchan y peiriannau, yn dweyd yn rhy bendant fod byw yn Kentucky wedi myned heibio iddo am byth.

Dan y fath amgylchiadau, buasit ti yn ysgrifenu at dy wraig, ac yn gyru anerchion at dy blant; ond ni fedrai Twm ddim ysgrifenu—nid oedd llythyrfa yn hanfodi iddo ef, ac yr oedd gagendor ymadawiad heb gymaint a phont o air cyfeillgar neu arwydd o bell. Ai rhyfedd, ynte, fod ambell i ddeigryn hallt yn syrthio ar ddalenau ei Fibl, fel y mae o'i flaen ar y bwndel cotwm, â'i fys yn araf bach yn myn'd o air i air, i ddyfod o hyd i'r addewidion? Heb ond ychydig o ddysg yn ei oes, nid oedd Twm ond darllenydd pur araf, ac âi yn mlaen yn llafurus o adnod i adnod. Ond yr oedd yn lwcus iddo ef fod y llyfr y myfyriai ynddo yn un na wnai ei ddarllen yn araf ddim cam âg ef—ïe, un ag y mae ei eiriau, fel darnau o aur, yn gofyn eu pwyso ar wahan, fel y gallo'r meddwl deimlo eu hannhraethol werth. Gadewch i ni ei ganlyn am fynyd, tra mae yn dodi ei fys ar bob gair, ac yn ei ddarllen yn lled uchel:—"Na—thralloder — eich — calon. Yn — nhŷ — fy — Nhad—y—mae—llawer—o—drigfanau. Wele, —yr—ydwyf—fi—yn—myned—i—barotoi—lle—i—chwi."

Pan gladdodd Cicero ei unig a'i anwyl ferch, yr oedd ei galon mor lawn o alar gwirioneddol a chalon Twm—ddim llawnach, fe allai, o herwydd dyn oedd y naill, a dyn oedd y llall; ond nis medrai Cicero syllu uwch ben y fath eiriau gogoneddus o obaith, nac edrych yn mlaen am gyfarfod mewn byd arall; a phe *buasai* yn eu gweled, deg i un na chredasai mo honynt,—buasai raid iddo lenwi ei ben yn gyntaf â miloedd o gwestiynau yn nghylch gwirionedd yr ysgrifen-law, a chywirdeb y cyfieithiad. Ond i Twm druan, dyna lle yr oedd, yn ateb i'r dim i'r hyn oedd arno eisiau, mor bendant yn wirionedd dwyfol, fel nad oedd yn bosibl i amheuaeth fyned i'w ben diniwed. Rhaid ei fod yn wir; o herwydd os nad oedd yn wir, pa fodd y gallai ef fyw?

Am Fibl Twm, er nad oedd ar ei ymylion help mewn nodiadau gan esbonwyr dysgedig, eto yr oedd yno ryw fath o fyneg-byst o ddyfais Twm ei hun, y rhai oeddynt fwy o gymhorth iddo ef na'r esboniadau mwyaf dysgedig. Byddai yn arfer cael plant ei feistr i ddarllen ei Fibl iddo, yn enwedig Mas'r George; ac wrth iddynt ddarllen, efe a roddai â phin ac inc ryw fath o nodyn ar gyfer yr adnodau mwyaf tarawiadol i'w glust neu fwyaf effeithiol ar ei galon. Yr oedd ei Fibl wedi ei farcio fel hyn drwyddo draw, gydag amryw nodau a lluniau, a gallai ar gip-olwg droi at yr adnodau fyddai arno eisiau, heb fyned i'r boen o spelio allan yr hyn oedd rhyngddynt; ac fel yr oedd yn gorwedd yno o'i flaen, a phob adnod yn dwyn ar gof ryw beth a ddygwyddasai gartref, ac yn galw yn ol fwyniant a aethai heibio, yr oedd ei Fibl yn cynwys y cwbl o'r byd hwn oedd yn ei feddiant, yn gystal a'r addewid am fyd i ddyfod.

Yn mysg yr ymdeithwyr ar fwrdd y llong, yr oedd gŵr ieuanc o gynysgaeth a theulu da, a'i gartref yn New Orleans; St. Clare y gelwid ef. Yr oedd gydag ef ferch fechan, rhwng pump a chwech oed, yn nghyda boneddiges a ymddangosai fel perthynas i'r ddau, a gofal neillduol y fechan ar ei llaw.

Cafodd Twm gip-olwg ar y ferch fach hon lawer gwaith—o herwydd yr oedd yn un o'r creaduriaid sionc, aflonydd, na fedrai aros yn yr un man ddim mwy na llygedyn haul neu awelon haf; ac os unwaith y gwelid hi, nid hawdd oedd eu gollwng yn annghof.

Yn lluniad ei chorpholaeth yr oedd yn berffeithrwydd o harddwch plentynaidd, heb ddim o'i besgiad lympaidd ac amrosgo. Yr oedd yn ei symudiadau fath o brydferthwch awyrol ag a barai i ni feddwl mai creadur angylaidd ydoedd. Ymddangosai ei gwynebpryd yn hynotach am ryw ddifrifoldeb nodedig nac am berffaith lendid ei wedd, yr hyn a wnai i'r bywiog ei ddychymyg synu wrth yr olwg arni, ac i'r dylaf deimlo rhyw argraff na wyddai paham. Yr oedd llun ei phen a ffurfiad ei gwddf a'i mynwes yn odidog ragorol, a'i gwallt llaes gwineu euraidd yn eu hamgylchu fel cwmwl yn mhelydrau haul; a'i llygaid gleision yn edrych yn ddifrifol dan aeliau eurwych—y cwbl oll yn ei nodi allan o fysg plant y byd, ac yn tynu sylw pawb, gan beri iddynt droi ac edrych arni, yn ei gwibiad yma ac acw ar fwrdd y llong. Eto, er hyn i gyd, nid oedd y plentyn yn un a ellid ei ystyried yn drist neu drymaidd. Yn y gwrthwyneb, yr oedd diniweidrwydd ysgafn, chwareugar, plentynaidd, yn hofian o

gylch ei symudiadau awyrol, fel cysgod dail yr hâf. Ni byddai byth yn llonydd yn yr un man, a phob amser â haner gwên ar ei gwefus rosynaidd, yn gwibio yma a thraw fel gloywyn byw, gan suo canu wrthi ei hun fel mewn breuddwyd. Yr oedd ei thad a'i mamaeth ar ei hol yn ddibaid, a phan ddalient hi, diflanai o'u gafael fel cwmwl hâf; a pha beth bynag a wnai, neu i ba le bynag yr elai, ni chlywai air croes na sèn gan ei thad na neb arall. Gwŷn oedd ei gwisgiad yn wastadol, ac ymddangosai fel cysgod yn symud yma a thraw, trwy bob math o le, heb lychwino nac ysmotio dim. Ac nid oedd na chell na chongl, i fyny nac i lawr, nad oedd ei hysgafn-droed wedi bod ynddo, a'r pen euraidd gyda'i lygaid gleision wedi bod yn syllu arno.

Edrychai'r peiriannydd, yn chwys ac yn darth, i fyny oddiwrth ei ffwrnes dân-boeth, a gwelai'r llygaid gleision yn tremio mewn sŷndod i ddyfnderoedd ei boeth-fyd, ac fel yn tosturio wrth ei gyflwr annedwydd, gan feddwl ei fod mewn dirfawr berygl. Dro arall safai y dyn wrth y llyw, a gwenai pan ga'i gip-olwg ar ei phen fel pictiwr yn ffenestr y caban, ac yna yn diflanu ar amrantyn. Filwaith yn y dydd clywid lleisiau cryg yn eu bendithio, ac wrth fyned heibio eisteddai gwên lawn o serch ar ei hwynebpryd; a phan ddygwyddai iddi droedio llefydd peryglus, neidiai dwylaw geirwon, fel heb yn wybod, i'w helpu neu wastatau ei llwybr.

Twm, yr hwn oedd yn llawn o natur dyner a serchiadol ei bobl, a phob amser yn hiraethu am y diniwed a'r plentynaidd, a sylwai fwy-fwy bob dydd ar y plentyn anwyl hwn. Ymddangosai iddo ef yn greadures nefolaidd o'r bron; a phryd bynag y gwelai ei phen euraidd, a'i llygaid mawr gleision yn tremio arno heibio i fwndel o gotwm, neu yn edrych i lawr arno dros ryw ganllawiau, byddai yn dychymygu ei fod yn gweled rhai o'r angylion yn neidio allan o'i Destament.

Gwelid hi yn aml iawn yn cerdded yn bendrist o gylch y fan lle yr oedd caethion Haley, yn ferched a meibion, yn eistedd yn eu gefynau heiyrn. Ai i mewn i'w mysg, a syllai arnynt mewn math o boen a dyryswch difrifol; ac ambell waith hi a ymaflai â'i llaw fechan yn eu gefynau, a rhedai ymaith gydag uchenaid. Llawer gwaith yr ymddangosodd yn eu canol fel drychiolaeth, a'i dwylaw'n llawn o siwgwr candi, cnau, ac oranges, y rhai a ranai rhyngddynt, ac yna ymaith â hi.

Bu Twm yn hir yn gwylio'r fechan, cyn anturio tynu cydnabyddiaeth â hi. Efe a wyddai am ddigonedd o ffyrdd i dynu sylw plant a'u serch, a phenderfynodd ymaflyd yn y gorchwyl yn fedrus. Efe a fedrai wneud basgedi allan o geryg eirin, a gwneud gwynebau digrif o gnau hickory, a llunio jack y neidiwr allan o galon pren yscawen, ac am wneud chwibanoglau yr oedd yn un hynod o gywrain. Byddai ei bocedi yn llawn o bresentau bach fel hyn i ddenu plant, y rhai a wnai amser yn ol ac a gadwai i foddio plant ei feistr, a thynodd hwynt allan gyda chynildeb canmoladwy, bob yn un ac un, gan eu rhoddi iddi fel y gwelai gyfleusdra, i ynill cydnabyddiaeth a serch.

Er fod y fechan yn awyddus am weled pob peth oedd yn myn'd yn mlaen, eto yr oedd yn yswil, ac nid hawdd oedd ei dofi. Weithiau hi safai fel aderyn ar ryw fwndel o gotwm yn lled agos i Twm, tra byddai ef yn brysur yn dangos



ei fân delwau, a chymerai'r hyn a gynygid iddi, gyda math o wylder. Ond yn y diwedd daethant yn gryn ffrindiau.

"Beth gelwir chi, mechan i?" ebe Twm, o'r diwedd, ar ol i bethau aeddfedu mor bell a hyny.

"Evangeline St. Clare," ebe hithau; "ond y mae 'nhad a phawb arall yn fy ngalw Eva. Yn awr, beth gelwir chwi?"

"Twm ydi f' enw i; ond mi fyddai plant bach yn fy ngalw F'Ewyrth Twm, draw ymhell yn Kentucky."

"O'r gore, mi galwaf finau chwi, F'Ewyrth Twm—o ran mae'n dda gen i am danoch chwi," ebe Eva. "'Rwan, F'Ewyrth Twm, i b'le'r ydych chwi yn myn'd?"

"Nis gwn i ddim, Miss Eva."

"Ni wyddoch chwi ddim!" ebe Eva.

"Na wn; maent am fy ngwerthu i ryw un, ond nis gwn i ddim i bwy."

"Fedr nhad eich prynu chwi," ebe Eva, "yn union; ac os pryn ef chwi, cewch le esmwyth. Mi ofynaf fi iddo heddyw."

"Diolch i chwi, fy moneddiges fach," ebe Twm.

Safodd y llestr am ychydig i gymeryd tanwydd, a chlywodd Eva lais ei thad, a rhedodd ato yn ysgafndroed.

Aeth Twm yn mlaen i helpu cario'r coed, ac yr oedd yn fuan yn brysur yn nghanol y llongwyr.

Yr oedd Eva a'i thad yn sefyll yn ymyl y ganllaw, i weled y llestr yn ail-gychwyn oddiwrth y lanfa; a chyda bod yr olwyn wedi rhoddi dau dro neu dri yn y dwfr, trwy ryw symudiad neu gilydd, fe dripiodd y fechan, ac a syrthiodd dros ochr y llestr i'r afon. Cynygiodd ei thad neidio ar ei hol, heb wybod pa beth yr oedd yn ei wneuthur, ond daliwyd ef o'r tu ol gan rai a welsant fod cynorthwy llawer mwy effeithiol wedi myned ar ol ei blentyn.

Yr oedd Twm yn sefyll ar y dec isaf, yn union oddi tani pan gollodd ei gafael. Ac efe a'i gwelodd yn disgyn ac yn suddo; aeth ar ei hol ar amrantiad llygad. I ddyn mawr, brestlydan, cryf ei freichiau fel efe, nid oedd cadw ar wyneb y dwfr boen yn y byd, hyd nes yr ail-ymddangosodd y plentyn, mewn moment neu ddau; ac efe a'i daliodd yn ei freichiau, a chan nofio at ymyl y llong, efe a'i hestynodd, yn wlyb ddiferu, i afael cannoedd o ddwylaw awyddus, y rhai a estynid allan i'w derbyn fel pe buasent oll yn eiddo un dyn. Yn mhen ychydig fynydau, dygwyd hi i ystafell y gwragedd, yn mreichiau ei thad, heb ond prin arwydd bywyd ynddi; lle y bu'r hyn sydd arferol dan y fath amgylchiadau—natur dda'r gwragedd yn ymryson am fod o ryw wasanaeth, ac felly yn achosi mwy o drwst a dyryswch, ac yn rhwystro ei hadferiad hyd yr oedd yn bosibl.

Dranoeth, diwrnod mwll, trymaidd, yr oedd yr agerdd-lestr yn nesâu at New Orleans; a gwelwyd arwyddion o barotoad a dysgwyliad yn mhob man trwyddi. Yn y cabin yr oedd pawb yn casglu eu pethau yn nghyd, ac yn eu trefnu i fod yn barod i lanio. Gwelid y steward a phawb yn glanhau ac yn scrwbio, ac yn gosod pob peth yn ei le yn y llestr hardd, fel y gallent lanio dan gamp. Ar y dec isaf eisteddai ein hen ffrind Twm, a'i freichiau yn mhleth, a'i lygad, yn awr ac yn y man, yn troi yn bryderus at y rhai oedd yn sefyll ar ei gyfer yr ochr arall.

Dyna lle'r oedd y brydferth Evangeline, braidd yn llwytach na'r dydd o'r blaen, ond heb ddim yn rhagor o effaith y ddamwain. Yn ei hymyl safai dyn lled ieuanc, hardd o gorpholaeth, ac argraff bonedd ar ei bryd a gwedd; pwysai ei benelin yn ddiofal ar fwndel o gotwm, ac yr oedd pwrs yn agored o'i flaen. Yr oedd cip-olwg ar y boneddwr yn ddigon i brofi mai tad Eva ydoedd. Yr un pen lluniaidd a hardd, yr un llygad mawr glas, yr un gwallt euraidd; ac eto yr oedd gwahaniaeth mawr yn eu hwynebpryd. Yn y llygad mawr, clir, goleu, yr un lliw a'r un llun, yr un fath yn union, eto heb ddim o'r ysbryd tawel, dwys a dwfn ag oedd yn meddiannu'r fechan: yr oedd y cwbl ynddo ef yn glir, yn cofn, ac yn oleu, ond goleuni'r byd hwn oedd yn gwbl; ar ei wefus ddêl a hardd, eisteddai gwên falch, yn tueddu at ddiystyrwch, a chyda'r fath uwch-raddoliaeth esmwyth a rhydd ag oedd yn gosod allan bob symudiad o'i eiddo yn brydferth a deniadol. Yr oedd ar y pryd yn gwrando ar Haley, gyda math o osgo ysmala, haner digrif a haner diystyrllyd, yr hwn oedd yn siarad yn llithrig am ragoriaethau yr anifail yr oeddynt yn bargenio am dano.

"Yr holl rasau moesol a Christionogol, yn llyfr perffaith, wedi ei rwymo mewn morocco du!" eb efe, pan ddarfyddodd Haley. "Wel, 'rwan, machgen i, faint ydi'r gost? fel y byddant yn dweyd yn Kentucky; mewn gair, pa swm raid dalu am hyn oll? Faint ydych am fy nghymeryd i mewn, yn awr? Allan â hi?"

"Wal," ebe Haley, "pe bawn i yn deyd trichant-ar-ddeg o ddolars am hwnyna, 'nawn i ddim ond dest safio 'mhen—na 'nawn yn wir."

"Druan oedd o!" ebe'r boneddwr, gan syllu arno'n watwarus, â'i lygad llym a bywiog; "ond y mae'n debyg y gadewch i mi ei gael am hyny, am fod yn neillduol o dda genych am danaf."

"Wal, mae'r ferch ifanc yma yn meddwl llawer iawn o hono fo, ac yn bur natrol."

"Oh, siwr iawn, dyna alwad am eich ewyllys da, fy ffrind. 'Rwan, fel math o elusengarwch Cristiongol, pwy mor rad y gallech fforddio ei werthu, o ran cymwynas i ferch ifanc sy'n awyddus iawn am ei gael?"

"Wal, 'rwan, 'styriwch y mater," ebe Haley; "'drychwch ar ei 'lodau fo, a'i frest lydan—mor gryfed a cheffyl. 'Drychwch ar ei ben o; mae'r talceni uchel yna yn dangos fod y niggar yn dyall cyfrifon; mi 'nan' y peth fyd fynoch chi. Mi sylwas i ar hynyna. 'Rwan, mae niggar o garn a llafn fel hwna yn werth cryn dipyn, o ran ei gorph yn unig, fel pe'dai, a barnu fod o'n bendew; ond rhowch chi alluoedd meddwl i fewn, a mi fedra' i ddangos fod gan hwn feddwl annghomon, wrth gwrs, mae o'n wetth mwy o lawer. Mae'r gwalch yna wedi bod â holl ofal ffarm ei feistr ar 'i 'sgwydda'. Mae gantho fo dalenta' enbydus at fusnes."

"Drwg, drwg, drwg iawn; mae'n gwybod gormod o lawer!" ebe'r dyn ieuanc, gyda'r un wên o sport ar ei wynebpryd. "Ni wnaiff o byth mo'r tro. Mae'ch pobl glyfer chwi bob amser yn dianc i ffordd, yn dwyn ceffylau, ac yn codi'r gŵr drwg, yn gyffredin. Y mae arnaf ofn y rhaid i chwi dynu i lawr gwpl o gannoedd am ei fod mor glyfer."

"Wal, hwyrach y gallai fod rhwbeth yn hyna, oni b'ai garitor o; ond mi fedra' i ddangos dan law i feistr ac erill, fod o'n reit grefyddol—y cr'adur mwya' am weddio, mwya' gostyngedig, a mwya' duwiol welsoch chi 'rioed. Mi fyddan' yn 'i alw fo'n bregethwr yn y wlad lle'r oedd o."

"Ac fe wnai'r tro yn gaplan teuluol i minau," ebe y dyn ieuanc yn sychlyd. "Dyna ddrychfeddwl campus. Mae crefydd yn beth digon prin yn ein tŷ ni."

"Siarad coegni yr ydych, yrwan."

"Sut y gwyddoch chwi hyny? Onid ydych newydd roi'ch gair ei fod yn bregethwr? A gafodd ef ei urddo gan gymanfa neu gynghor? Dowch, rhowch weled y papyrau."

Gallasai y masnachwr golli ei dymher, pe nas gwelsai yn nhroad y llygad fod yr holl ddigrifwch yma yn debyg o droi yn arian yn y diwedd; ond fel ag yr oedd, efe a osododd goden seimlyd ar y bwndel cotwm, ac a ddechreuodd chwilio rhyw bapyrau yn fanylaidd, a'r llall yn sefyll i edrych arno gyda math o ddigrifwch diofal.

"O papa, g'newch ei brynu o! ni waeth faint daloch chwi am dano," ebe Eva, yn ei glust, a chan sefyll ar y bwndel, hi a osododd ei breichiau am wddf ei thad. "Mae genych ddigon o arian, yr wyf fi yn gwbod. Mae arnaf fi ei eisiau."

"I ba beth, pwsi? Ydych chwi yn myn'd i'w gymeryd yn degan chwareu, neu geffyl pren, neu pa beth?"

"Mae arnaf eisiau ei wneud yn hapus."

"Dyna reswm newydd, beth bynag."

Yma estynodd Haley bapyr o garacter a ysgrifenasid gan Mr. Shelby, a chydiodd St. Clare ynddo rhwng bys a bawd, a thaflodd olwg ysmala drosto.

"Llaw-ysgrifen gŵr boneddig," eb efe, "spelio'n dda hefyd. Wel, 'rwan, nid wyf fi ddim yn siwr, wedi'r cwbl, yn nghylch y grefydd yma," gyda'r un troad rogus yn ei lygad. "Mae'r wlad wedi ei throi bron tu gwrthwyneb allan gan y crefyddwyr croen-wŷn; y fath bolitiCiaid crefyddol sydd genym o flaen etholiad—ac y mae cymaint o grefydd yn cael ei drafod, mewn gwlad ac eglwys, na ŵyr creadur ddim pwy a'i twylla' nesaf. Nis gwn i ddim ychwaith sut y mae crefydd yn sefyll yn y farchnad y dyddiau yma. Nid edrychais i ar y papyrau yn ddiweddar i weled y prisiau. Sawl cant o ddolars ydych yn ofyn ar gyfrif y grefydd yma?"

"Mae'n dda genoch chi siarad yn ddigri," ebe Haley; "ond y mae *synwyr* dan hyna i gyd. Mi wn i fod gwahaniaeth mewn crefydd. Mae'ambell un yn wael druenus; dyna grefydd y tŷ cwrdd, 'rwan; dyna grefydd y gweiddi a bloeddio, nid ydi rhai'n werth dim, mewn dû na gwŷn; ond y mae crefydd iawn, ac mi gwelis i hi mewn niggars mor amal a neb—y rhai llonydd, difrif, gonest, na 'nai'r holl fyd ddim 'i temtio nhw i 'neud peth feddylian' nhw fod yn ddrwg; ac mi welwch yn y llythyr yma beth mae meistr Twm yn ddeyd am dano fo."

"Yn awr," ebe St. Clare, gan edrych yn ddifrifol ar y *bank-notes*, "os gallwch chwi roi eich gair y medraf fi brynu crefydd *fel yna*, ac y bydd hyny yn rhyw beth yn fy ffafr i yn y llyfr fry, fel fy eiddo i, ni hidiwn i ddim pe b'awn yn talu tipyn rhagor am dano. Beth ydych yn ddweyd?"

"Wal, yn wir, fedra' i ddim dweyd hyny," ebe'r masnachydd. "Mae gen i ryw feddwl y rhaid i bawb sefyll yn ol ei bethau ei hun yn y fan hono."

"Mae hyny'n lled galed ar ddyn fo'n talu mwy am grefydd, ac na fedr o wneud dim defnydd o honi yn y sefyllfa lle bo mwyaf o'i heisiau," ebe St. Clare, tra bu'n cyfrif twr o filiau. "Dyna, cyfra d'arian, yr hen walch!" eb efe, gan estyn y dyrnaid i Haley.

"Pob peth yn ei le," ebe Haley, â'i wyneb yn dysgleirio o bleser; yna efe a dynodd allan hen botel inc, ac a lanwodd bapyr y gwerthiad, yr hwn a estynodd yn mhen ychydig fynydau i'r gŵr boneddig.

"Beth pe bawn i yn cael fy nosbarthu 'rwan," eb efe, wrth daflu golwg ar y papyryn, "nis gwn i faint a dalwn i! Dywedwch hyn-a-hyn am lun fy mhen, hyn-a-hyn am dalcen uchel, hyn-a-hyn am fy mreichiau, fy nwylaw, a'm coesau; ac wedi hyny, hyn-a-hyn am addysg, gwybodaeth, talentau, gonestrwydd, crefydd! Gwarchod ni, mae arnaf ofn mai ychydig iawn fyddai gwerth yr olaf yna! Ond dowch, Eva,"

eb efe, gan ymaflyd yn llaw ei ferch, a myned ar draws y llestr; dododd ei fys yn chwareugar dan ên Twm, a dywedodd mewn tymher lawen, "Cwyd dy ben, Twm, ac edrych sut yr wyt yn leicio dy feistr newydd."

Cododd Twm ei olygon. Nid oedd yn bosibl i natur beidio lloni wrth edrych ar wyneb hardd a siriol y dyn ieuanc; a theimlodd Twm y dagrau yn llenwi ei lygaid, pryd y dywedodd o waelod ei galon, "Bendith Duw a'ch dylyno chi, mas'r!"

"Wel, gobeithio gwneiff hi, Twm. Mae mor debyg o wneud ar dy gais di a nghais inau, yn ol pob peth a glywais i. Fedri di yru ceffylau, Twm?"

"Wedi 'marfer â cheffylau 'rioed," ebe Twm. "Fydda' Mas'r Shelby yn codi llawer iawn o honyn' nhw."

"Wel, yr wy'n meddwl dy osod i yru'r cerbyd, ar yr amod na wnei di ddim meddwi mwy nag unwaith yr wythnos, oddigerth y bydd rhyw alwad neillduol."

Edrychodd Twm yn hynod o wirion, ac fel pe buasai wedi cael briwo ei deimladau, a dywedodd, "Ni bydda' i byth yn yfed, mas'r."

"Mi glywais y stori yna o'r blaen, Twm, ond ni gawn weled. Fydd yn gyfleusdra neillduol i bawb y perthyn iddynt os na byddi. Na hidia machgen i," ebe efe, gyda gwên, pan welodd fod Twm yn dal i edrych yn drist, "nid oes genyf un amheuaeth nad wyt yn bwriadu gwneud yn dda."

"Ydw'n wir, ma'sr," ebe Twm.

"Ac mi gei fyd da hefyd," ebe Eva; "mae papa yn dda wrth bawb, ond ei fod bob amser yn chwerthin arnyn' nhw."

"Mae papa dan lawer o ddyled i chwi am y ganmoliaeth," ebe St. Clare, gan chwerthin a throi ar ei sawdl a cherdded ymaith.

## PENNOD XV.

### AM FEISTR NEWYDD TWM, AC AMRYWIOL FATERION ERAILL.

Gan fod edef bywyd ein cyfaill tlawd wedi dyfod yn awr yn gydweuedig â rhai o radd uwch, y mae'n angenrheidiol gwneud rhyw ychydig o sylwadau arweiniol yn eu cylch hwy.

Un o honynt, sef Augustine St. Clare, ydoedd fab i blanwr cyfoethog yn Louisiana. Cafodd y teulu eu dechreuad yn Canada. O ddau frawd, tra thebyg i'w gilydd mewn tymher a nodweddiad, sefydlasai un ar ffarm flodeuog yn Vermont, a daeth y llall yn blanwr goludog yn Louisiana. Gwraig foneddig o Ffrainc, un o'r Huguenotiaid, ydoedd mam Augustine, teulu yr hon a ymfudasent i Louisiana yn nyddiau ei sefydliad boreuol. Augustine a brawd arall oedd unig blant eu rhieni. Am fod cyfansoddiad ei gorph yn hynod o wanllyd, fel ei fam, anfonwyd ef i Vermont, fel y cryfheid ei gorph trwy effaith yr hin oeraidd ac iachus, a bu yno trwy ystod amryw flynyddoedd o'i ieuenctyd.

Yn ei faboed yr oedd yn nodedig iawn am ei deimladrwydd, yn debycach i dynerwch dynes nag i galedrwydd cyffredinol ei rywogaeth ei hun. Pa fodd bynag, mewn amser tyfodd rhisglyn garw gwrolaeth dros y tynerwch hwnw, ac ychydig feddyliasent mor fywiog a newydd yr oedd yn gorwedd yn ei galon, er hyny. Yr oedd ganddo dalentau o'r radd uchaf, er fod ei feddwl bob amser yn tueddu at y dychymygol a'r chwaethus; ac yr oedd ganddo ryw wrthwynebiad i wir fusnes bywyd ag sydd yn ganlyniad cyffredinol o'r cydbwys yma yn ngalluoedd y meddwl. Yn fuan wedi gorphen ei addysg colegol, enynodd ei holl natur yn un goferwad nwydwyllt o naws ffugiol. Daeth ei awr—yr awr nad yw'n dyfod ond unwaith: cyfododd ei seren yn y terfyn-gylch—y seren hono sy'n codi mor fynych yn ofer, i'w chofio ond megys rhywbeth mewn breuddwyd; ac yn ofer y cyfododd iddo ef. Ond i roi heibio y gyffelybiaeth, carodd ac enillodd serch dynes brydferth ac o feddwl godidog, yn un o'r Talaethau gogleddol, a dyweddïwyd hwynt. Dychwelodd i'r dehau i wneud parotoadau erbyn eu priodas, ond, yn dra annysgwyliadwy, anfonwyd ei lythyrau yn ol gyda'r post, yn nghyd a llythyr byr oddiwrth ei gwarchodwr yn dywedyd y byddai y ferch foneddig yn eiddo un arall cyn iddo ef dderbyn y llythyr. Wedi ei frathu i'r byw, meddyliodd yn ei wall gofrwydd fel llawer un arall, y medrai fwrw y cwbl allan o'i galon trwy un ymdrech egnïol—ond yn ofer. Yn rhy falch i ymbil neu ofyn am eglurhad, ymdaflodd ar unwaith i ganol ystwr cymdeithas y moeswych a'r llednais, ac yn mhen y pymthegnos ar ol derbyn y llythyr anffodus, croesawyd ef fel cariad gan y ferch lân oedd yn brif-hudoles y lle yn y tymhor hwnw; ac mor fuan ag y gellid gwneud pob peth yn barod, ymbriododd â'r corph lluniaidd, y ddau lygad duon, dysglaer,—a chan mil o ddolars; ac o ganlyniad, meddyliai pawb ei fod yn ddyn dedwydd.

Un diwrnod, pan oedd y ddeuddyn yn cadw gwyl eu priodas, ac yn croesawu nifer dewisol o'u cyfeillion gwych yn eu hafdy ysplenydd, ger llaw Llyn Pontchartrain, dygwyd llythyr iddo, mewn llaw-ysgrifen digon adnabyddus iddo. Estynwyd ef iddo, pan yn nghanol ymddiddan pleserus a chroesawus, mewn ystafell lawn o gwmpeini. Pan ganfu y llaw-ysgrifen, troes mor welw a'r angau, ond er hyny ceisiodd edrych yn dawel, a gorphenodd yr ymrafael chwarëus rhyngddo ef a gwraig foneddig ar ei gyfer; ond yn mhen ychydig, ymneillduodd o'r gymdeithas. Yn ei ystafell, ar ei ben ei hun, agorodd a darllenodd y llythyr, yr hwn yn awr

oedd waeth nac ofer ac annefnyddiol i'w ddarllen. Oddi wrthi hi yr oedd y llythyr, yn rhoi hanes manwl am yr erledigaethau a ddyoddefasai gan deulu ei gwarchodwr, i'r dyben o'i hudo i briodi eu mab hwy; ac adroddodd am yr hir amser yr amddifadwyd hi o'i lythyrau; ei bod wedi ysgrifenu drachefn a thrachefn, nes dechreu blino ac amheu; ac fod ei hiechyd wedi methu o dan y pryder a ddaethai arni; ac, o'r diwedd, ei bod wedi cael allan yr holl dwyll a arferid tuag atynt eill dau. Diweddodd y llythyr gydag ymadroddion o obaith a diolchgarwch, ac addefiadau o serch anfarwol, hyd angeu—yr hyn oedd chwerwach nac angeu ei hun i'r gwr ieuanc annedwydd. Ysgrifenodd ati yn ddioed:—

"Derbyniais eich llythyr—ond yn rhy hwyr; credais y cwbl a glywswn. Yr oeddwn yn orwyllt. *Yr ydwyf yn briod;* ac y mae pobpeth drosodd. Yn unig, annghofiwch—dyma'r cwbl a fedrwn wneud."

Ac fel hyn y terfynodd i Augustine St. Clare holl ffug a dychymyg bywyd. Ond yr oedd y gwirionedd yn parhau—y sylwedd, fel y draethell, lom, leidiog, wedi i'r cychod buain, y llongau a'u hadenydd gwynion, a swn y rhwyfau a chynghanedd y dwfr, lithro yn llyfn drosti, a myned heibio a dystewi, yno y mae'r llaid yn gorwedd yn wastad-lyfn, yn llyslyd, ac yn noeth—ond yn sylweddol.

Mewn ffug-draethawd, gellir tori calonau pobl, ac y maent yn marw, a dyna ddiwedd am danynt; ac mewn chwedl y mae hyn yn gyfleus iawn. Ond mewn buchedd naturiol nid ydym yn marw pan y mae pobpeth sy'n hyfryd i ni mewn bywyd yn marw. Ond y mae tymhor prysur a phwysig o fwyta, yfed, gwisgo, rhodio, ymweled, prynu, gwerthu, ymddyddan, darllen, a phobpeth sy'n gwneud i fyny yr hyn a elwir *byw*, i fyned trwyddo; ac yr oedd hyn eto i ddyfod i Augustine. Pe buasai ei wraig yn ddynes drwyddi, gallasai eto wneud rhywbeth—a medr dynes iawn wneud—rhywbeth i adglymu edafedd toredig einioes, a'u gweu drachefn yn bleth eirianwych. Ond ni fedrai Marie St. Clare gymaint a gweled eu bod wedi eu tori. Fel y dywedwyd o'r blaen, yr oedd yn ddynes hardd o lun, â dau lygad ysblenydd, a chan mil o ddolars, ond nid oedd yr un o'r rhai hyn yn eli i iachau meddwl clwyfus.

Pan gafwyd Augustine yn gorwedd ar y soffa, yn welw iawn ei wedd, ac yn cwyno mai cur tost yn ei ben oedd yr achos o'i gystudd, estynodd iddo ei photel o arogl adfywiol; a phan ddaeth y llwydni a'r cur yn y pen wythnos ar ol wythnos, cymaint a ddywedodd oedd na feddyliasai erioed fod Mr. St. Clare yn ddyn afiach; ond y mae'n ymddangos ei fod yn ddarostyngedig i boen yn y pen, ac fod hyny yn anlwcus iawn iddi hi, o herwydd nad oedd yn bleser iddo fyned gyda hi i gwmpeini, ac y mae'n edrych mor chwithig i ddynes fyned ar ei phen ei hun, a hwythau newydd briodi. Yr oedd yn dda gan Augustine yn ei galon ei fod wedi priodi dynes mor ddi-ddeall; ac wedi i fwynder a llyfnder y mis cyntaf wisgo ymaith, canfyddodd y gallai merch ieuanc brydferth, yr hon a fynwesid ac a weinyddid iddi ar hyd ei bywyd, fod yn feistres galed mewn teulu. Ni bu gan Marie erioed lawer iawn o serch, na llawer o deimlad; ac yr oedd yr ychydig a feddiannai wedi suddo i ryw hunan-serch diarwybod a dwys. Yr oedd wedi ei hamgylchynu â gweision a morwynion o'i mebyd, holl waith y rhai oedd gweini i'w mympwy hi; ni feddyliasai erioed fod ganddynt na theimladau na hawl o'r eiddynt eu hunain. Unig blentyn ei thad oedd hi, ac ni omeddasai hwnw erioed iddi ddim o fewn gallu dynol ei gyrhaedd; a phan ddaeth i'w hoedran, yn brydferth, yn foneddigaidd, ac yn etifeddes, o ganlyniad yr oedd y meibion oll, dewisol ac annewisol, yn ymgrymu wrth ei thraed, ac nid oedd ganddi un amheuaeth nad oedd Augustine yn ddyn ffortunus annghyffredin i gael meddiant o honi. Camgymeriad mawr yw meddwl fod dynes heb galon dyner yn gyfnewidiad dymunol am un serchog. Nid oes neb ar y ddaear yn gofyn mwy o gariad gan arall na dynes hollol hunanol; a pho mwyaf annghariadus y mae hi'n myned, mwyaf eiddigus a manwl y mae hi yn gofyn serch, a hyny i'r ffyrling eithaf. Gan hyny, pan ddechreuodd St. Clare adael heibio y dyfalwch a'r hoffder a ddangosai yn y dechreu, canfyddodd nad oedd ei arglwyddes yn barod iawn i ryddhau ei chaethwas; yr oedd digon o ddagrau, sori, a mân dymhestloedd, yr oedd anfoddlondeb, a churio, ac edliwiadau. Yr oedd St. Clare yn dda ei natur ac yn dyner, a cheisiai wneud i fyny trwy roddi iddi anrhegion a'i gwenieithio; a phan ddaeth Marie yn fam i ferch dlws, fe deimlodd, mewn gwirionedd, ryw ddeffroad o dynerwch.

Yr oedd mam St. Clare yn ddynes o garacter dyrchafedig a difrycheulyd, a galwodd y plentyn hwn ar enw ei fam, gan ddychymygu yn hoff y byddai yn ail ddelw o honi. Sylwasai ei wraig ar y peth gydag eiddigedd anfoddlawn, ac edrychai ar orhoffder ei gwr am y plentyn gyda drwg-dybiaeth ac anesmwythder. Ymddangosai iddi hi fod y cwbl o'i serch tuag at Eva megys yn cael ei ddwyn oddiarni ei hunan. O amser genedigaeth y plentyn hwn dechreuodd ei hiechyd wanhau. Yn mhen ychydig o flynyddau,—o herwydd bywyd o syrthni parhaus, mewn corph a meddwl, prudd-der ac anfoddlonrwydd dibaid, yn nghyd a'r gwendid cyffredinol sydd ynglyn ag amser magu—trowyd y ferch ieuanc wridog yn ddynes felen, wywedig, afiachus, a threuliodd ei hamser o dan am-

rywiol glefydon dychymygol, ac ystyriai ei hun yn mhob modd fel yn cael ei thrin yn waeth ac yn dyoddef mwy na neb yn y byd.

Nid oedd dim diwedd ar ei hamrywiol gwynfanau; ond ei phrif ddolur oedd llesgedd a phoen yn y pen, yr hyn a'i cadwai weithiau yn ei hystafell am dri diwrnod o'r chwech. O ganlyniad, yr oedd holl reolaeth y tŷ wedi disgyn i ddwylaw gweinidogion, a gwelodd St. Clare fod pobpeth yn myned yn mlaen yn dra annghysurus. Yr oedd ei unig ferch yn hynod o wanllyd, ac am nad oedd ganddi neb i edrych ar ei hol a gweini iddi, ofnai y collai ei hiechyd, ac efallai ei bywyd hefyd, o herwydd anallu ei mam. Yr oedd wedi ei chymeryd gydag ef ar daith i Vermont, ac wedi perswadio ei gyfnither, Miss Ophelia St. Clare, i ddyfod gydag ef i'w breswylfod ddeheuol; ac y maent yn awr yn dychwelyd yn y llestr hwn, lle y dygasom hwynt ger bron ein darllenwyr.

Ac yn awr, tra y mae tyrau a phinaclau New Orleans yn dyfod i'r golwg draw, y mae genym eto ddigon o hamdden i ddyfod â Miss Ophelia yn mlaen, a thraethu ychydig o'i hanes.

Pwy bynag a drafaelodd yn nhalaethau New England, daw i'w gof weled mewn rhyw bentref tawel, y ffarmdy mawr, gyda'r llanerch wyrddlas lân o flaen y drws, wedi ei chysgodi â dail llydain y sugar-maple; cofia hefyd am yr olygfa o drefnusrwydd a thawelwch, o lonyddwch parhaus a digyfnewid sydd megys yn gorphwys ar yr holl fan. Nid oedd dim ar goll, dim o'i le, dim cymaint a pholyn yn rhydd yn y *ffens*, dim llaesod nac annhrefn yn y buarth, a'r llwyni clysion o lilac yn tyfu o dan y ffenestri. Cofia hefyd am yr ystafelloedd eang, glân, o'r tu mewn i'r tŷ, nad ymddengys byth fod dim yn cael ei wneud neu am gael ei wneud ynddo, lle y mae pobpeth ar unwaith ac am byth yn hollol yn ei le, a'r holl drefniadau teuluaidd yn symud mor fanwl a chywir a'r hen gloc yn y gornel. Ac yn "ystafell y teulu," fel ei gelwir, cofia fod yno hen lyfrgell barchus, â'i drws gwydr, yn cynwys Hanesyddiaeth yr Hen Oesoedd gan Rollin, Coll Gwynfa gan Milton, Taith y Pererin, a Bibl Teuluaidd Scott, yn sefyll yn drefnus yn ochr yn ochr, yn nghyd â lluaws o lyfrau dibrifol a pharchus eraill. Nid oes na gweision na morwynion yn y tŷ, neb ond yr hen wraig foneddig yn y cap claerwyn, a'i spectol ar ei thrwyn, yn eistedd i wnïo gyd â'i merched bob prydnawn, fel pe na buasai dim erioed wedi cael ei wneud neu i gael ei wneud—yr oedd hi a'i merched *wedi gwneud y gwaith*, mewn rhyw ran foreuol o'r dydd, ac ar bob awr, efallai, o'r gweddill o hono yr oedd pobpeth yn ymddangos wedi ei orphen. Ni welid byth gymaint ag ysmotyn ar lawr yr hen gegin, ac nid oedd y byrddau, y cadeiriau a'r amrywiol lestri, byth allan o'u lle, er fod tri ac weithiau bedwar o brydiau bwyd yn cael eu parotoi yno, a'r holl olchi a'r smwddio i'r teulu yn cael ei wneud yno, a phwysi o fenyn a chaws yn dyfod i fodoliaeth yno mewn ffordd ddystaw a dirgelaidd.

Ar y fath ffarm, ac yn y fath dŷ a theulu, y treuliasai Miss Ophelia bump-a-deugain mlynedd o fywyd tawel, pan wahoddwyd hi gan ei chefnder i ymweled â'i balas yn y dehau. Er mai hi oedd yr hynaf o'r teulu mawr, eto yr oedd yn cael ei hystyried gan ei thad a'i mam fel un o'r "plant," ac yr oedd y cynygiad iddi fyned i Orleans yn ddygwyddiad tra phwysig yn y teulu. Cymerodd yr hen dad penllwyd Fap Morse allan o'r llyfrgell, ac edrychodd am hydred a lledred y lle, a chwiliodd lyfr o deithiau Flint yn y De a'r Gorllewin i gael boddloni ei hun mewn perthynas i natur y wlad.

Gofynai yr hen fam dda, yn bryderus, "ai nid lle drygionus iawn oedd Orleans," gan ddywedyd ei fod yn ymddangos iddi hi agos mor waethed a myned i'r ynysoedd Sandwich, neu i rywle arall yn mysg y paganiaid.

Gwyddid yn nhŷ'r gweinidog, yn nhy'r Doctor, ac yn siop Miss Peabody, y miliner, fod Ophelia St. Clare "yn siarad" am fyned i lawr i Orleans gyda'i chefnder; ac o ganlyniad nis gallai yr holl bentref lai na rhoi eu cynorthwy i *siarad* am y fath fater pwysfawr. Nid oedd y gweinidog, yr hwn a safai yn dalgryf o blaid diddymiad y gaethfasnach, yn hollol ddiamheus na byddai cymeryd y fath daith yn gefnogiad i'r deheuwyr i ddal eu gafael yn eu caethion; tra yr oedd y doctor, yr hwn oedd yn drefedigaethwr diysgog, yn barnu y dylasai Miss Ophelia fyned yno, i ddangos i bobl Orleans nad oedd pobl y gogledd yn meddwl mor galed am danynt ar ol y cwbl. Yn wir, yr oedd ef yn tybied y dylai pobl y dehau gael eu cefnogi. Pa fodd bynag, pan wybuwyd yn sicr ei bod wedi penderfynu myned, gwahoddwyd hi allan i de gan ei holl gyfeillion a'i chymydogion bob dydd am bythefnos gyfan, a chwiliwyd allan yn drwyadl i'w dyben yn myned, a pheth oedd ganddi mewn golwg. Yr oedd Miss Moseley, yr hon a ddaethai i'r tŷ i gynorthwyo i wneud y gwisgoedd, yn cynyddu beunydd mewn cymeriad o herwydd ei medrusrwydd yn y gorchwyl pwysig hwnw. Cafwyd allan fod y Sewïer Sinclare (fel y talfyrid yr enw yn gyffredin yn y gymydogaeth) wedi rhoddi i Miss Ophelia haner can' dolar, a pheri iddi brynu unrhyw ddillad a welai yn dda; ac fod dwy wisg newydd o sidan, a bonnet, wedi cael anfon am danynt i Boston. Mewn perthynas i'r priodoldeb o fyned i'r fath gost, yr oedd gwahaniaeth yn meddyliau pobl. Rhai yn haeru fod y peth yn burion, am unwaith mewn oes, ac ystyried pobpeth; a'r lleill yn haeru yn gadarn mai gwell fuasai anfon yr

arian i'r cenhadon; ond yr oedd pob plaid yn cytuno na welwyd erioed yn y parthau hyny y fath barasol a hono a dderbyniwyd o New York, ac fod ganddi un wisg sidan mor dew ag y gallai sefyll ei hun, pa beth bynag ellid ddywedyd am y berchenoges. Yr oedd chwedl gredadwy ar led fod gan Miss Ophelia un hances poced a lâs o'i chwmpas—a dywedid fod hyd yn oed y conglau wedi eu gweithio; ond ni chafwyd dim sicrwydd boddhaol ar y pwnc olaf hwn, ac yn wir y mae heb ei setlo hyd y dydd heddyw.

Y mae Miss Ophelia, fel y gwelir hi'n awr yn sefyll o'ch blaenau ar yr agerfad, mewn gwisg drafaelio o lian llwyd gloyw iawn, yn dal, yn glws a phrydferth ei hymddangosiad. Yr oedd ei gwyneb yn deneu, ac yn lled lym; y gwefusau wedi eu gwasgu at eu gilydd, fel rhywun sy'n arferol o wneud ei meddwl i fyny yn benderfynol ar bobpeth; ac yr oedd ei llygaid craff, tywyll, yn hynod o chwiliadwy, ac yn ochelgar yn eu symudiad, yn rhedeg dros bobpeth, fel pe byddent yn edrych am rywbeth i gymeryd gofal o hono.

Yr oedd ei holl symudiadau yn gyflym, yn benderfynol, ac yn egnïol; ac er nad oedd hi byth yn siarad llawer, yr oedd yr hyn a ddywedai yn union i'r pwrpas.

Yn ei harferion yr oedd yn gorpholaeth byw o iawndrefn, rheol, a manylder. Yr oedd mor gywir i'w hamser a'r cloc, ac mor anhawdd ei heddychu a pheiriant rheilffordd; ac yr oedd yn diystyru ac yn ffieiddio pobpeth i'r gwrthwyneb.

Pechod y pechodau—swm pob drygau—a ddarlunid ganddi mewn un gair cyffredin a phwysig yn ei geirlyfr, "diymadferth," (*shiftless.*) I ddangos ei diystyrwch eithaf rhoddai bwyslais mawr ar y gair "diymadferth;" ac â hwn y desgrifiai bobpeth oedd yn myned yn mlaen heb berthynas uniongyrchol ac anffaeledig â chyflawniad yr hyn fyddai mewn golwg. Pobl na wnaent ddim, neu na wyddent yn iawn pa beth oeddynt am ei wneud, neu na chymerent y ffordd unionaf i gyflawni yr hyn a gymerent mewn llaw, oeddynt wrthddrychau o'i llwyr ddiystyrwch; diystyrwch a ddangosai trwy ryw edrychiad gwgus, caled, yn hytrach nac mewn geiriau, fel pe buasai yn scornio dywedyd dim yn nghylch y mater.

Mewn perthynas i addysg, yr oedd ganddi feddwl clir, cadarn, a bywiog, ac wedi darllen llawer mewn hanesyddiaeth, a'r hen awduron Seisnig goreu, ac yn meddwl yn rymus, o fewn cyffiniau rhyw gylch cyfyng. Yr oedd ei daliadau crefyddol i gyd wedi eu gwneud i fyny, a'u henwau yn ysgrifenedig arnynt yn bendant ac eglur, fel y bwndeli o glytwaith yn ei thrwnc; yr oedd nifer pennodol o honynt, ac heb gymaint ag un i'w chwanegu atynt byth. Felly hefyd yr oedd ei drychfeddyliau mewn perthynas i faterion ymarferol y bywyd hwn—megys cadw tŷ, yn ei holl ganghenau, ac achosion gwladol ei phentref ei hun.

Ac o dan y cwbl, yn ddyfnach na dim arall, yn uwch ac yn lletach, gorweddai yr egwyddor gryfaf yn ei bodoliaeth, sef cydwybodolrwydd. Nid oes unman lle y mae cydwybod mor hollol arglwyddiaethol ag ydyw yn mysg merched New England. Hi ydyw y sylfaen o wenithfaen sy'n gorwedd ddyfnaf yn y ddaear, ac yn dyrchafu allan, hyd yn oed i benau y mynyddoedd uchaf.

Yr oedd Miss Ophelia yn gaeth-forwyn hollol i'r "*mi ddylai.*" Ond iddi unwaith wybod yn sicr fod "llwybr dyledswydd" fel y galwai ef, yn rhyw fan ar ei chyfer, nid oedd na dwfr na thân a'i rhwystrai ar hyd'ddo. Hi a gerddai yn syth i lawr i waelod ffynon, neu i fyny at drwyn magnel âg ergyd ynddo, os byddai ond yn berffaith sicr mai yno yr oedd y llwybr yn arwain. Yr oedd ei phrawf-reol o'r hyn sydd yn iawn mor ddyrchafedig, mor oll-gofleidiol, ac mor fanwl, ac yn cyd-ddwyn mor lleied â gwendid dynol, er iddi ymdrechu yn orchestol i'w chyrhaedd, ni fedrodd erioed wneud hyny yn wirioneddol, ac o ganlyniad yr oedd yn cael ei blino beunydd gan deimlad o'i diffygion. Rhoddai hyn ryw wawr led erwin a phrudd-aidd ar ei nodweddiad crefyddol.

Ond pa sut yn y byd y mae Miss Ophelia yn medru cyd-fyn'd âg Augustine St. Clare—y gor-hoenus, yr esgeulus, y rhydd-dybiwr—yn fyr, un yn sangu yn ddigywilydd ac yn ddiofal ar ei harferion a'i mympwyon hoffaf?

Wel, i ddweyd y gwir, yr oedd Miss Ophelia yn hoff iawn o hono.

Pan oedd yn fachgen, hi a ddysgai iddo ei Gatecism, a drwsiai ei ddilad, a gribai ei ben, a'i dygai ef i fyny yn y ffordd y dylai rodio ynddi; a chan fod yn ei chalon ryw gynhesrwydd tuag ato, enillodd Augustine (fel yr arferai wneud â'r rhan fwyaf o bobl) ran fawr o honi iddo ei hun, ac o herwydd hyny llwyddodd yn hawdd iawn i'w pherswadio fod "llwybr ei dyledswydd" yn arwain tua New Orleans, ac fod yn rhaid iddi fyned gydag ef i gymeryd gofal am Eva, ac i achub pethau rhag myned i ddystryw yn ystod mynych selni ei wraig. Merwinodd ei chalon wrth feddwl fod tŷ heb neb i edrych ar ei ol; ac hefyd yr oedd yn caru y lodes fach hawddgar, fel, yn wir, y gwnai pawb arall; ac er ei bod yn edrych ar Augustine fel rhyw haner pagan, eto yr oedd yn ei hoffi, yn chwerthin am ben ei ddigrifwch, ac yn cydymddwyn â'i wendidau, i'r fath raddau ag oedd yn syndod i'r rhai a'i hadwaenent. Ond pa faint bynag yn ychwaneg sydd i'w wybod am Miss Ophelia, rhaid i'r darllenydd ei gael allan trwy gydnabyddiaeth bersonol.

**Dyna hi,** yn eistedd yn ystafell wych y llestr, **wedi ei** hamgylchynu â llu o gydau carped **bychain,** tryneiau, basgedi, pob un yn cynwys **rhyw beth** gwerthfawr, yr hwn gyda gwyneb **difrifol** y mae hi'n brysur yn ei rwymo, ei g'lymu, ei bacio, neu ei sicrhau.

"Yrwan, Eva, a ydych chwi wedi cadw cyfrif o'ch pethau? Naddo, mae'n debyg, nid ydi plant byth yn gwneud; dyna'r cwd carped smotiog, a'r band-box bach, â'ch bonnet oreu ynddo—dyna ddau; a'r gôd o India-rwbber, yn dri; a'm blwch tâp a nodwyddau i, yn bedwar; a'm band-box, yn bump; a'm box coleri, yn chwech; a'r trwnc bach blewog hwnw, yn saith. Pa beth a wnaethoch â'ch cysgod rhag yr haul? Rhoddwch ef i mi, a gadewch i mi roi tipyn o bapyr o'i gwmpas, a'i rwymo wrth yr umbrela gyda'm cysgod i; dyna chwi."



"O Modryb, nid ydan' ni ddim ond myn'd adre—pwy iws?"

"I'w gadw'n ddèl, blentyn; rhaid i bobl gymeryd gofal gyda'u pethau, os ydyn' nhw byth yn meddwl am gael pethau; ac 'rwan, Eva, ydi eich gwniadur chwi wedi ei chadw?"

"Yn wir, modryb, ni wn i ddim."

"Wel, na hidiwch; mi edrychaf fi dros eich box chwi; gwniadur, cŵyr, dwy bellen, siswrn, cyllell, nodwydd-dâp; pob peth yn iawn —dodwch ef i mewn yma. Pa sut y gwnaethoch, blentyn, wrth ddyfod, a neb ond eich tad gyda chwi? Mi feddyliwn i b'asech yn colli pob peth oedd genych."

"Wel, modryb, mi ddaru mi golli llawer iawn; ac yna, pan 'rosem yn rhyw le, gwnai papa brynu rhai yn eu lle."

"Gwarchod ni, blentyn, fasiwn ffordd!"

"Ffordd esmwyth iawn oedd hi," ebe Eva.

"Un *shiftless* iawn oedd hi," ebe Miss Ophelia.

"O, modryb, beth a 'newch chwi, rwan?" ebe Eva. "Y mae'r trwnc yma yn rhy lawn i gau."

"Y mae'n *rhaid* iddo gau," ebe modryb, gan edrych fel cad-lywydd, ac ar yr un pryd yn stwffio'r pethau i mewn ac yn neidio ar y caead; ond yr oedd agen fechan i'w gweled eto rhwng yr ymylau.

"Neidiwch i fyny yma, Eva!" ebe Miss Ophelia, yn wrol; "yr hyn a wnaed unwaith, gellir ei wneud eto. Mae y trwnc yma *i gael* ei gau a'i gloi—nid oes dim dwywaith am dani."

A'r trwnc, wedi cael ei ddychrynu gan y geiriau penderfynol hyn, a gauadd. Rhoes yr hespan glec yn y twll, a throes Miss Ophelia yr agoriad yn y clo, a dododd yn ei phoced yn fuddugoliaethus.

"Yrwan, yr ydym yn barod. Ymh'le mae eich papa? Yr ydwyf fi'n meddwl ei bod yn bryd i yru'r pethau yma allan. Edrychwch o gwmpas Eva, a chwiliwch am eich tad."

"O dacw fo, y mae yn y pen draw i gabin y boneddigion yn sugno orange."

"Nid ydyw yn gwybod ein bod yn dyfod mor agos," ebe'r fodryb; "oni byddai yn well i chwi fyned â siarad âg ef?"

"Nid yw papa byth mewn brys o gwmpas dim yn y byd," ebe Efa, "ac nid ydym wedi dyfod at y làn eto. Piciwch i fyny at y canllawiau, modryb. Edrychwch! Dyna ein tŷ ni, i fyny yr heol acw."

Yn awr, dechreuodd y llestr duchan yn drwm, fel rhyw anghenfil mawr wedi blino, a gwthiodd yn mlaen i fysg y lluaws o agerdd-longau yn y porthladd; ac Eva, gyda llawenydd, a bwyntiodd allan y gwahanol glochdai, tÿrau, a phethau hynod eraill, a welai yn ei dinas enedigol.

"Ie, ie, y mae'r cwbl yn glws iawn," ebe Miss Ophelia. "Ond, gwarchod ni! y mae'r llong wedi sefyll! Ymh'le mae eich tad?"

Ac yn awr daeth y dwndwr o lanio—oddeutu ugain o *waiters* yn rhedeg yn ol ac yn mlaen ar unwaith—dynion yn tynu yn y tryneiau, y cydau, a'r cistiau—merched yn galw ar eu plant, a phawb yn ymdyru at y planciau, i fyned i'r lân."

Eisteddai Miss Ophelia yn benderfynol ar y trwnc ystyfnig a orchfygasid ganddi, a chan osod ei holl eiddo yn rhes drefnus, ymddangosai megys yn penderfynu eu hamddiffyn hyd y diwedd.

"A gaf fi gym'ryd eich trwnc, ma'am?" "A gaf fi gym'ryd eich paciau, ma'am?" "Gadewch i mi edrych ar ol eich pethau, ma'm." "Oni chaf fi gym'ryd y rhai'n, missis?" yn byddaru ei chlustiau. Ond eisteddodd yn ddiysgog, mor syth a nodwydd 'sanau wedi ei phlanu mewn bwrdd, gan ddal gafael yn dŷn yn ei humbrela a'i pharasol, ac ateb gyda'r fath benderfyniad ag oedd yn ddigon i daro dychryn hyd yn oed i galon cludydd llog, a synu yn awr ac yn man, a dywedyd wrth Eva, "pa

beth ar y ddaear y mae eich tad yn ei feddwl? —yn siwr, nid yw o ddim wedi syrthio dros y bwrdd—y mae'n rhaid fod rhyw beth wedi dygwydd;" a chyda'i bod yn dechreu dirwyn ei hun dros ei phen i drallod, daeth St. Clare i fyny gyda'i ysgogiad ysmala arferol, a chan roddi i Eva ddarn o'r orange ag oedd yn ei fwyta,—dywedodd,

"Wel, fy nghares Vermont, y mae'n debyg eich bod yn hollol barod?"

"Yr ydwyf fi'n barod, wedi bod yn dysgwyl er's agos i awr," ebe Miss Ophelia; "yr oeddwn i'n dechreu bod yn anesmwyth iawn am danoch."

"Wel, y mae'r cerbyd yn ymyl, ac y mae'r dyrfa wedi myned heibio 'nawr, ac mi fedrwn gerdded yn rhwydd ac mewn dull Cristionogol, heb gael ein gwthio a'n pwnio. Hwde," eb efe wrth yrwr oedd yn sefyll y tu ol iddo, "cymer y pethau yma."

"Mi edrychaf fi ar ei ol i weled ei fod yn eu rhoddi i mewn," ebe Miss Ophelia.

"Oh, nonsens, fy nghares, i ba ddefnydd?" ebe St. Clare.

"Wel, modd bynag, mi gariaf fi hwn, a hwn, a hwn," ebe Miss Ophelia, gan bigo allan dri box a bag bychan.

"Fy Miss Vermont anwyl, ni wiw i chwi wneud yma fel y byddech yn gwneud ar y Moelydd Gwyrddion. Y mae'n rhaid i chwi ymddwyn yn rhyw beth tebyg i bobl y dehau, a pheidio cerdded o dan yr holl lwyth yna. Mi feddyliant mai merch mewn gwasanaeth ydych; rhoddwch hwynt i'r dyn yma; efe a'u gesyd i lawr mor esmwyth a phe byddent yn wyau."

Edrychodd Miss Ophelia yn drist pan gymerodd ei chefnder y trysorau oddi arni, ond troes yn llawen iawn pan ganfu ei holl bethau gyda hi yn ddiangol yn y cerbyd.

"Ymh'le mae Twm?" ebe Eva.

"Oh, y mae yna, o'r tu allan, fy ngeneth i. Yr ydwyf fi yn myn'd i'w gymeryd o i fyny at eich mam yn hedd-offrwm, yn lle'r cena' meddw a ddymchwelodd y cerbyd."

"Oh, mi wneiff Twm yrwr gwych, yr ydwyf fi'n siwr," ebe Eva, "ni wneiff o byth feddwi."

Safodd y cerbyd o flaen drws hen blasdy, wedi ei adeiladu yn y dull haner Yspaenaidd haner Ffrengig hwnw a welir yma ac acw mewn rhai parthau o New Orleans. Adeiladasid ef yn ol cynllun y Moors—yn bedwar-ochrog, ac yn amgylchu cyntedd, i'r hwn y gyrwyd y cerbyd o dan fwa. Yr oedd yn amlwg fod y cyntedd o'r tu mewn wedi cael ei drefnu i foddhau blys moethus a chywrain. Yr oedd rhodfeydd yn rhedeg o amgylch y pedair ochr, yn gorphwys ar fwäau ysgafn a cholofnau meinion, âg addurniadau Arabaidd arnynt, y rhai a ddygent y meddwl yn ol, megys mewn breuddwyd, i hen oesoedd dychymygol Yspaen. Yn nghanol y cyntedd yr oedd ffynon yn pistyllio i fyny ddwfr arianwŷn, yr hwn a ddisgynai yn barhaus yn wreichion dysglaer i gafn o fynor, wedi ei wregysu âg ymyl-waith llydan o griullys pêr eu harogl. Yr oedd y dwfr gloyw grisialaidd yn llawn o bysgod euraidd ac arianaidd, yn saethu drwyddo ac yn serenu fel gemau byw. Oddiamgylch y ffynon yr oedd cerddedfa, wedi ei phalmantu â cheryg mân amryliw; ac yr oedd y llwybr hwn wedi ei amgylchynu â chantell o laswellt llyfn, esmwyth fel melfed, ac yn am-gau y cwbl yr oedd ffordd gerbyd wastad. Yr oedd dwy goeden aur-afalaidd fawr, yn llawn blodeu, yn taflu eu cysgod hyfryd dros y cyfan; ac o bob tu i'r glaswellt yr oedd llestri mawrion o waith cywrain a lliwiau gwych, yn cynwys planigion blodeuog dewisol, o'r gwledydd poethion. Yr oedd yno bomgranadwydd mawrion, â'u dail llyfnion gloywon, a'u blodeu fflamgoch; y jessamine Arabaidd dywyll-ddeiliog, â'u sêr dysgleirwych; geraniums; rhosynau mawrion, yn crymu o dan eu gorlwyth gwych; y verbenum lemon-aroglaidd; y cwbl yn taflu allan eu blodeu ac yn gwasgaru eu harogl peraidd; ac yma ac acw gwelid rhyw hen aloe, â'i ddail trymion, yn eistedd yn dawel fel rhyw swynwr oedranus yn gorphwys yn ardderchog yn mysg y llysiau mwy darfodedig o'i amgylch.

O flaen y rhodfeydd o amgylch y cyntedd yr oedd lleni cywrein-wê, o ryw fath o ddefnydd Mooraidd, y rhai a dynid i lawr i gau allan belydrau yr haul, pan y mynid. Ar y cyfan, yr oedd golygfa'r lle yn odidog ac yn rhyfeddol.

Fel yr oedd y cerbyd yn gyru i mewn, yr oedd llawenydd Eva mor fawr,—ymddangosai fel aderyn yn barod i ehedeg o'i fagl.

"Oh, fy nghartref clws, onid ydyw yn anwyl!" ebe hi wrth Miss Ophelia. "Onid ydyw yn brydferth!"

"Mae yn lle hardd," ebe Miss Ophelia, fel yr oedd yn disgyn o'r cerbyd; "ond y mae'n ymddangos i mi yn o hen ac yn lled baganaidd."

Neidiodd Twm i lawr, ac edrychodd o'i gwmpas gyda rhyw fwynhad, tawel, dystaw. Dylid cofio fod y negro wedi cael ei drosglwyddo o'r gwledydd gorwychaf yn y byd, ac y mae serch yn ei galon at bob peth sy'n ardderchog, yn wych, ac yn ddychymygol; ond y mae'r serch yma, pan na ddefnyddir yn iawn ac heb chwaeth priodol, yn dwyn arno ddirmyg y dyn gwŷn oeraidd a mwy manwl.

St. Clare, calon yr hwn oedd yn llawn o awenydd a serch at bob peth prydferth, nis gallai lai na gwenu wrth sylwad Miss Ophelia mewn perthynas i'w breswylfod, a chan droi at Twm, yr hwn oedd yn sefyll ac yn edrych o'i gwmpas, â'i wyneb dû yn dysgleirio gan ryfeddod, dywedodd,—

"Twm, fy machgen i, mae hyn yn ymddangos megys yn dy foddio."

"Ydi, mas'r, mae'n apped i'r dim," ebe Twm.

Aeth yr ymddyddan hwn heibio mewn amrantyn, a dygwyd y trynciau i mewn, talwyd i'r cludydd, a daeth tyrfa o bob oedran, a maintioli—dynion, merched, a phlant—dan redeg ar hyd y rhodfeydd, i lawr ac i fyny, i weled mas'r yn dyfod i mewn. Yn mhlith y cyntaf o honynt daeth dyn ieuanc melyn-ddû yn mlaen, yr hwn, fel y gwelid yn amlwg, oedd ryw un nodedig, wedi ymwisgo yn y modd gwychaf, ac yn chwifio ei napcyn boced berarogiaidd, o gambric gwŷn.

Yr oedd y gŵr yma wedi bod yn hynod o egnïol a bywiog yn gyru ymaith y dorf o weision a morwynion i'r pen draw i'r verandah.

"Sefwch yn ol i gyd! Y mae'n g'wilydd gen i drostoch," ebe efe, mewn llais awdurdodol. "A fynech chwi ymwthio i gwmpeini teuluaidd eich meistr, yr awr gyntaf ar ol ei ddychweliad?"

Edrychasant i gyd yn swil ar ol yr araeth hyawdl hon, a safasant yn dŵr gyda'u gilydd o hir-bell, oddieithr dau neu dri o borthorion, y rhai a ddaethant yn mlaen i gario'r paciau i mewn.

Mewn canlyniad i drefniadau rhagorol Mr. Adolph, pan droes St. Clare o amgylch wedi talu ei gyflog i'r cludydd, nid oedd neb mewn golwg ond Mr. Adolph ei hun, yn sefyll yn wych yn ei wasgod sidan, a'i lodrau gwynion, a chadwen aur wrth ei watch, ac yn ymgrymu yn hynod o fwyn a boneddigaidd.

"Ah, Adolph, ai ti sy' 'na!" ebe ei feistr, gan estyn iddo ei law; "sut yr wyt ti machgen i?" tra yr oedd Adolph yn tywallt allan araeth dafod-rydd, yr hyn a barotoisai bythefnos o'r blaen.

"Wel, wel," ebe St. Clare gan fyned heibio yn ei ddull ysmala arferol, "mae'r araeth yna wedi ei gwneud yn glyfer iawn. Edrych ar ol y paciau. Mi ddeuaf fi at y bobl yn y mynyd;" a chan ddywedyd felly, arweiniodd Miss Ophelia i mewn i barlawr mawr oedd yn agor ar y verandah.

Tra'r oedd hyn yn myn'd yn mlaen, yr oedd Eva wedi rhedeg fel aderyn trwy'r porth, a thrwy'r parlwr, i ystafell fechan o'r neilldu.

Cyfododd dynes dàl, lygad-ddû, felyn-lwyd, ar ei lled-eistedd ar esmwyth-fainc y gorweddai arni.

"Mamma!" ebe Eva, gyda gor-lòndeb, gan daflu ei hun ar ei gwddf, a'i chofleidio drosodd a throsodd drachefn.

"Mi wneiff hyna'r tro—cym'rwch ofal blentyn—peidiwch, yr ydych yn codi cur yn fy mhen!" eb ei mam, gan ei chusanu yn lled oeraidd.

Daeth St. Clare i mewn, cofleidiodd ei wraig mewn dull diffuant, priodasol, ac yna dygodd ei gyfnither yn mlaen. Cyfododd Marie ei llygaid mawrion i fyny at ei chyfnither, edrychodd arni yn haner syn, a derbyniodd gyda hi rhyw foesgarwch marwaidd. Yn awr ymwthiodd tyrfa o wasanaethyddion yn mlaen at y drws, ac yn eu mysg yr oedd dynes felyn-ddû, o ganol oedran, o ymddangosiad tra pharchus, yr hon a ddaeth i mewn yn flaenaf, dan gryndod o ddysgwyliad a llawenydd.

"Oh, dyna Mammy!" ebe Eva, gan neidio ar draws yr ystafell; a chan daflu ei hun i'w breichiau, cusanodd hi drachefn a thrachefn.

Ni ddywedodd y ddynes hon wrthi ei bod yn codi cur yn ei phen, ond yn y gwrthwyneb, cofleidiodd hi, chwarddodd, a chriodd, fel pe buasai wedi dyrysu yn ei meddwl; ac wedi ei rhyddhau oddi wrthi, rhedodd Eva oddi wrth y naill at y llall, gan ysgwyd dwylaw a chusanu, nes ffieiddio Miss Ophelia yn deg, fel y dywedai wedi hyny.

"Wel," ebe Miss Ophelia, "yr ydych chwi, plant y dehau yma, yn gwneud peth na fedrwn i byth mo'i wneuthur."

"Pa beth sydd 'rwan?" ebe St. Clare.

"Wel, y mae arnaf fi eisiau bod yn fwyn wrth bawb, ac ni ddymunwn friwo dim yn y byd; ond am gusanu—"

"Negroaid!" ebe St. Clare, "nid ydych chwi i fyny â hyny eto, a ydych?"

"Ie, dyna fo. Pa sut y medr hi?"

Chwarddodd St. Clare, ac aeth tua'r drws. "Hylo! beth ydi'r dwndwr yma? Dewch yma, bod-ag-un—Mammy, Jimmy, Polly, Sukey—onid ydych yn falch o wel'd eich meistr?" eb efe, gan fyned o amgylch ac ysgwyd llaw â phawb. "Edrychwch ar ol y babis!" meddai efe, wrth dripio ar draws rhyw greadur dû bach oedd yn ymgripio ar hyd y llawr. "Os sathraf fi ar ryw un, gwaedded allan!"

Yr oedd digon o chwerthin a bendithio mas'r, pan oedd St. Clare yn rhanu darnau bychain o arian rhyngddynt.

"Yn awr, ffwrdd â chwi, fel bechgyn a genethod da," eb efe; ac ymaith â'r holl dyrfa, yn dywyll a goleu, trwy'r drws i verandah fawr, ac Eva ar eu hol, â chydaid mawr o afalau, cnau, siwgwr candi, rhubanau, lasiau, a theganau o bob math a gasglasai iddynt ar ei hymdaith adref.

Fel yr oedd St. Clare yn troi i fyned yn ol, disgynodd ei lygad ar Twm, yr hwn oedd yn sefyll yn anesmwyth, gan symud y naill droed yn lle'r llall, ac Adolph yn sefyll yn ddioglyd â'i bwys ar y canllawiau, yn llygad-rythu ar Twm drwy wydryn, mewn agwedd mor uchelfalch ag a fuasai'n gweddu i unrhyw ddandi yn y byd.

"Pw, y corgi!" eb ei feistr, gan daro i lawr y gwydryn; "ai dyna fel yr wyt ti'n ymddwyn

at dy gyd-was? Mae'n ymddangos i mi, Dolph," eb efe, "mai fy ngwasgod i ydyw hona," gan osod ei fys ar y wasgod sidan wych oedd am Adolph.

"Oh, meistr, y wasgod yma wedi ei smotio â gwin! Yr ydw' i yn siwr na wisga gŵr bonheddig fel fy meistr byth y fath beth a hon. Yr oeddwn i'n dyall fy mod i i'w chael. Mae'n gwneud yn burion i nigger tlawd, fel fi."

A chododd ei ben yn drwyn-uchel, a thynodd ei fysedd yn araf trwy ei wallt pêr-aroglaidd.

"O, ai dyna fel y mae hi, aiê?" ebe St. Clare yn ysmala. "Wel, yn awr, yr ydwyf fi am ddangos Twm yma i'w feistres, ac yna cymer di ef i'r gegin; a chymer ofal na ddangosi di ddim o dy lòl iddo. Y mae'n werth dau o gorgwn fel ti."

"Rhaid i meistr gael ei ysmaldod," ebe Adolph, dan chwerthin. "Mae'n dda gen i wel'd meistr mor llawn o ysbryd."

"Tyr'd yma, Twm," ebe St. Clare, gan roddi amnaid iddo.

Aeth Twm i mewn i'r ystafell. Edrychodd gyda syndod ar y carpedau melfedaidd, y drychau gwychion, y pictiwrs, y delwau, a'r lleni, ac fel brenines Sheba o flaen Solomon, nid oedd ysbryd ynddo mwyach. Yr oedd yn ofni gosod ei droed ar lawr.

"Edrychwch yma, Marie," ebe St. Clare wrth ei wraig, "yr ydwyf wedi prynu cerbydwr i chwi, o'r diwedd, yn ol eich gorchymyn. Y mae mor ddû a sobor ag elor-gerbyd, efe a'ch gyra fel cynhebrwng, os dymunwch. Agorwch eich llygaid yn awr, ac edrychwch arno. Peidiwch a dweyd fy mod yn eich gollwng yn anghof pan fyddwyf o'r golwg."

Cyfododd Marie ei llygaid, ac edrychodd ar Twm, heb symud.

"Mi wn y gwneiff o feddwi," ebe hi.

"Na wneiff, mae yn cael ei warantu yn ddyn duwiol a sobor."

"Wel, gobeithio ei fod felly," ebe'r wraig foneddig; "ond y mae'n fwy nac ydwyf fi'n ei ddysgwyl er hyny."

"Dolph," ebe St. Clare, dos â Twm i lawr y grisiau; ac edrych atat dy hun; cofia beth a ddywedais wrthyt."

Piciodd Adolph yn mlaen yn ysgafn, ac aeth Twm i lawr ar ei ol yn drwsgl.

"Y mae hwna'n rhyw gawrfil o ddyn!" ebe Marie.

"Dewch, Marie, a dywedwch ryw beth yn fwynaidd wrth ddyn, ebe St. Clare, gan eistedd ar ystôl yn eu hymyl.

"Yr ydych wedi bod ymaith bythefnos dros ben eich amser," ebe'r wraig foneddig, yn llaesweft.

"Wel, mi 'sgrifenais atoch i ddweyd yr achos, chwi wyddoch."

"Y fath lythyr byr, oerllyd!" ebe'r wraig.

"Dyn anwyl! Yr oedd y post ar gychwyn, ac yr oedd yn rhaid i'r llythyr fod yn fyr neu ddim."

"Dyna hi yn union," ebe'r wraig; "rhyw beth bob amser yn gwneud y siwrneion yn hir a'r llythyrau yn fyrion."

"Edrychwch yma," eb efe, gan dynu allan o'i boced wain o felfed clws, a'i agor; "dyma i chwi anrheg o New York." Darlun cywir ydoedd o Eva a'i thad yn eistedd law yn llaw.

Edrychodd Marie arno yn anfoddlawn.

"Pa beth oedd yn peri i chwi eistedd mor chwithig?" ebe hi.

"Wel, nid yw yr agwedd nemor o bwys; ond beth ydych yn feddwl am y cyffelybrwydd?"

"Os ydych yn meddwl ond ychydig am fy marn mewn un peth, mae'n debyg na feddyliech yn amgenach mewn peth arall," ebe'r wraig foneddig, gan gau i fyny y darlun.

"Ynghrôg y bo'r ddynes!" eb efe, wrtho ei hun; ond yn uchel dywedodd, "Dewch, Marie, beth ydyw eich meddwl am y tebygolrwydd? Peidiwch a bod yn wirion, 'rwan."

"Yr ydych yn anystyriol iawn, St. Clare, yn gwneud i mi siarad, ac edrych ar bethau fel hyn. Chwi wyddoch fy mod yn gorwedd yn sâl drwy'r dydd, â dolur mawr yn fy mhen; ac y mae'r fath sŵn o hyd er pan ddaethoch adref, nes ydwyf agos yn haner marw."

"Yr ydych yn ddarostyngedig i boen yn y pen, ma'am?" ebe Miss Ophelia, gan godi o'r gadair freichiau fawr, lle yr eisteddasai yn ddystaw, yn cyfrif i fyny werth y dodrefn drudfawr."

"Ydwyf; yr wyf fi'n ferthyr hollol iddo," ebe'r wraig foneddig.

"Y mae tê o hâd y ferywen yn beth da iawn rhag cur yn y pen," ebe Miss Ophelia; "o leiaf, felly y dywedai Auguste, gwraig y diacon Abraham Parry; ac yr oedd hi yn ddoctores nodedig."

"Mi fynaf fi yr hâd merywen cyntaf a ddaw yn aeddfed yn yr ardd, o bwrpas," ebe St. Clare, gan edrych yn ddifrifol, a thynu yn rhaff y gloch. "Yn y cyfamser, 'nghyfnither, mae'n rhaid fod arnoch eisiau myned i'ch ystafell, i ymadfywio ychydig ar ol eich taith. Dolph," eb efe, "galw ar Mammy i ddyfod yma." Daeth y ddynes felyn-ddû barchus yn mlaen, yr hon a gofleidiasai Eva mor serchog; yr oedd wedi ymwisgo yn drefnus, â chanddi durban uchel o goch a melyn ar ei phen, yr hwn a roddasid iddi gan Eva.

"Mammy," ebe St. Clare, "yr wyf fi'n gosod y ferch foneddig yma o dan eich gofal chwi; y mae hi wedi blino, ac eisiau gorphwyso. Cymerwch hi i'w hystafell, a byddwch yn sicr o'i gwneud hi yn gymfforddus;" a diflanodd Miss Ophelia yn nghysgod Mammy.

## PENNOD XVI.

### MEISTRES TWM A'I HOPINIYNAU.

"Wel Marie," ebe St. Clare, "mae'ch dyddiau hafaidd yn dechreu gwawrio o'r diwedd. Dyma nghares o Vermont, un drefnus a medrus yn mhobpeth, a gymer holl faich eich trafferthion oddiar eich ysgwyddau, a chwi gewch ddigon o amser i orphwyso, a hamdden i fyned yn ieuanc ac yn dlws yn eich hol. Gwell myned trwy'r seremoni o roddi'r agoriadau i fyny ar unwaith."

Dywedwyd hyn ar foregwest yn mhen dau fore neu dri ar ol dyfodiad Miss Ophelia.

"Yn wir, y mae iddi groeso," ebe Marie, gan bwyso ei phen yn glafaidd ar ei llaw. "Hi ddaw o hyd i un peth, feddyliwn, os gwneiff, sef mai ni'r meistresi ydyw'r slafiaid i lawr yma."

"O, siwr iawn, hi ddaw o hyd i hyny, a chant a mil o wirioneddau eraill a wnant les iddi, heb ddim amheuaeth," ebe St. Clare.

"Siarad am danom yn cadw caethion, yn wir, fel pe bai hyny yn *gyfleusdra i ni*," ebe Marie. "Yr ydw i yn ddigon siwr, pe *hyny* fyddai mewn golwg, y gallem adael iddynt fyned ymaith ar unwaith."

Rhythodd Eva ei dau lygad mawr difrifol ar ei mam, ac mewn math o ddyryswch hi a ofynodd yn ddiniwed, "Paham yr ydych yn eu cadw ynte, mamma?"

"Yn wir, nis gwn i ddim, os nid i'n plagio; maen nhw'n blâg ar nghalon i. Yr ydw i'n credu fod fy saldra i yn fwy o'u hachos nhw na dim arall; ac y mae'n caethion ni yn waeth na rhai neb arall."

"O dowch, Marie, nid ydych chwi ddim yn eich natur dda'r bore yma," ebe St. Clare; "chwi wyddoch yn burion mai nid felly mae hi. Dyna Mammy, 'rwan, y greadures oreu droediodd erioed — beth fedrach chwi wneud hebddi?"

"Mae Mammy yr oreu welais i erioed," ebe Marie; "ond eto mae Mammy rwan yn hunanol—yn ofnadwy hunanol; a dyma fai yr holl rywogaeth."

"*Mae* hunanoldeb yn beth o'wilyddus!" ebe St. Clare, yn sobr.

"Dyna Mammy, 'rwan," ebe Marie; "onid ydi hi'n hunanol, bod yn cysgu mor drwm yn y nos; hi ŵyr yn burion fod arna' i eisiau rhyw dro neu gilydd bron bob awr trwy gydol y nos tan y bore, pan fydda i yn sâl; ac eto mae mor anhawdd ei deffro hi. Yn wir 'rydw i'n sâl heddyw, ar ol y boen gefis i i'w deffro hi neithiwr."

"Fu hi ddim yn eiste i fyny hefo chwi lawer noswaith yn ddiweddar, mamma?" eb Eva.

"Sut y gwyddoch chwi hyny?" ebe Marie, yn sarug; "hi fu'n achwyn, debyg gen i."

"Na, ddaru hi ddim achwyn; na'th hi ddim ond deud mor sâl fuoch chwi lawer o nosweithiau'n ddiweddar—bob nos ar ol ei gilydd."

"Pa'm na adawech chwi i Jane neu Rosa gymeryd ei lle am noswaith neu ddwy?" ebe St. Clare, "fel y gallo hi gael gorphwyso."

"Sut y gallwch chwi gynyg ffasiwn beth?" ebe Marie. "Yn wir, St. Clare, yr ydych yn bur anystyriol! A minna mor wael, fel y mae'r peth lleia yn fy ngwneud yn salach. Pe bai law ddiarth yn dwad yn agos ataf, mi gyrai fi bron yn wallgof! Pebai Mammy yn teimlo tuag ataf fi fel y dylai hi, mi ddeffroi'n hawsd—wrth gwrs mi wnai. Mi glywis am bobol yn cael gweinidogion yn barod i wneud unpeth drostyn nhw, ond ni fum i erioed mor lwcus a chael un o'r rheiny;" ac fe ocheneidiodd Marie.

Gwrandawodd Miss Ophelia yn graffus ar yr ymddyddan hwn; a daliodd ei gwefusau yn dyn, gan benderfynu gwybod yn mha le'r oedd yn sefyll cyn dweyd na siw na miw.

"Yrwan mae *rhyw fath* o ddaioni yn perthyn i Mammy," ebe Marie; "mae hi'n esmwyth ac yn barchus, ond mae hi'n hunanol yn ei chalon. Mae hi'n dal ati yn ddibaid i ffretio yn nghylch y gwr hwnw o'i heiddo. Pan briodais i, welwch chi, a dwad i fyw yma, wrth gwrs rhaid oedd i mi ei chael hi gyda mi, ond ni fedrai nhad ddim gadael i'w gwr hi ddyfod. Gof oedd, ac yn ddyn pur ddefnyddiol, wrth reswm; a mi feddyliais, ac mi ddeudais ar y pryd, mai gwell fasa iddyn nhw roi'r naill y llall i fyny, o herwydd 'doedd ddim yn debyg y gallsan nhw fyw hefo'u gilydd byth wedi'n. Ac y mae'n 'difar gen i 'rwan, na baswn i'n gneud i hyny fod, ac yn priodi Mammy hefo rhyw ddyn arall; ond yr oeddwn i'n rhy esmwyth a da fy natur, ac ni ddaru mi ddim *insistio* ar hyny. Mi ddeudais wrth Mammy ar y pryd, nad oedd dim iws iddi ddysgwyl ei weled fwy nag unwaith neu ddwy tra bydda hi byw, o herwydd nid ydi lle nhad ddim yn cytuno â fi, ac ni fedra i ddim myn'd yno; mi cynghorais hi i fyw efo rhyw ddyn arall; ond na—ni wna hi ddim. Mae gan Mammy fath o styfnigrwydd o'i chwmpas, mewn smotiau, nad ydi pawb yn eu gweled fel fi."

"Oes ganddi hi blant?" ebe Miss Ophelia.

"Oes, mae ganddi ddau."

"Mae'n debyg ei bod yn teimlo eu colled."

"Wel, fedrwn i ddim gadael iddyn nhw ddwad yma, wrth reswm. Petha bach budron oeddan nhw—allswn i ddim eu diodda o gwmpas; ac heblaw hyny, yr oeddan nhw yn myn'd a gormod o'i hamser hi o lawer. Ond mae gen i ryw amcan fod hyn yn ei gwaelod hi o hyd. Ni fyn hi ddim priodi neb arall; ac er ei bod yn gwybod yn burion mor angenrheidiol ydi hi i mi, ac mor wael ydi fy iechyd i, yr

ydw i'n credu yn fy nghalon yr âi hi yn ol at ei gwr fory nesa pe gallai hi. Ydw'n wir," ebe Marie; "maen nhw mor hunanol, y goreu o honyn nhw."

"Mae'n fater sobr i feddwl am dano," ebe St. Clare, yn sychlyd.

Syllodd Miss Ophelia yn graff arno, a chanfu oddiwrth ei wynebpryd, mai gwaith caled oedd iddo guddio eiddigedd ei galon.

"Mae Mammy, 'rwan, wedi bod bob amser yn ffafrat i mi," ebe Marie. "Mi liciwn i i rai o'ch morwynion chwi yn y gogledd weled ei chloset ddillad hi—gownau sidan, muslin, ac un o gamrig pur, yn hongian ynddo. Weithiau, mi fum yn gweithio trwy gydol y prydnawn, i neud cap iddi, a'i gwneud hi'n barod i fyn'd allan i dê. Am gael ei maeddu, nis gŵyr hi ddim beth ydi hyny. Ac ni cha'dd hi mo'i whipio dim ond unwaith neu ddwy yn ei hoes. Mae yn cael tê a choffi cryf bob dydd, a siwgwr gwyn ynddo. Mae'n rhy ddrwg yn wir; ond mi fyn St. Clare iddyn nhw fyw'n fras yn y gegin; ac y maen' nhw, bob pen o honyn nhw, yn gneud fel fyd fynon nhw. Mae'n gweinidogion ni yn cael gormod o'u ffordd eu hun, dyna'r gwir am dani hi. Mae'n debyg mai'n bai ni, mewn rhan, ydi bod nhw mor hunanol, a'u bod nhw'n ymddwyn fel plant moethus; ond yr ydw i wedi siarad wrth St. Clare nes ydw i wedi blino."

"A minau hefyd," ebe St. Clare, gan ymaflyd yn y papyr newydd.

Safasai Eva, yr anwyl Eva, yn gwrando ar ei mam, gyda'r astudrwydd dwfn a sobr oedd mor naturiol iddi. Cerddodd yn ddystaw tu cefn i gadair ei mam, a chododd ei dwy law am ei gwddf.

"Wel, Eva, beth 'rwan?" ebe Marie.

"Mamma, a gaf fi aros i fyny efo chwi un noswaith—dim ond un? Mi wn i na wnawn mo honoch yn anesmwyth, ac ni chysgwn i ddim. Fydda i yn effro trwy'r nos yn aml, yn meddwl—"

"O, nonsens, Eva—nonsens!" ebe Marie, "yr ydych yn blentyn mor ryfedd."

"Ond, a gaf fi, mamma? Yr ydw i'n meddwl," ebe hi'n ofnus, "fod Mammy'n sâl. Hi ddeudodd fod cur yn ei phen trwy gydol yr amser, er's tro."

"O, un o dricia Mammy ydi 'nyna! Mae hi 'run fath a'r cwbl o honyn nhw—yn gneud llawer o stwr am bob piff o gur mewn pen, a gwaew mewn bys; ni wiw gadael iddynt gael eu ffordd—neiff hyny byth mo'r tro! Mae hwn yn fater cydwybod gen i," ebe hi, gan droi at Miss Ophelia; "chwi gewch allan y rhaid ei wneud felly. Os gwrandewch chwi ar bob cwyn fydd gan y gweinidogion, fydd genych ddigon a gormod i'w wneud yn bur fuan. Ni fyddaf byth yn cwyno fy hun—ac nis gŵyr neb beth wyf fi'n ddyodda. Yr ydw i'n teimlo mai nyledswydd i ydi dyodda'n ddystaw, ac felly 'rydw i'n gneud."

Rhythodd Miss Ophelia ei llygaid mawrion mewn syndod amlwg, a tharawodd y fath haeriad ar glust St. Clare mor ddigrif, fel y chwarddodd allan ac allan.

"Mae St. Clare yn chwerthin bob amser pan ddeuda i air am fy selni," ebe Marie, â llais un megys yn dyoddef merthyrdod. "Gobeithio na wel o mo'r dydd y bydd yn edifar ganddo;" a dechreuodd sychu ei llygaid.

Fel y gallesid dysgwyl, bu yno ryw fath o ddystawrwydd trwsgl ar ol hyn. Ac o'r diwedd, edrychodd St. Clare beth oedd yr amser, a dywedodd fod arno eisiau cyfarfod rhywun i lawr yr heol. Rhedodd Eva allan ar ei ol, a gadawyd Miss Ophelia a Marie wrth y bwrdd gyda'u gilydd.

"'Rwan, dyna ffordd St. Clare!" ebe Marie, gan dynu'r hancas oddiar ei llygaid â chalon led iach, pryd nad oedd yr euog a gospid ganddo yno i'w weled. "Ni ŵyr o ddim, fedyr o ddim, ni fyn o ddim gwybod, faint ydi mhoen i, er's blynyddoedd. Pe b'aswn i yn un o'r rhai sy bob amser yn clwcian ac yn achwyn, fasa rhyw reswm dros hyn. Mae dynion, yn naturiol, yn blino ar wraig gwynfanus. Ond mi gedwis i bob peth i mi fy hun, mi ddioddis, mi ddioddis, nes y mae St. Clare yn meddwl y medra i ddiodda pobpeth."

Rhy brin y gwyddai Miss Ophelia pa ateb a ddysgwylid iddi roddi i'r sylw hwn.

Tra bu hi'n troi'r mater yn ei meddwl, fe sychodd Marie ymaith ei dagrau yn raddol, ac hi drwsiodd ei phlu mewn ffordd gyffredin, fel colomen ar ol cawod o wlaw, ac a ddechreuodd ymgomio, ar faterion hyswaith, yn nghylch cypyrddau, closets, press dillad, butri, a phethau eraill, y rhai y bwriedid eu gosod, trwy gydsyniad cyffredinol, dan ofal Miss Ophelia—gan roddi iddi gynifer o gynghorion a rhybuddion ag a fuasai yn dyrysu pen llai ei drefn a'i gynwysiad.

"'Rwan," ebe Marie, "yr ydw i'n meddwl i mi ddeud y cwbwl; a phan ddaw fy saldra nesaf i, chwi allwch fyn'd yn mlaen hebddw i; ond yn nghylch Eva—mae'n gofyn edrych ati hi."

"Mae hi'n ymddangos yn lodes dda,—bur dda," ebe Miss Ophelia. "Ni welais i 'run plentyn gwell erioed."

"Un od iawn ydi Eva," eb ei mam; "od annghyffredin. Mae hi mor annhebyg i bob plentyn arall; nid oes dim mymryn ynddi hi yn debyg i mi;" ac fe ucheneidiodd Marie, fel pe buasai hyn yn fater sobr ryfeddol.

"Gobeithio nad ydyw hi," ebe Miss Ophelia yn ei meddwl; ond bu mor gall a'i gadw iddi ei hun.

"Mae Eva bob amser yn ffond o gwmpeini'r gweinidogion; ac y mae hyny'n burion mewn rhai plant. Mi fyddwn i fy hunan yn chware hefo niggars bach fy 'nhad—ni wnaeth hyny harm yn y byd i mi. Ond y mae Eva rywsut yn ei gwneud ei hun yn gydradd â phob creadur ddaw yn agos ati. Mae hyny'n rhyfedd iawn yn y plentyn. Ni fedrais i erioed ei dynu allan o honi. Ond yr ydw i'n meddwl fod St. Clare yn ei hanog hi. Y gwir ydyw, mae St. Clare yn rhoi moethau i bob creadur ddaw i'r tŷ yma ond ei wraig ei hun."

Eisteddodd Miss Ophelia mor ddystaw a'r post, drachefn.

"Nid oes dim modd ymhel â gweinidogion, ond *eu gosod i lawr a'u cadw danodd*," ebe Marie. "Yr oedd yn naturiol i mi bob amser er yn blentyn. Mae Eva yn ddigon i spwylio llon'd tŷ o honyn nhw. Beth neiff hi pan ddaw hi i gadw tŷ ei hun, nis gwn i ddim yn wir. Yr ydw i am fod yn *garedig* wrth weinidogion—ac mi fydda felly bob amser; ond rhaid eu dysgu i *'nabod eu lle*. 'Fydd Eva byth yn gneud; fedrwch chwi ddim gyru i ben y plentyn un dechreu dychymyg am le gwas neu forwyn! Chwi clywsoch hi yn cynyg eiste i fyny hefo fi'r nos, i adael i Mammy gael cysgu. Dyna siampl o'r peth wnai'r plentyn o hyd, pe cai hi ei ffordd ei hun."

"Mae'n debyg eich bod yn meddwl mai creaduriaid rhesymol ydy'ch gweinidogion, ac y dylent gael gorphwyso rywbryd," ebe Miss Ophelia, yn ffrwt.

"Ydw, wrth reswm. Yr wyf fi yn ofalus iawn am iddyn nhw gael pob peth fo'n gyfleus —beth bynag na fo'n taflu un allan o'r ffordd, wyddoch. Mi eill Mammy gael ei chysgu ryw bryd neu gilydd; nid oes dim sy haws. Mae hi'r greadures fwyaf cysglyd welais i 'rioed; wrth wnïo, sefyll, neu eistedd, hi fedyr gysgu fan y myno hi a phryd y myno hi. Dim perygl nad ydi Mammy yn cael digon o gysgu. Ond y mae trin gweinidogion fel pe bai'n nhw rosyn coch neu gwpan tshina yn ormod o lawer," ebe Marie, fel yr ymollyngodd i ganol clustogau, gan dynu ati botel perarogl ddrudfawr. "Yr ydych yn gweled," ebe hi, mewn llais moethus gwraig fawr, fel anadliad olaf eos ar drancedigaeth, neu rywbeth llawn mor awyrawl—"Yr ydych yn gweled, fy nghares Ophelia, nad wyf fi yn siarad llawer am danaf fy hun; ni ddarfum i erioed arfer; peth annymunol iawn i mi ydyw. Yn wir, ni fedda i mo'r nerth i wneud. Ond y mae rhai pethau na fedra i a St. Clare ddim cytuno arnynt. Ni fedrodd St. Clare erioed ddeall fy ffordd i, na gwybod fy ngwerth i. Mae hyn yn gorwedd wrth wraidd fy holl anhwyldeb i. Yr un pryd, yr ydw i'n credu fod St. Clare yn amcanu'n dda; ond y mae dynion yn naturiol a'u serch arnynt eu hunain, ac yn ddideimlad o'r merched. O leiaf, dyna marn i."

Yr oedd Miss Ophelia yn lled lawn o ysbryd gochelgar Lloegr Newydd, ac yn atgas ganddi gael ei thynu i gwerylon teuluaidd; ond canfu yn awr ei bod mewn perygl o rywbeth o'r fath; o ganlyniad hi a ysgrifenodd 'dim ymyraeth' ar ei gwynebpryd, ac a dynodd allan globen o hosen fawr, yr hon a gadwai fel tarian rhag y demtasiwn y dywed y Doctor Watts fod Satan yn debyg o ddwyn dwylaw segur iddi, ac a ddechreuodd weu nerth ei bysedd, gan gau ei gwefusau mor dyn, mewn ffordd a ddywedai yn llawn mor eglur a geiriau, "Ni waeth i chwi beidio a cheisio gen i siarad. Nid oes arnaf fi ddim eisio rhoi mys yn eich brywes chwi"—mewn gair, hi a ddangosodd gymaint o gydymdeimlad a phe buasai yn llew o gareg nadd. Ond nid oedd Marie yn hidio. Yr oedd ganddi rywun i wrando arni'n siarad, a theimlai mai siarad oedd ei dyledswydd—dyna ddigon; ac wedi adgyfnerthu ei hun o'r botel berarogl drachefn, hi aeth yn mlaen.

"Pan briodais i St. Clare, wyddoch, mi ddois a f'eiddo a ngweinidogion fy hun yma, ac y mae gen i hawl i neud fel y myna i â nhw. Yr oedd gan St. Clare ei ffortiwn a'i weision, a gwnaed fel y myno â nhw o'm rhan i; ond rhaid iddo ef gael ymyraeth. Mae ganddo'r opiniynau rhyfedda fu erioed, yn enwedig yn nghylch trin gweinidogion. Yn wir, allai un feddwl ei fod yn rhoi'r gweinidogion uwch fy mhen i, ac uwch ei ben ei hun hefyd; o herwydd y maent yn llawer iawn o boen iddo, ac ni fyn gymaint a chodi bys. Mae St. Clare yn arswydus mewn rhai pethau—fydd yn fy nychrynu i—er mor dda ei natur ydyw yn gyffredin. Mae wedi taro'i droed yn llawr, a dweyd, doed a ddelo, na chaiff neb godi ei law o fewn y tŷ, ond y fo a finau; ac y mae wedi dweyd hyny yn y fath ffordd, na feiddia i mo'i groesi. Wel, mae'n ddigon hawdd gweled y canlyniad o hyn; o herwydd ni chodai St. Clare mo'i ddwrn pe sangen nhw arno, bob un o fewn y tŷ—ac am danaf fi, chwi welwch beth mor ddigydwybod fyddai gofyn i mi fyned i'r boen. Chwi wyddoch, 'rwan, nad ydi'r gweinidogion yma ddim ond twr o blant mawr wedi tyfu i fyny."

"Nis gwn i ddim yn y byd am danynt; a diolch i'r Mawredd na wn i ddim," ebe Miss Ophelia yn bur fyr.

"Wel, fydd yn rhaid i chwi wybod, a hyny er eich gofid, os aroswch yma. Ni wyddoch chwi ddim pa fath dwr o greaduriaid câs, penstiff, di-ofal, di-reswm, plentynaidd, ac anniolchgar ydynt."

Ymddangosai Marie bob amser yn hynod o fywiog pan ddechreuai ar bwnc fel hwn; ac agorodd ei llygaid gan lwyr anghofio ei selni.

"Ni wyddoch chwi ddim, — ni fedrwch chwi ddim gwybod, y poenau ydyn nhw i'r neb fo'n cadw tŷ, bob dydd, a phob awr o'r dydd, yn mhob dull a modd. Ond ni wiw achwyn wrth St. Clare. Mae yn siarad y stwff digrifa. Mae yn dweyd mai ni gwnaeth nhw y peth ydyn nhw. Fe fyn mai ni ydi achos eu holl ddrygau, ac y byddai'n greulon ynom ni wneud y drwg a'u cospi hwy am dano hefyd. Mae'n dweyd na wnaem ni ddim gwell yn eu cyflwr hwy, fel pe basa'n bosibl eu cydmaru hwy â ni, wyddoch."

"Ydych chwi ddim yn meddwl i'r Hollalluog eu gwneud o'r un gwaed a chnawd a ninau?" ebe Miss Ophelia.

"Na choelia i fawr! Stori braf iawn yn wir. Mae'r holl hiliogaeth dan felldith."

"Ydych chwi ddim yn meddwl fod ganddynt eneidiau anfarwol?" ebe Miss Ophelia, gan ddechreu gwresogi.

"O, wel!" ebe Marie, gan ymlyfu gen, "wrth reswm y mae—nid oes neb yn amheu hyny. Ond am eu cydmaru â ni; fel pe baen nhw'n gydradd, wyddoch, mae yn beth anmhosibl! Ond dyna St. Clare, mae yn siarad â fi yn nghylch cadw Mammy oddiwrth ei gwr, fel pe bai yr un peth a nghadw i oddiwrth fy ngwr. Nid oes dim byd yn debyg yn y ddau. Nid oes gan Mammy ddim teimladau fel fi. Mae yn beth hollol wahanol, wrth reswm; ac eto mae St. Clare yn cymeryd arno na fedr weled un gwahaniaeth; fel pe bai yn bosibl fod mor dda gan Mammy am ei babanod bychain budron ag ydyw gen i am Eva! Eto, mi fu St. Clare yn siarad o ddifrif unwaith mai nyledswydd i oedd gadael iddi fyn'd at ei gwr, a chymeryd rhywun arall, a minau mor wael, ac yn dioddef cymaint. Yr oedd hyny braidd yn ormod hyd yn nod i *mi*. Nid aml y byddaf fi yn dangos fy nheimladau. Mae yn fater o gydwybod gen i ddiodde pobpeth yn ddistaw; dyna dynged galed gwraig, ac yr wyf fi yn rhoi fyny iddi. Ond mi doris allan y tro hwnw; ac ni soniodd air byth wedi hyny am y mater. Ond mi wn i'n burion oddiwrth ei olwg, ac oddiwrth ambell air yn awr ac yn y man, ei fod yn meddwl felly gymaint ag erioed; ac y mae hyny mor gas ac mor ddigysur!"

Edrychodd Miss Ophelia fel pe buasai mewn perygl o ddweyd rhywbeth; ond ratlo ymlaen gyda ei gweill a wnaeth,—ac yr oedd llawer iawn yn hyny, pe buasai Marie ddim ond yn ei ddeall.

"Felly chwi welwch," ebe hi, "pa beth sydd genych i ofalu am dano. Tŷ heb un drefn, lle mae'r gweinidogion yn cael eu ffordd eu hun, yn gwneud fel y mynont, ac yn cael y peth fynont, oddieithr hyd y gellais i gadw i fyny fath o awdurdod, gyda fy iechyd gwael. Mae gen i whip o groen eidion (*cowhide*) wrth law, ac ambell dro hi fydd mewn gwaith; ond y mae'r ymdrech yn ormod i mi. Pe bai St. Clare ddim ond cael gneud y peth fel y mae pobl eraill yn cael ——"

"Sut y mae hyny?"

"Wel, eu gyru i'r calabws, neu rywle, i'w fflangellu. Dyna'r unig ffordd. Pe baswn i heb fod y fath gre'dures wael ac afiach, yr ydw i'n meddwl y b'aswn i'n cario ymlaen gyda y dau cymaint o egniad ag y mae St. Clare yn gwneud."

"Sut y mae St. Clare yn gwneud, ynte?" ebe Miss Ophelia. "Yr ydych yn dweyd na bydd byth yn eu curo."

"Wel, chwi wyddoch fod gan y dynion ffordd mwy awdurdodol; mae'n llawer haws iddyn nhw; heblaw hyny, os daru chwi 'rioed edrych yn myw ei lygad, mae ynddo rywbeth od—yn ei lygad—ac os sieryd yn benderfynol, mae yno rywfath o felltenu. Mae yn fy nychrynu i fy hunan; ac fe ŵyr y gweinidogion y rhaid iddynt ysmicio. Pe bawn i yn myn'd o ngho lâs, ac yn trin fy nhafod hyd y pen draw, ni wnawn i ddim cymaint ag un tro llygad St. Clare, pan fydd o ddifrif. O, nid oes dim trwbwl ynghylch St. Clare; a dyna'r rheswm nad yw yn teimlo mwy droswyf fi. Ond chwi gewch weled pan gymerwch y peth mewn llaw, nad oes fodd myned ymlaen heb fod yn llymdost—maen' nhw mor ddrwg, mor dwyllodrus, ac mor ddiog."

"Yr un hen dôn," ebe St. Clare, gan loncian i mewn; "y fath gyfrif fydd gan y creaduriaid drygionus i'w roi ryw ddiwrnod, yn enwedig am fod mor ddiog! Chwi welwch, fy ngchares," eb efe, gan orwedd o'i hyd-gyhyd ar esmwythle ar gyfer Marie, "fod y diogi yma yn hollol ddiesgus ynddynt yngoleuni'r esiamplau a gânt gan Marie a minau."

"Yn wir, yr ydych yn rhy ddrwg St. Clare," ebe Marie.

"Yr ydw i? a minau'n meddwl fy mod yn siarad yn dda,—yn bur dda, i fy math i. Mi fyddaf bob amser yn ceisio gwneud eich sylwadau chwi yn ymarferol, Marie."

"Chwi wyddoch yn burion nad oeddych yn meddwl dim o'r fath beth, St. Clare," ebe Marie.

"O, wel, mi gamgymerais, ynte. Diolch i chwi, fy anwylyd, am fy rhoi ar y ffordd iawn."

"Treio nhymer i yr ydych, onitê?" ebe Marie.

"O Marie, mae'r diwrnod yn gynes iawn, a minau wedi bod yn cweryla gyda Dolph, nes ydw i'n flin fy nghalon; byddwch yn siriol, da chwi, a gadewch i mi orphwyso o flaen gwenau eich gwyneb."

"Beth sy ar Dolph?" ebe Marie. "Mae hyfdra'r gwalch yna wedi tyfu yn annioddefol

i mi. Pedawn yn cael fy ffordd fy hun hefo fo am dipyn, mi ddown i a fo i lawr!"

"Mae'r peth ydych chwi yn ddywedyd, Marie, fel arferol, yn llawn craffder a synwyr," ebe St. Clare. "Dyma fel y mae hi'n sefyll hefo Dolph; mae wedi bod cyhyd yn dynwared fy ffordd a'm perffeithrwydd i, fel ag y mae o'r diwedd wedi camgymeryd ei hun am ei feistr; a gorfu i mi agor ei lygad i weled ei fod allan o'i elfen."

"Sut?" ebe Marie.

"Wel, mi roddais ar ddeall iddo yn benderfynol, fy mod yn dewis cadw *rhai* o fy nillad i mi fy hun eu gwisgo; dodais ei uchelder ar ei ran o ddwfr *cologne*, a bum mor greulon a'i attal i gael mwy na dwsin o'm hancetsi cambric. Aeth Dolph yn lled anniddig o'r achos, a bu raid i mi siarad wrtho fel tad i ddyfod ag e ato ei hun."

"O, St. Clare, pa bryd y dysgwch chwi feistroli'ch gweinidogion? Mae'n g'wilyddus fel yr ydych yn gadael iddynt gael eu ffordd," ebe Marie.

"Wel, ar ol y cwbl, pwy harm i'r cena' geisio bod fel ei feistr? ac os na ddygais i ef i werthfawrogi dim yn fwy na dwfr cologne a hancetsi cambric, paham na cheiff y fath bethau?"

"A phaham na buasech yn dysgu gwell pethau iddo?" ebe Miss Ophelia yn awdurdodol.

"Gormod o drafferth; diogi, nghares, diogi —yr hyn sy'n lladd mwy o eneidiau nag y gallwch ysgwyd dwrn arnynt. Mi fuaswn i yn angel perffaith, fy hun, oni bai diogi. Yr ydwyf fi bron o'r farn mai diogi ydyw 'gwreiddyn drwg moesol,' chwedl yr hen Ddoctor Botherem i fyny yn Vermont. Mae'n beth sobr iawn i feddwl am dano."

"Yr ydwyf fi o'r farn fod cyfrifoldeb arswydus yn gorwedd arnoch chwi'r caethfeistri," ebe Miss Ophelia. "Ni chymerwn i mono am fil o fydoedd. Chwi ddylech addysgu eich caethion, a'u dwyn i fyny fel creaduriaidd rhesymol, fel creaduriaid anfarwol, ag y rhaid i chwi sefyll o flaen gorsedd Duw gyda hwynt. Dyna fy meddwl i," ebe'r hen ferch, gan dori allan mewn ffrwd o zel fuasai'n croni yn ei meddwl trwy'r bore.

"O, aroswch, aroswch," ebe St. Clare, gan neidio i fyny yn sydyn, "beth wyddoch chwi am danom ni?" Ac efe a eisteddodd wrth y piano, ac a chwareuodd ddarn o fiwsig bywiog a gwisgi. Yr oedd St. Clare yn llawn peroriaeth, a'i gyffyrddiad â'r offeryn yn ardderchog, —rhedai ei fysedd dros y tànnau fel chediad aderyn, yn awyrol, ac eto yn berffaith gywir. Chwareuodd ddarn ar ol darn, fel dyn yn penderfynu ei chwareu ei hun i dymher dda. Ar ol dodi'r llyfr o'r neilldu, efe a gododd yn siriol ac a ddywedodd,—"Wel, nghares, chwi ddarfuch siarad yn dda, a gwnaethoch eich dyledswydd; ar y cyfan, yr wyf yn meddwl mwy o honoch am hyny. Nid oes genyf un amheuaeth na thaflasoch em o wirionedd ataf fi, er iddo fy nharo yn union yn fy wyneb, ac na phrisiais mo hono ar y pryd."

"Nid ydwyf fi ddim yn gweled lles yn y byd yn y fath siarad, o'm rhan i," ebe Marie. "Os oes neb yn gwneud mwy dros eu caethion na ni, mi fydda'n dda gen i wybod pwy; ond nid yw yn gwneud dim lles iddynt—dim un mymryn; maent yn myn'd waeth waeth. Am siarad wrthyn' nhw, a phethau felly, yr ydw' i'n siwr mod i wedi siarad nes blino a chrygu, yn dweyd wrthynt eu dyledswydd, a phob peth felly; ac yr ydw' i'n siwr y medran' nhw fyn'd i'r eglwys pan fynont, er nad ydynt yn deall un gair o'r bregeth, ddim mwy na chynifer o foch, felly nis gwn i pwy les iddyn' nhw fyn'd yno; ond y maen' nhw'n myn'd, ac yn cael pob siawns; ond, fel y deudais i o'r blaen, creaduriaid isel ydynt, a dyna fyddant byth, ac nid oes dim help am dani hi; ni fedrwch chwi wneud dim yn y byd o honynt, er gwneud eich goreu. Yr ydw' i wedi treio, ond ni ddaru chwi ddim, Miss Ophelia; mi gefis i fy ngeni a'm magu yn eu canol, ac mi wn beth ydynt."

Yr oedd Miss Ophelia yn meddwl iddi ddweyd digon, o ganlyniad hi a eisteddodd yn fud, a chwibanodd St. Clare ryw dôn.

"Peidiwch a chwibanu, St. Clare," ebe Marie, "mae yn gyru fy mhen i'n waeth."

"O'r gore," ebe St. Clare, "oes dim arall y dymunech i mi beidio ei wneud?"

"Mi fyddai'n dda gen i pe *gwnaech* gyd-ymdeimlo rhyw faint â mhoenau i; nid ydych byth yn meddwl am danaf fi,"

"Fy anwyl angel achwyngar!" ebe St. Clare.

"Mae'n gas gen i glywed siarad fel yna."

"Sut, ynte, y mynech i mi siarad? Mi siaradaf ffordd fyd fynoch chwi, os gallaf foddio, rywsut."

Daeth chwerthiniad uchel o'r cwrt gyda'r awel. Edrychodd St. Clare drwy'r ffenestr, a chwarddodd yntau hefyd.

"Beth ydyw'r mater?" ebe Miss Ophelia, gan edrych dros ganllaw'r verandah.

Dyna lle'r oedd Twm yn eistedd ar dwmpath mwsyglyd yn y cwrt, a phob twll botwm yn llawn briallu, ac Eva, dan chwerthin, yn crogi cadwyn o rosynau o gylch ei wddf, yna hi a eisteddodd ar ei lin, gan ddal i chwerthin fel pe buasai aderyn.

"O Twm, yr wyt ti'n edrych mor ddigrif!"

Yr oedd gan Twm wên sobr, a serchiadol, ac ymddangosai, yn ei ddull tawel ei hun, fel pe buasai yn mwynhau'r sport lawn cymaint a'i feistres fechan. Pan welodd ei feistr, efe a gododd ei lygaid fel pe buasai yn haner begio pardwn.



"Sut yr ydych yn gadael iddi?" ebe Miss Ophelia.

"Pa'm na chaiff hi?" ebe St. Clare.

"Wel, nis gwn i ddim, mae mor annaturiol."

"Ni welech chwi ddim harm i blentyn gofleidio clamp o gi, hyd yn nod pe b'ai yn ddû; ond creadur rhesymol, yn medru teimlo a meddwl, a chanddo enaid anfarwol, yr ydych yn dychrynu rhagddo; dewch, fy ngharos, gwnewch gyfaddef. Mi wn i'n burion sut y mae rhai o honoch chwi pobl y gogledd yn teimlo. Eto nid oes dim mymryn o rinwedd ynom ni am fod heb y fath deimlad, ond y mae arferiad wedi effeithio yma yr hyn a ddylai Cristionogaeth ei wneud—diddymu y teimlad o ragfarn personol. Mi sylwais yn fynych yn fy nheithiau yn y gogledd, mor gryf ydyw'r rhagfarn hon yno ragor yma. Mae mor ffiaidd genych chwi y bobl dduon ag ydyw genych lyffant neu neidr, ac eto chwi sydd uwchaf eich cloch yn erbyn eu camwri. Ni fynwch wneud cam â hwy, ond ni fynwch iddynt ddyfod yn agos atoch. Chwi a'u hanfonwch i Affrica allan o'ch golwg, ac o gyrhaedd eich arogliad, ac wedi hyny anfonwch genhadwr neu ddau atynt i wneud yr hunan-ymwadiad o'u dyrchafu yn y crynswth. Onid fel yna y mae hi?"

"Wel, fe allai fod peth gwir yn hyna," ebe Miss Ophelia.

"Beth a wnai'r tlawd a'r isel heb blant," ebe St. Clare, â'i bwys ar y ganllaw, yn edrych ar Eva yn rhedeg i ffordd, ac yn arwain Twm gyda hi. "Y plentyn ydi'r gwir ddemocrat. Mae Twm yn arwr yn ngolwg Eva; mae ei chwedlau yn rhyfeddodau, ei gerddi a'i hymnau Wesleyaidd yn well na'r chwareudy, a'r telmau bychain yn ei boced fel mwn-glawdd o berlau, ac yntau'r Twm ryfeddaf a wisgodd groen dû erioed. Dyma un o rosynau Paradwys, a ollyngodd yr Hollalluog i lawr o wir bwrpas i'r tlawd a'r angenus, y rhai nid ydynt yn cael ond ychydig iawn o un math arall."

"Mae'n beth rhyfedd iawn," ebe Miss Ophelia, "fe allai un feddwl eich bod yn broffeswr wrth eich clywed yn siarad."

"Yn broffeswr!" ebe St. Clare.

"Iê; proffeswr crefydd."

"Dim fath beth; dim proffeswr, fel y mae pobl eich trefydd yn deall y gair; a pheth sy' waeth, mae arnaf ofn, dim yn *wneuthurwr* ychwaith."

"Beth sy'n peri i chwi siarad fel yna, ynte?"

"Nid oes dim sy' haws na siarad," ebe St. Clare. "Mae Shakspeare yn dweyd yn rhyw le, os da 'rwy'n cofio, 'Fyddai'n haws genyf ddangos i ugain o ddynion beth ddylai gael ei wneud, na bod yn un o'r ugain i wneud yr hyn a ddangoswyf.' Nid oes dim yn debyg i ranu gwaith. Siarad ydyw fy rhan i, a gwneud yw eich rhan chwithau, fy nghares."

---

Yn amgylchiadau allanol Twm, nid oedd dim y pryd hwn i achwyn arnynt, fel y dywedir yn gyffredin. Yr oedd hoffder Eva o hono, a mwyneidd-dra diolchgar ei natur, wedi peri iddi ofyn i'w thad adael iddo fod yn was iddi hi pa bryd bynag y byddai arni eisiau, yn ei rhodfeydd, neu wrth farchogaeth allan; ac yr oedd Twm wedi cael gorchymyn i adael pob peth, a bod wrth alwad Miss Eva, pa bryd bynag y byddai hi yn dewis—gorchymyn ag y mae'n hawdd gwybod ei fod wrth fodd ei galon. Yr oedd wedi ei ddilladu yn wych, o herwydd yr oedd St. Clare yn fanwl iawn ar y

mater o wisgiad. Prin yr oedd ei ddyledswyddau yn y stabl yn deilwng o'r enw gwaith, —dim ond arolygu gwas oedd dano,—canys nis gallai Marie St. Clare oddef arogl y ceffylau arno pan ddeuai yn agos ati, o herwydd yr oedd ei chyfansoddiad yn rhy wan i ddal dim o'r fath beth; yn ol ei chyfrif hi, yr oedd un arogliad annymunol yn ddigon i dori llinyn ei bywyd, a gosod terfyn ar ei holl dreialon daearol ar unwaith. O ganlyniad, yr oedd Twm yn ei ddillad brethyn hardd, ei het befer loyw, ei fotasau dysglaer, a'r llian claerwyn yn ei goleri ac am ei arddyrnau, gyda'i wyneb dû, llyfn, sobr, a da ei natur, yn edrych yn ddigon hybarch i fod yn Esgob Carthage, fel y bu rhai o'r un lliw ag yntau mewn oesoedd a aethant heibio.

Drachefn, yr oedd mewn lle hynod o harddwych, ystyriaeth nad yw byth yn un ysgafn gan ei bobl deimladwy ef; ac yr oedd yn mwynhau mewn tawelwch yr adar, y blodeu, y ffrydiau dwfr, y peraroglau, goleuni a heddwch y cyntedd, y llèni o sidan, y pictiwrs, y gwydr-ddrychau, y cerf-luniau, a'r aur-olchiadau, pethau oeddynt yn gwneud y parlyrau o fewn megys palas Aladin iddo ef.

Os byth y gwel Affrica bobl waraidd a chelfyddgar, a rhaid y daw hi ryw ddydd i wneud ei rhan ar chwareu-fwrdd dynoliaeth,—fe ddeffry bywyd ynddi yn or-oludog ac ysplenydd, mewn dull ac agwedd tu hwnt i ddychymyg araf ac oerllyd pobl y gorllewin. Yn mhelldiroedd yr aur a'r gemau, y pêr-lysiau a'r palmwydd cysgodfawr, y blodeu rhyfeddol, a'r cynyrchion gwyrthiol, fe ddeffry celfyddydau a gwybodaethau mewn dull newydd ac mewn ardderchawgrwydd na welodd y byd mo'u bath; a bydd y negro, ond odid, heb fod mwyach yn ddirmygiedig a than draed, yn dangos rhagoroldeb diweddaf, hynotaf, a mwyaf mawreddog y natur ddynol. Mae tu hwnt i bob dadl y byddant felly yn eu mwyneidd-der, yn ngostyngeiddrwydd tawel y galon, yn eu parodrwydd i ymorphwys yn ffyddiog ar ëangder gwybodaeth a gallu goruwch-naturiol, yn eu serch di-dwyll a phlentynaidd, ac yn eu parodrwydd i faddeu pob eamwri. Yn y rhai hyn oll, hwy a ddangosant *fywyd Cristionogol* yn ei ddullwedd mwyaf goruchel; a phwy a wyr, gan fod Duw yn ceryddu y sawl y mae yn eu caru, nad yw wedi dewis gosod Affrica dlawd yn mhair tanllyd cystudd, i'r dyben o'u gwneud y ragoraf, y loywaf, a'r fwyaf ogoneddus yn y deyrnas hono a esyd Ef i fyny, pan y bydd pob teyrnas arall wedi treio a methu; o herwydd y blaenaf fyddant olaf, a'r olaf yn mlaenaf.

Ai tybed mai am hyn yr oedd Marie St. Clare yn meddwl pan yn sefyll ar y verandah ar foreu Sul, mewn gwisgoedd gwychion, yn cau clasp o ddiamond am eu harddwrn? Digon tebyg. Os nid am hyny, yr oedd yn meddwl am ryw beth arall; o herwydd yr oedd Marie yn hoff o gefnogi'r hyn sy' dda, ac yr oedd yn awr ar gychwyn yn rhwysgfawr—y diamond, y sidanau, y lasiau, y perlau a'r cwbl—i'r Eglwys fwyaf yn y ffasiwn, i fod yn bur grefyddol. Byddai yn ofalus am fod yn grefyddol iawn ar y Sul. Dyna lle'r oedd hi yn sefyll, mor orwychaidd, mor drwsiadus, mor brydferth yn mhob ysgogiad, a'r scarff o lâs yn ei gorchuddio fel haenen o niwl. Edrychai yn greadures harddwych, a theimlai yn bur dda, ac yn bur brydferth. Safai Miss Ophelia wrth ei hochr, yn wrth-lun perffaith o honi. Nid am nad oedd ganddi gystal gown sidan a shawl, a napcyn poced mor feined ei edafedd; ond gwisgid hi, gan agwedd stiff, scwâr, unionsyth, â phresenoldeb mor annirnadwy, ac eto mor serchiadol, ag ydoedd y llall yn ei hymyl trwy ei harddwychedd a'i daioni—ond nid daioni Duw—peth gwahanol iawn oedd hyny!

"Ymh'le mae Eva?" ebe Marie.

"Hi safodd ar y grisiau i ddweyd rhyw beth wrth Mammy."

A pha beth oedd gan Eva i'w ddweyd wrth Mammy ar y grisiau? Gwrando, ddarllenydd, a thi gai glywed, er nad yw Marie yn clywed.

"Mammy anwyl, mi wn fod cur garw yn eich pen."

"O, Miss Eva bach, mae cur yn mhen i bob amser, er yn ddiweddar. Peidiwch a thrafferthu."

"Wel, mae'n dda gen i eich bod yn myn'd allan, cym'rwch hon"—ac fe ymaflodd y ferch fach am ei gwddf,—"Mammy, rhaid i chwi gymeryd fy motel fach i."

"Beth! y botel aur yna, â'r diamond! O Miss, peth allan o le'n hollol fydda' hyny."

"Pa'am? mae arnoch chwi ei eisiau; nid oes arnaf fi ddim. Fydd Mamma yn ei chymeryd rhag cur yn ei phen bob amser, ac mi fyddwch chwitha'n well. Rhaid i chwi ei chymeryd, i mhlesio i, yrwan."

"Glywch chwi ngeneth anwyl i 'n siarad, rwan!" ebe Mammy, tra'r oedd Eva yn gwthio y botel fach a'r perarogl i'w brest; ac ar ol ei chusanu, hi a redodd i lawr at ei mam.

"Am ba beth yr oeddych yn aros?"

"Aros i roi fy motel fach i Mammy i fyn'd â hi i'r eglwys."

"Eva!" eb ei mam, gan daro ei throed yn y llawr yn sarug, "eich potel i *Mammy!* Pa bryd y dysgwch beth sydd *weddus?* Ewch a chymerwch hi oddi arni mewn mynyd!"

Syrthiodd wynebpryd Eva, a hi drodd yn ben-drist, ac yn araf.

"Marie, gadewch lonydd i'r plentyn?" ebe St. Clare, "hi gaiff wneud fel y myno hi."

"Sut yr eiff hi byth trwy'r byd, St. Clare," ebe Marie.

"Duw ŵyr," ebe St. Clare, "ond hi a aiff drwyddi hi i'r nefoedd yn llawer gwell na chwi na minau."

"O peidiwch, papa," ebe Eva, gan gyffwrdd â'i benelin, "mae Mamma yn poeni."

"Wel, 'nghefnder, ydych chwi yn barod i fyned i'r eglwys," ebe Miss Ophelia, gan droi yn sydyn ato.

"Nid âf fi ddim y bore yma, diolch i chwi."

"Mi fyddai'n dda gen i pe b'ai St. Clare yn dyfod i'r eglwys ambell waith," ebe Marie; "ond nid oes 'run llwchyn o grefydd o'i gwmpas. Yn wir nid ydi ddim yn *respectable*."

"Mi wn hyny'n burion," ebe St. Clare. "Yr ydych chwi'r merched yn myn'd i'r eglwys i ddysgu myn'd trwy'r byd, mae'n debyg, ac mae eich duwioldeb chwithau yn adlewyrchu rhyw faint o *respectability* drosom ninau. Pe bawn i yn myn'd oll, mi awn lle mae Mammy yn myn'd; mae yno ryw beth i gadw un yn effro o leiaf."

"P'beth! y Methodistiaid cêg-agored yna? Wfft iddynt!" ebe Marie.

"Rhyw beth, yn hytrach na môr marw eich eglwysi *respectable* chwi. Yn wir, Marie, mae yn ormod i ofyn i ddyn fyn'd. Eva, ydych chwi yn dewis myn'd. Dowch, aroswch gartref i chware gyda fi."

"Mae'n well gen i fyn'd i'r eglwys, diolch i chwi, papa."

"Onid ydi yn hynod o flinderus?" ebe St. Clare.

"Mae braidd yn flinderus," eb Eva; "ac mi fyddaf bron a chysgu; ond byddaf yn treio cadw'n effro."

"I ba beth, ynte, yr ydych yn myned?"

"Wel, papa, wyddoch," ebe hi'n ddystaw yn ei glust, "mi ddeudodd modryb fod Duw eisio i ni fyn'd; a fo sy'n rhoi pob peth i ni, wyddoch; ac nid ydi ddim llawer gneud hyny, os oes arno eisio i ni 'neud. Nid ydi ddim mor flinderus ar ol y cwbl."

"Fy ngeneth fach ddiolchgar anwyl i!" ebe St. Clare, gan ei chusanu; "ffwrdd a chwi, byddwch lodes dda, a gweddiwch droswyf fi."

"Wel, mi fydda'n cesio gneud bob amser," ebe'r plentyn, a rhedodd ar ol ei mam i'r cerbyd.

Safodd St. Clare ar y grisiau a chusanodd ei law iddi, a'r dagrau yn llenwi ei lygaid.

"O Evangeline! iawn y'th enwyd," ebe efe; "oni wnaeth Duw di yn Efengyl i mi?"

Felly y teimlodd am fynydyn; yna efe a smociodd ei segâr, ac a anghofiodd ei Efengyl fechan. A oedd ef yn annhebyg iawn i bobl eraill?

"Gwrandewch Evangeline," eb ei mam, "mae'n burion bod yn garedig wrth weinidogion, ond peth anweddus ydyw ymddwyn tuag atynt fel pe baent yn berthynasau, neu bobl o'r un gradd a sefyllfa â ni ein hunain. 'Rwan, pe b'ai Mammy yn sâl, fyddai arnoch ddim eisiau ei dodi yn eich gwely eich hun?"

"Fyddai'n dda iawn gen i wneud hyny, mamma," ebe Eva, "o herwydd mi fyddai'n haws i mi ei thendio, ac y mae ngwely fi yn well na'i gwely hi, wyddoch."

Syrthiodd Marie yn llwyr i anobaith, trwy'r absenoldeb o ddirnadaeth foesol yn yr atebiad hwn.

"Sut y medraf fi wneud i'r plentyn yma fy neall i?" ebe hi.

"Fedrwch chwi ddim," ebe Miss Ophelia, yn graffus.

Edrychodd Eva yn drist ac mewn dyryswch am fynyd; ond, fel mae goreu'r lwc, nid yw plant yn cadw at yr un peth yn hir; ac yn mhen ychydig yr oedd yn ddigon gwyneb-lawen, yn chwerthin ar y naill beth a'r llall, a welai trwy ffenestr y cerbyd.

* * * * * * *

"Wel, foneddigesau," ebe St. Clare, pan oeddynt yn eistedd yn gysurus o gylch y bwrdd ciniaw, "beth oedd ar y bwrdd yn yr eglwys heddyw?"

"O, fe bregethodd Dr. G—— bregeth ysplenydd," ebe Marie, "pregeth ag y dylsech chwi ei chlywed; yr oedd yn cynwys fy marn i yn hollol."

"Rhaid ei bod yn bur adeiladol," ebe St. Clare. "Yr oedd ei fater yn ddiau yn hynod o gynwysfawr."

"Wel, dyna oeddwn i'n feddwl—fy marn am gymdeithas, a phethau felly, ebe Marie. "Dyma'r testyn, 'Efe a wnaeth bob peth yn deg yn ei amser;' ac efe a ddangosodd sut y mae gwahanol raddau a sefyllfaoedd pobl wedi dyfod oddi wrth Dduw; ac y mae mor gymhwys a dymunol, wyddoch, fod rhai yn uchel a rhai yn isel, rhai wedi eu geni i lywodraethu, a'r lleill i wasanaethu, a phob peth yn ei le fel yna, wyddoch; ac efe a'i cymhwysodd mor ddèl at yr holl swn a dwndwr sydd yn nghylch caeth-fasnach; ac mi brofodd yn ddigon amlwg fod y Bibl o'n hochr ni, ac yn cefnogi ein sefydliadau tu hwnt i bob dadl. Fasa'n dda gen i pe buasech chwi yn gwrando."

"O, nid oedd arnaf fi ddim eisiau," ebe St. Clare. "Mi fedraf gael allan o'r papyr newydd y pryd a fynaf yr hyn a wneiff gymaint o les i mi, a smocio segâr yn y fargen, yr hyn nis gallwn ei gael yn yr eglwys, chwi wyddoch."

"P'beth!" ebe Miss Ophelia, "a ydych chwi ddim yn credu'r golygiadau yna?"

"Pwy—fi? Chwi wyddoch fy mod i'r fath flaidd digras, nad ydyw'r golygiadau crefyddol yma ar bethau yn cael unrhyw effaith arnaf. Pe b'awn i yn dweyd dim ar y pwnc yma o gaeth-wasanaeth, mi a'i dywedwn yn onest allan ac allan, 'Ni sydd â'r llaw uchaf; mae gen-

ym gaethion; ac yr ydym yn penderfynu eu cadw—mae hyny yn gyfleusdra ac yn elw i ni;' o herwydd dyna ol a blaen y mater; dyna swm a sylwedd yr holl stwff sancteiddol yma ar ol y cwbl; ac yr wyf fi o'r farn fod hyna yn ddealladwy i bawb yn mhob man."

"Yn wir, Augustine, yr ydych mor gableddus!" ebe Marie, "mae'n arswydus gwrando arnoch."

"Arswydus mae'n wir! Am y lol grefyddol yma yn nghylch caeth-wasanaeth, pa'm na charian nhw'r mater dipyn pellach, a dangos mor ddymunol, yn ei amser, ydyw i ddyn yfed gwydriad yn ormod, ac eistedd yn lled hwyr i chware cardiau, a nifer o ddarpariadau rhaglunlaethol eraill a geir yn fynych yn ein mysg ni, ddynion ieuainc; fe fyddai'n dda genym ni glywed fod pethau felly hefyd yn ol y Bibl."

"Wel," ebe Miss Ophelia, "a ydych chwi yn barnu caeth-wasanaeth yn dda neu yn ddrwg."

"Fy nghares anwyl," ebe St. Clare, dan chwerthin, "ni chymeraf fi mo fy hoil'n glos, yn ol hen arfer Vermont. Os atebaf fi'r gofyniad yna, fe ddaw haner dwsin yn ei gynffon, a phob un yn galetach na'i frawd; ni ddywedaf fi mo fy marn. Yr wyf fi yn un o'r rhai sy'n byw wrth daflu cerig at dai gwydr pobl eraill, ond nid wyf fi ddim am osod tŷ gwydr i fyny iddynt hwy luchio cerig ato."

"Dyna fel y bydd St. Clare yn siarad bob amser," ebe Marie, "ni chewch chwi byth ddim boddlonrwydd allan o hono fo. Yr wyf fi yn credu ei fod yn rhedeg pethau fel hyn i lawr am fod yn gâs ganddo grefydd."

"Crefydd!" ebe St. Clare, mewn llais a barodd i'r ddwy rythu llygaid arno. "Crefydd! Ai crefydd ydyw'r hyn a glywch chwi yn yr eglwys? Ai crefydd ydyw'r hyn a fedr blygu a throi, a chodi a gostwng, i ffitio gwyrgemni a hunanoldeb mewn cymdeithas? Ai crefydd ydyw'r hyn sydd lai cydwybodol, lai hael, lai cyfiawn, lai ystyriol dros greadur o ddyn, na fy natur ddall, fydol, a phechadurus i fy hunan? Nage. Pan chwiliwyf fi am grefydd, mi edrychaf yn rhywle uwchlaw i mi, ac nid oddi tanaf."

"Felly, nid ydych yn credu fod y Bibl yn cefnogi caeth-wasanaeth?" ebe Miss Ophelia.

"Y Bibl oedd llyfr fy *mam*," ebe St. Clare. "Yn ei oleuni ef y bu hi fyw a marw, ac ni fynwn er dim feddwl ei fod yn cefnogi y fath beth. Fyddai mor hawdd genyf ddymuno profi fod fy mam yn yfed brandi, yn cnoi tobacco, ac yn tyngu, er mwyn fy nghyfiawnhau fy hun yn hyny. Ni fyddwn i ddim mwy boddlon i'r arferion hyn ynof fy hun, ac yspeiliai fi o'r cysur o'i pharchu hi; ac y mae'n gryn gysur yn y byd yma i ddyn gael rhyw beth i'w barchu. Mewn gair, welwch chwi," eb efe, gan droi i'w ffordd ddigrif ar unwaith, "y cwbl sydd arnaf fi eisiau ydyw cadw gwahanol bethau mewn gwahanol flychau. Mae holl ffurf-waith cymdeithas, yn Ewrop ac America, wedi ei wneud o wahanol ddarnau, y rhai ni safant chwiliad manwl wrth unrhyw faen prawf o foesoldeb. Mae'n ddigon hysbys nad yw pobl yn ceisio ymgyrhaedd at yr hyn sydd gyfiawn, ond yn hytrach yn treio gwneud fel y bydd y byd yn gyffredin yn gwneud. Yn awr, pan safo un i fyny fel dyn, a dywedyd fod caeth-wasanaeth yn angenrheidiol i ni, na fedrwn wneud hebddo, y difethid ni os rhoddir ef i fyny, ac, wrth reswm, ein bod yn penderfynu dal gafael ynddo—dyna iaith gadarn, glir, a digamgymeriad; mae bonedd y gwir yn perthyn iddi; ac os gallwn farnu oddiwrth eu hymddygiadau, y mae'r rhan fwyaf o'r byd yn ein cefnogi. Ond pan elo un i dynu gwyneb hir, ac i ocheneidio, a chodi ysgrythyrau, yr wyf fi yn cael fy nhueddu i feddwl nad yw hyny ddim yn llawer gwell nag y dylai fod."

"Yr ydych yn bur ragfarnllyd," ebe Marie.

"Wel," ebe St. Clare, "meddyliwch pe byddai rhyw beth yn gostwng pris y cotwm unwaith ac am byth, ac yn gwneud llafur y caethion yn hollol ddiwerth; ydych chwi ddim yn meddwl na chaem ni esponiad arall ar y Bibl? Y fath ffrwd o oleuni a ddisgynai ar yr eglwys ar unwaith, ac mor fuan y ceid allan fod y Bibl a rheswm dros yr ochr arall!"

"Wel, ni waeth gen i," ebe Marie, gan ymestyn ar orweddle o glustogau esmwyth, "yr wyf fi'n ddiolchgar mod i wedi ngeni lle mae caeth-wasanaeth; ac yr wyf fi yn meddwl ei fod yn iawn—yn wir, yr wyf yn teimlo y rhaid ei fod; o leiaf, nis medrwn i fyn'd ymlaen hebddo."

"Beth ydyw'ch barn chwi, pwsi?" eb ei thad wrth Eva, yr hon a ddaeth i mewn ar y pryd â rhosyn yn ei llaw.

"Am beth, papa?"

"P'run oreu genych, fyw fel y maent hwy yn byw yn nhŷ'ch ewythr yn Vermont, ai cael tŷ llawn o weinidogion, fel sydd yma?"

"O, ein ffordd ni ydi'r hapusa', wrth reswm," eb Efa.

"Sut felly?" ebe St. Clare, gan dynu ei law ar ei phen.

"Wel, mae mwy o lawer o'n hamgylch i'w caru," eb Efa, gan edrych i fyny yn ddifrifol.

"Dyna Eva i'r dim," ebe Marie; "un o'i hareithiau rhyfedd hi."

"Ydi o'n ddywediad rhyfedd, papa?" eb Eva, yn nghlust ei thad.

"Ydi, braidd, fel y mae'r byd yn myn'd," ebe St. Clare. "Ond ymh'le bu Eva bach amser cinio?"

"O, mi fu'm yn ystafell Twm, yn gwrando arno'n canu, ac mi gefais fy nghinio gan modryb Dinah."

"Yn gwrando Twm yn canu, aie?"

"O, ie, mae yn canu pethau mor anwyl, am y Jerusalem Newydd, a'r angylion glân, a gwlad Canaan."

"Ydi mi wranta; mae'n well na'r *opera*, onid ydi o?"

"Ydi; ac y mae'n myn'd i'w dysgu i minau."

"Gwersi canu, aie!—wel, yr *ydych* yn dyfod ymlaen."

"Ydw; mae Twm yn canu i mi, a fina' yn darllen fy Mibl iddo yntau; ac y mae'n esponio beth mae'n feddwl, wyddoch."

"Wel, yn wir," ebe Marie, "dyma'r newydd diweddaf eleni."

"Nid rhyw law wael ydyw Twm am esbonio'r Bibl, mi rof fi 'ngair," ebe St. Clare. "Mae gan Twm ddawn naturiol at grefydd. Yr oedd arnaf fi eisiau'r ceffylau allan yn o fore heddyw, ac mi eis yn lled ddystaw i hûn-gell Twm, yn llofft y stabal, a dyna lle'r oedd o, yn 'cadw cwrdd gweddi wrtho ei hun; ac, yn wir, ni chlywais i ddim mor flasus a gweddi Twm er's cryn amser. Fe weddiodd droswyf fi mor selog a phe buasai yn apostol."

"Ond odid nad oedd yn meddwl cich bod yn gwrando. Mi glywais am y cast yna cyn hyn," ebe Marie.

"Os oedd, ni ddangosodd lawer o gyfrwysder; o herwydd fe roddodd ei farn am danaf i'r Hollalluog yn bur ddi-dderbyn wyneb. Yr oedd yn meddwl fod genyf lawer o le i wella, ac ymddangosai yn daer iawn am i mi gael troedigaeth."

"Gobeithio y gosodwch hyn at eich calon," ebe Miss Ophelia.

"Mae'n debyg eich bod chwithau bron o'r un farn â Thwm," ebe St. Clare. "Wel, ni gawn weled,—oni chawn ni, Eva?"

## PENNOD XVII.

### AMDDIFFYNIAD Y DYN RHYDD.

Yr oedd rhyw ffwdan go dawel yn nhŷ'r Crynwr, tua'r hwyr. Gwelid Rachel Haliday yn ymsymud yma a thraw yn ddystaw, yn casglu allan o'i thrysorau teuluaidd y fath angenrheidiau a ellid eu gwasgu i'r cwmpas lleiaf, er cysur i'r crwydriaid truain oedd i fyned allan y noswaith hono. Yr oedd cysgodau'r prydnawn yn ymestyn tua'r dwyrain, a'r haul crwn coch yn sefyll yn syn yn yr awyrgylch, a'i belydrau'n tywynu yn felynion ac yn feddal i mewn i'r ystafell fechan lle yr eisteddai George a'i wraig. Yr oedd ei blentyn ar lin George, a llaw ei wraig yn ei law yntau. Edrychai y ddau yn fyfyrgar ac yn brudd, ac yr oedd ôl dagrau ar eu gruddiau.

"Ie, Eliza," ebe George, "yr ydwyf yn gwybod fod y cwbl yr ydych yn ddeyd yn wir. Yr ydych yn eneth dda—yn llawer gwell nag ydw' i; ac mi dreia neud fel yr ydych chwi'n deyd. Mi ymdrecha ymddwyn yn deilwng o ryddid. Mi dreia deimlo fel Cristion. Mae Duw Hollalluog yn gwybod i mi feddwl gwneud yn dda—ymdrechu'n galed i wneud yn dda—ond yr oedd pobpeth yn fy erbyn; ac yn awr mi annghofiaf y cwbl aeth heibio, a rhof heibio bob teimlad chwerw, a darllenaf fy Mibl, a dysgaf fod yn ddyn da."

"A phan ddelom i Canada," eb Eliza, "mi fedraf fi eich helpu. Yr ydwyf yn wniadwraig dda iawn; ac mi fedraf olchi a smwddio yn glws; a rhyngom ein dau mi fyddwn yn siwr o gael rhywbeth tuag at fywioliaeth."

"Ie, Eliza, cyhyd ag y meddiannom ein gilydd a'n bachgen. O Eliza, pe bae'r bobl yma ond gwybod y fath fendith ydyw i ddyn deimlo mai ei eiddo *ef ei hun* ydyw ei wraig a'i blentyn! Rhyfeddais lawer gwaith weled pobl a fedrent alw eu gwragedd a'u plant yn eiddo *hwy eu hunain*, yn ymofidio ac yn ymdrallodi ynghylch unpeth arall. Yr ydw' i'n teimlo fy hun yn gryf ac yn gyfoethog, er nad oes genym ddim ond ein dwylaw moelion. Yr wyf yn teimlo fel prin y medrwn ofyn gan Dduw ddim yn rhagor. Do, mi weithiais yn galed bob dydd nes dyfod yn bump-ar-hugain oed; ond er hyny, nid oes genyf gymaint a dima o arian, na thô uwch fy mhen, na llathen o dir; eto, os gwnant ond fy ngadael yn llonydd yn awr, byddaf yn foddlon—yn ddiolchgar; mi weithiaf, ac anfonaf yr arian i chwi a'm plentyn. Am fy hen feistr, y mae o wedi cael ei dâl bum' gwaith drosodd am y cwbl a wariodd arna' i. 'Does arna' i ddim dyled iddo ef."

"Ond nid ydym eto yn hollol allan o berygl," eb Eliza; "nid ydym wedi cyrhaedd Canada eto."

"Gwir," ebe George, "ond yr wy'n teimlo fel pe bawn yn anadlu awyr rhyddid, ac y mae'n fy ngwneud yn gryf."

Gyda hyn clywent leisiau yn yr ystafell allanol, yn ymddyddan yn ddifrifol, a rhoddwyd cnoc ar y drws. Neidiodd Eliza i fyny, ac agorodd.

Simeon Haliday oedd yno, a chydag ef un o'i frodyr y Cwaceriaid, yr hwn a ddygodd o'u blaenau dan yr enw Phineas Fletcher. Dyn tal, teneu, pen-goch, ydoedd Phineas, â gwynebpryd yn dangos llawer iawn o ddeall a chyfrwsder. Nid oedd ganddo wedd siriol, dawel, grefyddol, fel Simeon Haliday; ond i'r gwrthwyneb, ymddangosai yn hynod o lygad-effro a chraff, fel dyn yn ymfalchio ei fod yn gwybod mor dda beth oedd e o'i gwmpas, ac yn edrych yn mlaen yn ofalus; pethau lled annghyson â'r het a'r cantel mawr a'r ymadrodd ffurfiol.

"Mae ein ffrind Phineas wedi cael allan rywbeth o bwys i ti a'th bobl, George," ebe Simeon; "byddai gystal i ti ei glywed."

"Do, mi gefais," ebe Phineas, "ac y mae'n dangos y buddioldeb o gysgu bob amser âg un glust yn agored, mewn rhai mana, fel y byddaf yn dweyd. Trois neithiwr i ryw dafarn fach annghysbell ar y ffordd. Yr wyt ti'n cofio'r fan Simeon, lle y gwerthsom yr afalau y llynedd i'r ddynes dew hono a modrwyau mawr yn ei chlustiau. Wel, yr oeddwn i wedi gyru'n galed ac wedi blino, ac ar ol swper taflais fy hun i lawr ar bentwr o sachau oedd yn y gornel, a thynais y croen buffalo drostaf, i aros nes i'r gwely fod yn barod; a beth a 'neis ond cysgu'n drwm."

"Ac un glust yn agored, Phineas?" ebe Simeon, yn arafaidd.

"Nage! Mi ddaru mi gysgu, y clustiau a'r cwbl, am awr neu ddwy; o herwydd yr oeddwn i wedi blino yn o lew; ond pan ddois dipyn ataf fy hun, deallais fod rhyw ddynion yn y 'stafell, yn eistedd o gwmpas y bwrdd, yn yfed ac yn siarad; a chyn gneud llawer o 'stwr, t'rawodd yn fy mhen i wrando beth oeddynt o'i gwmpas, ac yn enwedig gan eu bod wedi dweyd rhwbeth am y Cwacers. 'Felly,' ebe un o'r dynion, 'y maent yn sefydliad y Cwacers, yn ddiamheu,' eb efe. Yna gwrandewis â'm dwyglust, a deallis mai am y bobl hyn yr oeddynt yn siarad. Felly gorweddis, a chlywis hwynt yn parotoi eu holl blaniau. Yr oedd y dyn ieuanc yma i gael ei anfon yn ol i Kentucky, at ei feistr, yr hwn oedd am wneud siampl o hono, i rwystro'r niggers redeg i ffwrdd; yr oedd dau o honynt i ddwyn ei wraig i lawr i New Orleans, a'i gwerthu yno er mael iddynt eu hunain, ac yn dysgwyl cael o un-arbymtheg i ddeunaw can' dolar am dani; a dywedent fod y plentyn i gael ei gym'ryd i fasnachydd, yr hwn a'i prynasai; ac yna, am y bachgen Jim a'i fam, yr oeddynt hwy i fyned yn ol at eu meistraid i Kentucky. Dywedent fod dau gwnstabl mewn tref dipyn ymlaen y rhai aent gyda hwynt i'w cym'ryd i fyny, ac yr oedd y ddynes ieuanc i gael ei dwyn o flaen barnwr; ac un o'r dyhirod, dyn bychan, llyfn ei dafod, oedd i dyngu mai ei eiddo ef ydoedd, fel y rhoddid hi fyny i'w ddwylaw ef, i'w chym'ryd i lawr i'r dehau. Y maent yn gwybod yn dda am y ffordd yr ydym ar fyned heno; a byddant ar ein holau yn o fuan, chwech neu saith o honynt. Felly, 'rwan, pa beth sydd i'w neud?"

Yr oedd y twr o bobl a wrandawent ar yr adroddiad yma yn sefyll mewn agweddau mor ddyddorol ag a fuasent yn werth sylw paentiwr. Rachel Haliday, wrth y twb tylino, yn codi ei dwylaw, yn does ac yn flawd i gyd, ac yn edrych fel un wedi dychrynu. Simeon a edrychai yn sobr anarferol. Eliza â'i breichiau am ei gwr, ac yn edrych yn drist yn ei wyneb. Safai George â'u ddyrnau yn gauad, a'i lygaid yn gwreichioni, yn edrych yn union fel y dysgwylid i ddyn wneud pan y mae ei wraig ar gael ei gwerthu ar ocsiwn, a'i fab ar gael ei anfon i gaethiwed, a hyn oll o dan nodded cyfreithiau cenedl Gristionogol.

"Pa beth *a wnawn* ni, George?" eb Eliza yn wanllyd.

"Mi wn beth a wnaf *fi*," ebe George, gan bicio i'r ystafell fechan, a threio ei bistols.

"Ie, ie," ebe Phineas, gan awgrymu ei ben ar Simeon, "ti a weli sut y mae hi'n gweithio."

"Gwelaf," ebe Simeon, gydag uchenaid; "gobeithio na ddaw hi ddim i hynyna."

"'Does arna' i ddim eisio dyfod a neb i ddrwg gyda mi na throstof fi," ebe George. "Os rhowch i mi fenthyg eich wagen fach, a nghyf'rwyddo, mi af fy hunan i ben yr yrfa nesaf. Y mae Jim cyn gryfed a chawr ac mor hyf a'r angeu, ac felly 'rwyf finau."

"Ah, wel, ffrind," ebe Phineas, "ond bydd raid i ti wrth rywun i dy yru di. Mae i ti groeso i 'neud yr holl ymladd dy hun, wyddost; ond yr ydw i'n gwybod rhwbeth am y ffordd na's gwyddost ti."

"Ond 'does arnaf fi ddim eisiau dyfod â neb o honoch chwi i berygl," ebe George.

"Dwad â mi i berygl!" ebe Phineas, gan edrych yn ymofyngar ac yn graff. "Pan ddoi di â mi i ddrwg, mi ddoi â hen lwynog."

"Dyn call, clyfer, ydyw Phineas," ebe Simeon. "Cymer di ei gynghor ef;" a chan osod ei law ar ysgwydd George, a phwyntio at y pistols, ychwanegodd, "paid a bod yn rhy fyrbwyll gyda'r rhai'n—y mae gwaed ifanc yn boeth."

"Ni wnaf fi ddim ymosod ar neb," ebe George. "Cymaint ydwyf fi'n ofyn gan y wlad yma ydyw gadael i mi fyn'd allan yn heddychlon; ond" — tawodd ar hyn, daeth cwmwl du dros ei dalcen, ac ymgynhyrfodd gewynau ei wyneb, — "gwerthwyd chwaer i mi yn marchnad New Orleans yna. Mi wn i ba beth y gwerthir hwynt; ac a ydwyf fi'n myn'd i sefyll yn llonydd ac edrych arnyn nhw yn cymeryd fy ngwraig i'w gwerthu, pan y mae Duw wedi rhoi i mi ddwy fraich gref i'w hamddiffyn? Na wnaf; trwy gymhorth Duw! Mi ymladdaf hyd yr anadl olaf, cyn y cânt gymeryd fy ngwraig a'm bachgen. A ydych chwi'n gweled bai arnaf?"

"Nis gall undyn byw dy feio di, George. Ni allai gwaed a chnawd wneuthur yn amgen," ebe Simeon. "Gwae y byd oblegid rhwystrau; er hyny, gwae y dyn trwy'r hwn y daw y rhwystr."

"Pe b'ai hyd yn oed y chwi, Syr, yn fy lle i, oni wnaech yr un peth?"

"Gweddiaf na chaffwyf fy nhemtio," ebe Simeon; "y mae'r cnawd yn wan."

"Yr ydw' i'n meddwl y byddai 'nghnawd i

yn o gryf ar achos felly," ebe Phineas, gan estyn allan bâr o freichiau fel hwyliau melin wynt. "Nid ydw' i'n siwr, ffrind George, na ddaliwn i ryw gena gerfydd ei golar, tra byddit ti'n setlo dy gyfri' âg e!"

"Pe dylai dyn *byth* wrthwynebu cam," ebe Simeon, "dylai George fod yn rhydd i wneud hyny 'rwan; ond y mae arweinwyr ein pobl ni wedi dysgu ysbryd gwell; canys nid yw digofaint gwr yn cyflawni cyfiawnder Duw; y mae'n myn'd yn dost iawn yn erbyn ewyllys llygredig dyn, ac ni ddichon neb ei dderbyn ond y rhai y rhoddir iddynt. Gweddïwn ar yr Arglwydd na chaffom ein temtio."

"Felly yr ydw *ina*'n gneud," ebe Phineas; "ond os cawn y'n temtio'n ormod, edrychant atyn'u hunain, dyna'r cwbl."

"Mae'n ddigon amlwg na chefaist ti dy eni yn Ffrind," ebe Simeon, dan wenu; "y mae'r hen natur yn mynu ei ffordd ynot ti yn lled gryf eto."

I ddweyd y gwir, rhyw ddyn diffuant, llafurus, o'r goedwig oedd Phineas gynt, yn heliwr bywiog, ac yn saethwr i drwch y blewyn; ond wedi hoffi Cwaceres glws, cynhyrfwyd ef i ymuno â'r gymdeithas yn y gymydogaeth; ac er ei fod yn aelod gonest, sobr, a defnyddiol, ac nad oedd dim neillduol yn ei erbyn, eto yr oedd rhywbeth ynddo nad oedd yn hollol at archwaeth y mwyaf ysbrydol o honynt.

"Bydd gan ein ffrind Phineas ryw ffyrdd o'i eiddo ei hun byth," ebe Rachel Haliday, dan wenu; "ond yr ydym oll yn meddwl fod ei galon yn yr iawn le, er hyny."

"Wel," ebe George, "onid gwell fyddai i ni brysuro i ffoi?"

"Mi godais i am bedwar o'r gloch, a dois ymlaen gyda nerth y carnau, ddwyawr neu dair cyn iddynt hwy gychwyn, yn ol eu trefniad. Nid ydi ddim yn ddiogel cychwyn cyn iddi dywyllu, beth bynag; o herwydd y mae rhyw ddynion drwg yn y pentrefydd ar y ffordd, a ddichon ymyraeth â ni os gwelant y wagen, a gwnelai hyny ein gohirio yn fwy na'r dysgwyl; ond yr ydw i'n meddwl y gallwn fentro ymhen y ddwyawr. Mi af fi drosodd at Michael Cross, ac mi geisia' i ganddo ddyfod ar ei geffyl buan y tu ol i ni, ac edrych allan yn ofalus ar hyd y ffordd, a rhoi rhybudd i ni os gwel unrhyw gwmpeini o ddynion yn dyfod. Y mae Michael yn cadw march a ddengys ei sodlau i'r rhan fwyaf o geffylau; a gallai efe garlamu ymlaen i ddywedyd i ni pe byddai rhyw berygl. Yr ydw' i'n myn'd allan 'rwan i ddweyd wrth Jim a'r hen wraig i fod yn barod, ac i edrych ar ol y ceffylau. Yr ydym yn o flaenllaw arnynt, ac yn sefyll siawns go dda i gyrhaedd pen yr yrfa cyn iddyn nhw'n dal ni. Felly, cadw i fyny dy galon, ffrind George; nid dyma'r perygl cyntaf y bu'm i ynddo gyda dy bobl di," ebe Phineas, gan gau'r drws.

"Y mae Phineas yn o hen-gall," ebe Simeon. "Fydd e'n sicr o wneud trosot y peth a ellir ei wneud, George."

"Y cwbwl ydw i'n ofidio am dano," ebe George, "ydyw y perygl i chwi."

"Ti a'n boddhei ni, ffrind George, os tewi a sôn dim 'chwaneg am hynyna. Beth bynag ydan ni yn ei neud,'yr ydym yn rhwym, o gydwybod, i hyny; ni fedrwn ei neud mewn un ffordd arall. Ac yrwan, mam," eb efe, gan droi at Rachel, "brysia gyda'r parotoad i'r cyfeillion yma, ni wiw i ni eu gyru ymaith ar eu cythlwng."

A thra'r oedd Rachel a'r plant yn brysur yn gwneud teisenau, ac yn cwcio'r ham a'r cyw iar, ac yn parotoi y pethau eraill i swper, eisteddai George a'i wraig yn eu hystafell fechan, â'u breichiau ymhleth am eu gilydd, yn y fath ymddyddan ag a gymer le rhwng gwr a gwraig, pan, efallai, ar ymadael oddiwrth eu gilydd am byth.

"Eliza," ebe George, "*nis geill* pobl ag sydd ganddynt ffrindiau, a thai, a thiroedd, ac arian, a'r holl bethau hyny, garu fel yr ydym ni, sy'n perchen dim yn y byd ond ein gilydd. Cyn eich adwen chwi, Eliza, ni charwyd fi gan un creadur, ond fy mam dlawd a'm chwaer. Gwelais Emily druan y bore y dygwyd hi i ffordd gan y masnachwr. Daeth i'r gornel lle'r oeddwn i'n cysgu, a dywedodd, 'George anwyl, y mae dy ffrind olaf yn mynd. Pa beth a ddaw o honot, fy machgen tlawd?' Codais i fyny a thaflais fy mreichiau am dani, a chrïais ac ocheneidiais, a chrïodd hithau hefyd; a dyna'r geiriau mwynion olaf a glywais am ddeng mlynedd hir; a fy nghalon wedi gwywo, ac yn teimlo mor sychlyd a lludw, nes i mi gyfarfod â chwi. A'ch cariad chwi—yr oedd agos fel codi dyn o farw yn fyw! Yr ydwyf fi wedi bod yn ddyn newydd byth wedi hyny. Ac yrwan, Eliza, mi dywalltaf y diferyn olaf o'm gwaed, cyn y cânt eich cym'ryd chwi. Pwy bynag a'ch cymer chwi, rhaid iddo gamu dros fy nghorph marw i."

"O Arglwydd, cymer drugaredd arnom!" eb Eliza, gan ocheneidio yn ddwys. "Pe gwelai'n dda ond goddef i ni fyn'd allan o'r wlad yma gyda'n gilydd, dyma'r cwbl yr y'm yn ei ofyn."

"A ydyw Duw o'u plaid?" ebe George, gan dywallt allan ei deimladau chwerwon ei hunan, yn hytrach na siarad â'i wraig. "A ydyw Ef yn gweled beth y mae nhw'n wneud? Paham y mae'n dyoddef y fath bethau? Ac y mae nhw'n dweyd fod y Bibl o'u tu; yn wir, y mae'r holl allu o'u tu. Y maent yn oludog, iachus a hapus; maent yn aelodau o eglwysi, yn dysgwyl myn'd i'r nefoedd; ac y maent yn myn'd trwy'r byd mor esmwyth, ac yn cael eu ffordd eu hunain yn mhobpeth; a Christionogion

tlodion, gonest, ffyddlon—Cristionogion cystal a nhwythau, neu well—yn gorwedd yn y llwch o dan eu traed. Maent yn eu prynu nhw, yn eu gwerthu nhw, ac yn gwneud masnach o waed eu calon, a'u griddfanau, a'u dagrau—a Duw *yn gadael* iddynt."

"Ffrind George," ebe Simeon, allan o'r gegin, "gwrando ar y Salm hon; fe allai y gwna les i ti."

Tynodd George ei gadair at y drws, ac Eliza, gan sychu ei dagrau, a ddaeth yn mlaen i wrando, tra yr oedd Simeon yn darllen fel y canlyn:

"'Minau braidd na lithrodd fy nhraed; prin na thripiodd fy ngherddediad. Canys cenfigenais wrth y rhai ynfyd, pan welais lwyddiant y rhai annuwiol. Canys nid oes rhwymau yn eu marwolaeth; a'u cryfder sydd heini. Nid ydynt mewn blinder fel dynion eraill. Am hyny y cadwynodd balchder hwynt, ac y gwisg trawsder am danynt fel dilledyn. Eu llygaid a saif allan gan frasder; aethant dros feddwl calon o gyfoeth. Y maent wedi llygru, yn chwedleua yn ddrygionus am drawsder; yn dywedyd yn uchel. Am hyny y dychwel ei bobl ef yma; ac y gwesgir iddynt ddwfr phiol lawn. Dywedant hefyd, Pa fodd y gŵyr Duw? a oes gwybodaeth gan y Goruchaf?' Onid dyna fel y mae gyda thi, George?"

"Felly mae, yn wir," ebe George, "yr un fath a phe buaswn wedi ei 'sgrifenu fy hun."

"Gan hyny, gwrando," ebe Simeon; "'Pan amcenais wybod hyn, blin oedd hyny yn fy ngolwg i; hyd onid aethum i gysegr Duw; yna y deallais eu diwedd hwynt. Diau osod o honot hwynt mewn llithrigfa, a chwympo o honot hwynt i ddinystr. Fel breuddwyd wrth ddihuno un, felly, O Arglwydd, pan ddeffroech, y dirmygi eu gwedd hwynt. Eto yr ydwyf yn wastad gyda thi; ymaflaist yn fy llaw ddehau. A'th gynghor y'm harweini; ac wedi hyny y'm cymeri i ogoniant. Minau, nesau at Dduw sy dda i mi; yn yr Arglwydd Dduw y gosodais fy ngobaith.'"

Anadlwyd y geiriau hyn o ymddiried duwiol, gan yr hen wr cyfeillgar, ac ymdywalltasant fel miwsig cysegredig dros ysbryd blinderus a chythruddol George; ac wedi iddo ddarfod, eisteddodd â gwedd dawel a darostyngedig ar ei wyneb hardd.

"Pe y byd hwn fyddai'r cwbl, George," ebe Simeon, "gellit, yn wir, ofyn, Ymhle mae'r Arglwydd? Ond y rhai sydd ganddynt leiaf yn y byd hwn, yn fynych, a ddewisir ganddo Ef i'r deyrnas. Dyro dy ymddiried ynddo, ac ni waeth beth a ddygwydd i ti yma; efe a wna bobpeth yn iawn i ti yn y byd a ddaw."

Pe llefaresid y geiriau hyn gan ryw gynghorwr esmwyth, hunanol, o enau yr hwn a daethent allan yn unig fel rhyw araeth grefyddol a blodeuog, briodol i'w harfer wrth bobl mewn trallod, efallai na chawsent fawr o effaith; ond yn dyfod oddiwrth ddyn ag oedd beunydd yn rhedeg y perygl o gael ei ddirwyo a'i garcharu dros achos Duw a dyn, yr oedd ynddynt y fath bwys nad oedd modd peidio ei deimlo, a'r crwydriaid tlodion amddifad a deimlasant dawelwch a nerth yn anadlu i'w mewn.

Ac yn awr cymerodd Rachel Eliza yn fwynaidd gerfydd ei llaw, ac arweiniodd hi at y bwrdd swper. Fel yr oeddynt yn eistedd i lawr, clywid cnoc bach ar y drws, a daeth Ruth i mewn.

"Mi ddaru mi dest redeg i mewn," ebe hi, "gyda'r sanau bach yma i'r bachgen—tri phâr o rai gwlan, cynes, del. Mi fydd mor oer yn Canada, ti wyddost. A wyt ti'n cadw dy galon i fyny, Eliza?" ebe hi, gan bicio o gwmpas at ochr Eliza i'r bwrdd, ac ysgwyd ei llaw yn wresog, a rhoi cacen hâd yn llaw Harri. "Mi ddois i â pharsel bach o'r rhai'n iddo," ebe hi, gan dynu yn ei phoced i gael y pecyn allan, "Rhaid i blant gael bwyta bob amser, wyddost."

"O, diolch i chwi; yr ydych yn rhy ffeind," eb Eliza.

"Tyr'd Ruth, eiste i lawr i swper," ebe Rachel.

"Ni fedra' i ddim aros 'rwan. Yr ydwyf wedi gadael John gyda'r babi ac y mae ychydig o deisenau yn y pobty; ni fedra' i ddim ymdroi un mynydyn, onte mi âd John i'r teisenau losgi yn golsyn, a rhydd yr holl siwgwr yn y fowlan i'r plentyn. Dyna fel mae o'n gwneud," ebe'r Gwaceres fach, dan chwerthin. "Felly, ffarwel, Eliza; ffarwel, George; yr Arglwydd a roddo i chwi siwrne ddyogel;" ac aeth Ruth adref.

Yn mhen ychydig enyd wedi swper daeth gwagen fawr at y drws, â chysgod drosti. Yr oedd y noswaith yn glir ac yn serenog; a neidiodd Phineas i lawr o'i eisteddle i drefnu ei dramwywyr. Cerddodd George allan â'i blentyn ar un fraich a'i wraig yn pwyso ar y llall. Yr oedd ei gamrau yn ddiysgog, a'i wynebpryd yn sefydlog a phenderfynol. Daeth Rachel a Simeon allan ar eu hol.

"Dewch allan am fynyd," ebe Phineas wrth y rhai o'r tu mewn, "a gadewch i mi ffiksio cefn y wagen, fel yna, i'r merched a'r bachgen."

"Dyma'r ddau groen buffalo," ebe Rachel. "Gwna'r seti mor gymfforddus ag y medri; gwaith caled ydi gyru drwy'r nos."

Daeth Jim allan yn gyntaf, a helpiodd ei hen fam yn ofalus, yr hon oedd yn cydio yn ei fraich ac yn edrych yn bryderus, fel yn dysgwyl yr ymlidiwr bob amrantyn.

"Jim, a ydi dy bistols di i gyd mewn cywair?" ebe George, mewn llais dystaw cadarn.

"Ydyn' yn wir," ebe Jim.

"Ac nid oes un amheuaeth gen' ti beth i neud os deuant?"

"Yr ydw' i braidd yn coelio nad oes," ebe Jim, gan daflu allan ei fynwes lydan, a thynu ei anadl yn gryf. "Wŷt ti'n meddwl y gadswa' i iddyn nhw gym'ryd y mam eto?"

Yn ystod yr ymddyddan byr hwn bu Eliza yn ffarwelio â'i ffrind garedig Rachel, a chynorthwywyd hi i'r cerbyd gan Simeon, a chan ymwthio i'r tu ol i'r cerbyd gyda'i bachgen, eisteddodd i lawr ymhlith y crwyn buffalo. Yn nesaf rhoddwyd yr hen wraig i mewn, a gosodwyd George a Jim ar estyllen arw o'u blaen a Phineas ar y fainc flaenaf.

"Ffarwel, fy nghyfeillion," ebe Simeon, o'r tu allan.

"Duw a'ch bendithio!" atebai pawb o'r tu mewn.

A gyrodd y wagen ymaith, gan rwncian ac ysgytio ar hyd y ffordd rewedig.

Nid oedd hamdden i siarad, o herwydd gerwindeb y ffordd a swn yr olwynion. Gan hyny rhonciodd y cerbyd yn ei flaen, trwy'r lleiniau hirion tywyll o goedtir, dros wastadoedd llydain annghyfanedd, i fyny'r rhiwiau ac i lawr i y goriwared, ac yn mlaen yr aethant, awr ar ol awr. Cysgodd y plentyn yn drwm cyn hir, ar liniau ei fam. O'r diwedd, dechreuodd yr hen wreigen dlawd ddychrynedig annghofio ei hofnau; a phrofodd, hyd yn oed Eliza, fel yr oedd y nos yn treulio, nad oedd ei holl ofalon yn ddigon i gadw ei hamrantau yn agored. Ar y cyfan, Phineas oedd yn ymddangos fywiocaf o honynt i gyd, ac ysgafnhaodd ei yrfa hir trwy chwibanu rhyw diwniau unpeth ond Cwaceraidd.

Ond oddeutu tri o'r gloch, fe glywodd George glic carn ceffyl yn brysio o'u holau gryn ffordd, ac efe a gyffyrddodd â phenelin Phineas. Yna daliodd Phineas ar ben y ceffylau am fynyd i wrando.

"Dyna Michael," eb efe, "mi adwaen swn troed ei geffyl;" ac efe a gododd ar ei draed, gan dremio yn bryderus dros ei ysgwydd.

Yn awr gwelid dyn ar gopa bryn yn gyru nerth carnau' i geffyl.

"Dyna fo, fel 'rydw i yn y fan yma," ebe Phineas. Neidiodd George a Jim allan o'r wagen heb wybod beth yr oeddynt yn ei gylch. Safasant yn fud, a'u gwynebau tua ffordd y genad. Yr oedd yn nesau; ac aeth i lawr i'r pant allan o'u golwg, ond gallent glywed ei garlam fywiog yn dyfod nes-nes; o'r diwedd gwelent ef ar ben y rhiw, o fewn cyrhaedd galw.

"Ie, dyna Michael," ebe Phineas; a chan godi ei lais, efe a waeddodd, "Michael, ai ti sydd yna?"

"Phineas, wyt ti yna?,"

"Ydw; pwy newydd?—ydyn nhw'n dwad?"

"Ydyn, yn bur agos, wyth neu ddeg o honynt, yn boeth gan frandi, yn tyngu ac yn malu poer fel bleiddiaid!"

A chyda'i fod yn dweyd y gair, daeth swn traed meirch gyda'r awel o gryn ffordd.

"I mewn a chwi—i *mewn* ar unwaith, fechgyn!" ebe Phineas. "Os rhaid i chwi ymladd, aroswch hyd nes caf fi chwi dipyn pellach." Ar y gair, neidiodd y ddau i'r wagen, chwipiodd Phineas y ceffylau i redeg, a marchogodd Michael o'r tu ol. Ysgytiodd y wagen ymlaen, a gallesid meddwl ei bod bron yn ehedeg ar hyd y ffordd rewlyd; ond daeth swn yr ymlidwyr yn nes bob mynyd. Clywodd y gwragedd hwynt, ac edrychasant allan o'r wagen, a gwelent dwr o bobl ar ben bryn ymhell o'u hol, yn amlwg rhyngddynt ag awyr goch y bore cyntaf. Oddiar fryn arall, yr oedd yn hawdd gwybod iddynt gael cip-olwg ar y wagen, gorchudd gwyn yr hon a'i gwnai yn hynod oddiyma draw, a daeth bloedd fwystfilaidd o fuddugoliaeth ar edyn y gwynt. Trodd calon Eliza yn glaf, a gwasgodd ei phlentyn yn ei chesail; trodd yr hen wraig i weddio a gruddfanu; a gafaelodd George a Jim yn eu pistolau, fel ar ddibyn anobaith. Yr oedd eu hymlidwyr yn ynill tir arnynt yn fuan; a throdd y wagen yn sydyn at droed craig uchel oedd yn sefyll wrthi ei hun, a gwastatir yn mhob man o'i hamgylch. Safai'r golofn hon yn dywyll a thrymaidd rhyngddynt a gwawr y bore, ac addawai nawdd ac ymguddfa iddynt. Gwyddai Phineas yn dda am y lle, er hen amser ei helwriaeth, ac i'r dyben o gyrhaedd y noddfa hon y bu'n gyru ei geffylau mor filain.

"'Nawr am dani hi!" eb efe, gan ddal y ceffylau a neidio o'r wagen. "Allan a chwi, ar amrantyn, bob enaid, ac i fyny'r graig yma ar f'ol i. Michael, rhwyma dy geffyl wrth y wagen, a gyr yn dy flaen i dŷ Amariah, a phar iddo ef a'i fechgyn ddyfod yn ol i siarad â'r gweilch yma."

Neidiasant oll o'r wagen ar winciad llygad.

"Dyna," ebe Phineas, ac a ymaflodd yn Harri, "edrychwch chwi'ch dau at y merched, a rhedwch *'rwan*, os *darfuch* chwi redeg erioed."

Nid oedd dim eisiau anogaeth. Yr oedd pob un o honynt yr ochr arall i'r clawdd yn gynt nag y medrwn ni adrodd, ac yn dringo i fyny'r graig mor gynted byth ag y gallent; a neidiodd Michael i lawr, cylymodd ei geffyl wrth y wagen, a gyrodd ymaith ar frys.

"Dowch ymlaen," ebe Phineas, wedi iddynt gyrhaedd y graig, a chael trywydd y llwybr rhwng goleu'r ser a thoriad y wawr; "dowch i fyny, hen ffau helwriaeth i mi ydyw hon."

Aeth Phineas yn mlaen, gan ddringo i fyny'r clogwyni fel bwch gafr, a'r bachgen yn ei freichiau. Daeth Jim yn ail, gan gludo ei hen fam lesg ar ei gefn; a George ac Eliza yn olaf. Ar ol dringo felly am ychydig, daethant i ben y clogwyn; wedi hyn yr oedd llwybr cul, a

dim lle ond i un ar unwaith fyned ar hyd-'ddo, a daethant at hollt yn y graig, tua llathen o led, a thu draw i hwnw yr oedd gwastadle, a'i ymylion yn serth i'r gwaelod fel mur castell. Neidiodd Phineas yn ddigon hawdd dros y bwlch, a gosododd y plentyn ar lawr ar dwr o fwswgl gwyn, oedd yn gorchuddio copa'r graig.

"Drosodd a chwi," eb efe; "'rwan, neidiwch, unwaith, am eich bywyd!" meddai, fel yr oedd y naill ar ol y llall yn llamu drosodd. Nis gellid eu gweled o'r gwaelod, am fod yno fath o glawdd cerig rhyddion yn eu cysgodi.

"Wel, dyma ni; bob copa," ebe Phineas, gan daflu golwg ochelgar dros y clawdd i edrych am yr ymlidwyr, y rhai oeddynt yn dyfod yn mlaen yn llawn dwndwr wrth droed y graig. "Daliant ni, os gallant. Pwy bynag ddaw i fyny yma, rhaid iddynt ddyfod bob yn un, rhwng y ddwy graig yna, yn farc braf i'r pistol, welwch chwi, fechgyn?"

"Gwelaf," ebe George, "ac yn awr, sefwch chwi draw, gan mai ein busnes ni ydyw hyn, a gadewch yr ymladd i ni."

"Mae i ti groeso cael yr ymladd i ti dy hun, George," ebe Phineas, gan gnoi dail rhyw eirin perthi tra'r oedd yn siarad; ond mae'n debyg gen i y gadewi i mina gael y sport o edrych arnoch. Ond wel'di, mae'r gweilch yna yn y gwaelod yn siarad, ac yn edrych i fyny, fel ieir cyn hedeg i'r glwyd. Fydda ddim yn well i ti roi gair o gynghor iddynt, cyn iddyn nhw gychwyn, a dweyd, yn ffrindiol, y cânt eu saethu os dyfod a wnant?"

Erbyn hyn, yr oedd yn ddigon goleu i weled y teulu wrth droed y graig, a phwy oeddynt ond ein hen gydnabyddiaeth Twm Loker, a Mark, a dau gwnstabl, yn nghyda'r fath lebanod segur ag a ellid gael yn y dafarn, am ychydig frandi, i gymeryd rhan yn y sport o ddal lot o niggers.

"Wel, Twm, mae dy lwynogod di wedi cael daear," ebe un o honynt.

"Ydyn; mi gwelais nhw'n myn'd i fyny ffordd yma," ebe Twm; "a dyma'r llwybr. Mi af fi fyny rhag 'y mlaen. Ni fedran nhw ddim neidio i lawr ar frys, ac ni fyddwn ni ddim yn hir yn eu fferetio nhw allan."

"Cymer ofal, Twm," ebe Mark, "mi allan' saethu aton ni o'r tu ol i'r clogwyn; peth cas fyddai hyny, wyddoch."

"Uch!" ebe Twm, yn drwynsur. "Yr wyt ti, Mark, yn ofalus iawn am groen iach! Dim perygl! mae ar niggars ormod o ofn!"

"Ni welaf fi un rheswm pa'm na *ddylwn* i ofalu am groen iach," ebe Marks. "Dyma'r croen gore sy gen i. Ac y *mae* niggers yn ymladd fel yr hen fall, ambell waith."

Gyda hyn ymddangosodd George ar gopa'r graig uwch eu penau, a chyfarchodd hwynt mewn llais clir ac arafaidd,

"Foneddigion, pwy ydych chwi i lawr yna, a pheth ydyw eich neges?"

"Dyfod ar ol niggers sydd wedi dianc yr ydym," ebe Twm Loker. "Un George Harris, Eliza Harris, a'u mab, a Jim Selden, a hen ddynes. Mae'r swyddogion gyda ni, a chanddynt warant i'w dal; ac mi daliwn nhw hefyd. Wyt ti'n clywed? Onid tydi ydi George Harris, sy'n perthyn i Mr. Harris, sir Shelby, yn Kentucky?"

"Myfi ydyw George Harris. Bu un Mr. Harris, yn Kentucky, yn fy ngalw yn eiddo iddo unwaith. Ond yr wyf heddyw yn ddyn rhydd, yn sefyll ar ddaear rydd Duw, ac yr wyf yn cleimio fy ngwraig a'm plentyn yn eiddo i mi. Mae Jim a'i fam yma. Mae genym arfau i'n hamddiffyn ein hunain, ac yr ydym yn penderfynu gwneud hyny. Chwi allwch ddyfod i fyny, os ydych yn dewis; ond y cyntaf a ddaw o fewn cyrhaedd bwled, bydd yn ddyn marw, a'r nesaf, a'r nesaf, hyd yr olaf."

"O, pw-pw, dowch, dowch," ebe dyn bychan, tordyn, gan ddyfod yn mlaen, a chwythu ei drwyn, "lanc ifanc, ni wiw i ti siarad fel yna. Swyddogion y gyfraith yden ni, wyddost. Mae'r gyfraith o'n tu ni, a'r awdurdodau, ac felly'n y blaen; gan hyny, gwell i ti roi fyny'n llonydd, wel'di, o herwydd rhoi fyny raid i ti yn diwedd."

"Mi wn yn burion fod y gyfraith wrth eich cefn, a'r gallu," ebe George, yn ofidus. "Yr ydych yn bwriadu cymeryd fy ngwraig i New Orleans, a'i gwerthu, a gosod fy machgen, fel llo mewn cwt masnachwr, ac anfon hen fam Jim at y blaidd a'i fflangellodd hi am na fedrai fflangellu ei mab. Mae arnoch eisio fy ngyru i a Jim yn ol, i gael ein chwipio a'n poenydio, a'n malurio i'r ddaear dan draed sawl a alwch yn feistriaid; ac y mae'r gyfraith yn rhoddi awdurdod i chwi wneud y pethau hyn—fel y mae mwya cywilydd i chwi a hwythau! Ond nid ydych wedi ein cael ni eto. Nid ydym yn cydnabod eich cyfreithiau; nid ydym yn honi eich gwlad; yr ydym yn sefyll yma dan awyr Duw mor ryddion a chwithau; ac yn penderfynu, trwy gymhorth y Duw a'n gwnaeth, yr ymladdwn hyd angeu dros ein rhyddid."

Safodd George mewn llawn golwg, ar ben y clogwyn, pan wnaeth y declarasiwn yma o independiaeth; ac yr oedd awyr y bore yn ei wneud yn fochgoch, ac eiddigedd chwerw ei galon yn tanio ei lygaid dû; a chododd ei law i fyny tra'r oedd yn siarad, fel pe buasai yn gwneud appeliad oddi wrth ddyn at Dduw.

Pe buasai yn ddyn ieuanc o Hungary, mewn bwlch mynyddig yn amddiffyn, gyda dewrder, ffoedigion i America, rhag dialedd Awstria, cyfrifasid ef yn arwr ardderchog a gogoneddus; ond gan mai bachgen o waed Affricanaidd oedd, yn amddiffyn ffoaduriaid trwy America i Can-

ada, yr ydym, wrth reswm, wedi ein dysgu'n rhy dda mewn gwladgarwch i weled dim arwriaeth ynddo; ac os gwel un o'n darllenwyr ddim o'r fath beth, rhaid iddo wneud hyny ar ei gost ei hun. Pan ddiango ffoaduriaid o Hungary, er gwaetha' gwarantau ac awdurdodau eu llywodraeth gyfreithlon, a glanio yn America, y mae'r wasg a'r cabinet poleticaidd yn crochfloeddio clod a chroeso. Pan wnelo Affricaniaid ar ddarfod am denynt yr un peth—mae—mae—beth *sydd?*

Boed hyny fel ag y bo; mae'n sicr i agwedd, llygad, llais, a dull y llefarwr y tro hwn daro'r dorf oddi tanodd â mudandod. Mae rhyw beth mewn gwir wroldeb a phenderfyniad sydd yn dyhuddo'r natur fwyaf anwar, dros ychydig. Mark oedd yr unig un na chawsant un effaith arno. Parotodd ei bistol yn ddigon hamddenol; ac ar ol i George ddystewi, efe a ollyngodd ergyd ato.

"Ni gawn yr un faint am dano yn farw ac yn fyw yn Kentucky, welweh chwi," eb efe, gan sychu ei bistol yn ddigon didaro yn llawes ei gôt.

Neidiodd George yn ol—a gwaeddodd Eliza—aeth y fwled ar draws blew ei gernau, a chyffyrddodd yn brin â boch ei wraig, yna ymgladdodd yn y goeden o'r tu cefn.

"Nid yw ddim yn y byd, Eliza," ebe George, yn union.

"Mae'n well i ti gadw o'r golwg, hefo d'areithiau," ebe Phineas; "hen gachgwn baw ydyn' nhw."



"'Rwan Jim," ebe George; "edrych am fod dy bistol yn barod, a gwylia'r bwlch yma gyda fi. Mi saethaf fi'r cyntaf ddaw i'r golwg; cymer dithau'r ail, ac felly yn y blaen. Ni wneiff hi mo'r tro, wyddost, dreulio dau ergyd ar un dyn."

"Ond beth os na tharawi di fo?"

"Mi *fyddaf yn sicr* o'i daro," ebe George, yn hamddenol.

"Go lew, 'rwan, mae metel yn y gwalch yna," ebe Phineas, rhwng ei ddannedd.

Safodd y bobl oedd wrth waelod y graig am enyd ar ol i Mark danio fel mewn amheuaeth.

"Yr ydw i'n meddwl i ti daro un o honynt," ebe rhyw un, "mi glywais i ysgrech."

"Dyma fi'n un yn myn'd i fyny," ebe Twm. "Ni fu erioed arna' i ofn niggars, ac nid ydw i ddim yn myn'd i ddechra' 'rwan. Pwy ddaw?" eb efe, gan ddringo i fyny'r graig.

Clywodd George ef yn ddigon amlwg. Cododd ei bistol i fyny, gwelodd fod pob peth yn iawn, a chyfeiriodd ef at y pwynt lle deuai'r cyntaf i'r golwg.

Cychwynodd y gwrolaf o'r haid wrth sawdl Twm, ac ar ol dechreu fel hyn, aeth y cwbl tuag i fyny, yr olaf yn gwthio'r blaenaf braidd yn gynt nag yr aethent o'u bodd. Yn mlaen â hwy; a gwelwyd corph mawr Twm yn fuan ar ymyl yr hollt.

Gollyngodd George ei ergyd—aeth y fwled i ochr Twm; ond, er ei glwyfo, ni throai yn ol, a chyda bloedd fel byguniad tarw gwyllt, rhoddodd naid dros yr agen tuag at y ffoaduriaid.

"Ffrind," ebe Phineas, gan ei gyfarfod ar y dibyn â gwth o'i freichiau hirion, "nid oes yma ddim o d'eisio di."

I lawr âg ef yn bendramwnwgl i'r gwagle rhwng y ddwy graig, gan ysgythru brigau'r coedydd, y llwyni, y prenau, a'r cerig, hyd oni chyrhaeddodd y gwaelod, tua deg llath, yn

friwedig, ac yn gweiddi ei hochr hi. Buasai'n debyg iawn o gael ei ladd, oni b'ai i frigau'r goeden dori ei godwm, ac i'r perthi lynu yn ei ddillad; er hyny i gyd cafodd godwm pur galed —caletach o lawer nag oedd bleserus nac yn gyfleus.

"Duw'n helpo ni! mae rhai'n yn gythreuliaid noethlymyn," ebe Mark, gan gychwyn yn ol yn llawer sioncach nag y cychwynodd i fyny, a'r lluaws wrth eu sodlau yn llithro ac yn rholio,—y cwnstabl tordyn yn neillduol—yn chwythu ac yn chwyrnu yn echrydus.

"Ffwrdd â chi o gwmpas, mechgyn i, a chodwch Twm i fyny," ebe Mark, "tra bydda' ina'n marchogaeth i geisio help,—dyna chi;" ac heb hidio mor chwerthin a'r gwatwar, bu Mark cystal ai air, ac i ffordd âg ef ar garlam wyllt.

"Wel, a fu 'rioed y fath gena' gwael?" ebe un o honynt. "Dwad a ni i'r fan yma ar ei fusnes ef, ac yna cym'ryd y goes a'n gadael ni fel yma!"

"Wel, rhaid codi'r creadur yna, beth bynag," ebe un arall. "Myn cebyst, ni waeth gen i mor llawer p'run ai byw ai marw ydi fo."

Aeth y dynion trwy'r perthi, y drain a'r mieri, a thros glogwyni a phob math o ddyryswch i'r fan lle'r oedd Twm yn dolefain, yn tuchan, ac yn tyngu bob yn ail.

"Rwyt ti'n dal ati hi'n o ddygyn, Twm," ebe un o'r dynion, "frifist ti'n arw?"

"Wn i ddim. Codwch fi, 'newch chi? Yn boeth y bo'r hen Gwacer uffernol yna! Oni basa fo, mi dawlswn i rai o honyn' nhw i lawr yma i edrych sut y basan' nhw'n leicio."

Ar ol llawer o ffwdan a thuchan, gosodwyd y campwr syrthiedig ar ei draed, a thrwy fod un dan y gesail yma a'r llall dan y gesail acw, dygwyd ef at y fan lle'r oedd y ceffylau.

"Pe gallech chi fyn'd â fi tua milltir yn ol, i'r dafarn yna ar ochr y ffordd. Rhowch hancas neu rwbeth yn y twll yna, i stopio'r gwaedu 'ffernol yma."

Edrychodd George heibio i'r clogwyn, a gwelodd hwynt yn ceisio codi corphyn mawr amrosgo Twm i'r cyfrwy. Ar ol treio yn aflwyddiannus ddwywaith neu dair, efe a drodd ac a syrthiodd yn glwt ar lawr.

"O, gobeithio nad ydi ddim wedi ei ladd!" eb Eliza, yr hon oedd gyda'r lleill yn edrych arno.

"P'am?" ebe Phineas. "Dim ond mae'n haeddu."

"O herwydd wedi angeu bydd barn," eb Eliza.

"O, ïe," ebe'r hen wraig, yr hon fuasai'n ochain ac yn gweddio yn null y tŷ cwrdd, trwy gydol yr amser; "mater sobor iawn i enaid y creadur."

"Dacw nhw yn ei adael o; fel yr ydw i'n fyw yn y fan yma," ebe Phineas.

Ac felly'r oeddynt; o herwydd ar ol rhyw fwmian ychydig eiriau, aethant ymaith ar eu meirch bob pen o honynt. Pan aethant o'r golwg, dechreuodd Phineas ymbarotoi.

"Wel, rhaid i ni fyn'd i lawr, a cherdded tipyn," eb efe. "Mi ddeudas i wrth Michael am fyn'd yn ei flaen, a cheisio help i ni, a dwad a'r wagen yn ol gydag ê; ond mae'n debyg y rhaid i ni gerdded peth o'r ffordd i'w gyfarfod. Ond gobeithiaf y daw yn fuan! Mae hi'n fore eto, ac ni bydd fawr neb o gwmpas ar draed am dipyn; tua dwy filltir sy' genon ni i fyn'd. Pe basa'r ffordd heb fod mor dalpiog neithiwr, ni ddaethen nhw ddim o hyd i ni."

Ac wrth iddynt nesu at y clawdd, hwy a welent y wagen yn dyfod ar hyd y ffordd oddi yma draw, a phobl ar geffylau gyda hi. "Wel, dacw Michael, a Stephen, ac Ameriah," ebe Phineas wrth fodd ei galon; "ni gnawn hi 'rwan, mor sicred a phe baem ni yno."

"Wel, aroswch, ynte," eb Eliza, "a gwnewch ryw beth i'r dyn yna, druan; mae'n cwyno'n arswydus."

"Ni fyddai ddim ond Cristionogol ynom," ebe George; "gadewch i ni ei godi, a myn'd âg ef gyda ni."

"A'i ddoctora i fyny yn mysg y Cwaceriaid!" ebe Phineas; "mi fyddai hyny yn dalu'r echwyn adref! Wel, ni waeth gen i. Gadewch i ni gael golwg arno;" a phenliniodd Phineas yn ei ymyl, i gael deall natur a maint ei glwyf; o herwydd gwyddai Phineas ryw faint am friwiau, er yr amser y buasai yn heliwr.

"Mark," ebe Twm, yn wanaidd; "ai ti sy' 'na, Mark?"

"Na, mi 'ddyliwn 'nate, ffrind," ebe Phineas, "llawer mae Mark yn hidio am dy groen di, tra bo'n groeniach ei hun. Mae o off er's meityn."

"Yr ydw i'n meddwl mod i wedi ngorphen," ebe Twm. "Y cena' gwael sneclyd, yn ngadal i farw fel yma fy hunan. Llawer ddeudodd fy hen fam mai dyma fel fydda' hi."

"Wel, 'rwan, glywch chi'r creadur gwirion! Druan oedd o, mae gentho fam hefyd," ebe'r hen negröes. "Fedra' i ddim help teimlo drosto fo," ebe hi.

"Yn ara' bach, cymer amynedd! paid ti a whipio a snapio fel yna'r hen ffrind," ebe Phineas, pan oedd Twm yn gwingo ac yn gwthio ei law ef ymaith. "Nid oes gen't ti 'run siawns, os na stopia i'r gwaedu yma." A phrysurodd Phineas gyda'i ddoctora, a rhwymo ei hancas, yn nghyd a phethau eraill o fewn cyrhaedd ar y briw."

"Tydi ngwthiodd i lawr," ebe Twm drwyddo ei hun.

"Wel, pe na neuthwn i, mi fasat ti yn ein gwthio ni i lawr, wel'di," ebe Phineas, wrth

blygu i gylymu'r rhwymyn. "Dyna, dyna, gâd i mi osod y rhwymyn yma. Yr ydan' ni yn 'wyllysio'n dda i ti, ac nid oes ynom ddim malais. Mi awn â thi i dŷ lle cei dy 'dendio yn iawn—cystal a g'nai dy fam bob mymryn."

Tuchanodd Twm a chauodd ei lygaid. Mewn dynion o'r fath yma, peth corphorol hollol ydyw grym a phenderfyniad, ac y maent yn llifo allan gyda'r gwaed; yr oedd golwg druenus ar y cawr yn ei gwymp.

Yr oedd y lleill wedi dyfod i fyny erbyn hyn. Tynwyd y meinciau allan o'r wagen, a thaenwyd crwyn buffalo, wedi eu dyblu i fyny, ar y gwaelod, a llwyddodd pedwar o ddynion, trwy lawer o boen, i godi Twm iddi. Cyn ei ddodi i mewn, syrthiodd mewn llewygfa farw gelain. Eisteddodd yr hen negröes ar waelod y wagen, a dododd ei ben yn esmwyth ar ei glin; ac aeth Eliza, George, a Jim, i'r lle oedd yn wag, yna ymaith a hwynt.

"Beth ydych yn feddwl o hono?" ebe George, yr hwn a eisteddodd yn ymyl Phineas yn y pen blaen.

"Wel, dim ond twll go ddwfn yn ei gnawd o; ond ni wnaeth y codwm ar draws y coed a'r cerig yna ddim lles iddo. Mae wedi gwaedu cryn lawer; wedi ei garthu allan, y brol a'r cwbwl; ond mi ddaw drosti, ac fe allai dysg o wers neu ddwy yn y tro."

"Mae'n dda genyf glywed hyny," ebe George. "F'asai'n boen mawr ar fy meddwl i, pe buaswn wedi cymeryd bywyd cyd-greadur, hyd yn nod mewn achos cyfiawn."

"Ie," ebe Phineas, "rhywbeth hyll ydyw'r lladd yma, ffiesiwch o fel y fynoch chi,—dyn neu anifail. Mi f'um i'n heliwr mawr yn fy nydd, ac mi welais garw, ar ol cael ei saethu, a bron marw yn troi 'lygad ar ddyn mewn ffordd ag oedd yn peri i un feddwl nad oedd dim yn iawn ei ladd; ond y mae bywyd dyn yn llawer mwy o bwys, oherwydd fel deudodd dy wraig di, mae barn ar ol hyny. Felly, digon prin yr ydw i'n meddwl fod golygiadau'n pobl ni yn myn'd yn rhy bell ar y mater; ac ystyried pa sut y ces i fy magu, mi syrthias i mewn â nhw yn lled rwydd."

"Beth wnawn ni â'r creadur gwirion?" ebe George.

"O, ni awn ag ef i dŷ Amariah. Dyna'r hen Nain Stephens—Dorcas y maent yn ei galw—mae hi'n nyrs heb ei bath. Mae'n dyfod yn naturiol iddi, ac ni bydd hi byth wrth ei bodd os na bydd yn tendio rhywun sâl. Mae'n debyg y rhaid i ni ei roddi dan ei gofal hi am un pythefnos.

Ar ol marchogaeth tuag awr, daethant at dŷ ffarm taclus, lle cafodd y creaduriaid blinedig foreubryd cysurus. Dodwyd Twm Loker yn fuan mewn gwely llawer glanach nag y buasai ynddo er's amser maith. Glanhawyd ei friw yn ofalus, a rhwymwyd ef; a thyna lle gorweddai, fel plentyn blinedig, gan agor ei lygad, yn awr ac yn y man, ar y curtansiau gwynion, a rhywun yn myned yn ol ac ymlaen yn ddistaw ar hyd ei ystafell. Ac yma ni a gymerwn genad â rhai o'n cyfeillion, dros dymhor.

## PENNOD XVIII.

### PROFIAD AC OPINIYNAU MISS OPHELIA.

Byddai ein ffrind Twm yn ei ffordd ddiniwed ei hun, yn cydmaru ei fywyd mwy esmwyth yn ei gaethiwed, i Joseph yn yr Aipht; ac, yn wir, fel yr oedd amser yn treiglo, ac yntau yn dyfod yn fwy adnabyddus i'w feistr, yr oedd y gydmariaeth yn hytrach yn cynyddu.

Yr oedd St. Clare yn esgeulus ac yn wastraffus o'i arian. Hyd yma ymddiriedid y darpariaeth tuag at y tŷ a'r marchnata i Adolph, yn benaf; yr hwn oedd yn llawn mor ddiofal a difethgar a'i feistr; a rhwng y ddau, yr oeddynt wedi gwneud llawer iawn yn y gorchwyl o wasgaru. Twm, yr hwn am lawer o flynyddoedd a ystyriai eiddo ei feistr mor deilwng o'i ofal a phe buasai yn perthyn iddo ei hun, a welai, gyda gofid, yr afradlondeb yn y tŷ; ac weithiau, yn araf ac annghyfeiriol, anturiai, yn ffordd gynhenid ei bobl, roddi gair o gynghor.

Yn y dechreu ni roddai St. Clare ef ar waith ond yn achlysurol; eithr wedi syllu ar gryfder ei feddwl a'i gymhwysder at fusnes, ymddiriedodd ynddo fwyfwy, nes o'r diwedd y gosodwyd yr holl farchnata a'r darparu i'r teulu o dan ei law ef.

"Nage, nage, Adolph," eb efe un diwrnod, fel yr oedd Adolph yn grwgnach fod yr awdurdod yn myned o'i law ef; "gad lonydd i Twm. Nid wyt ti'n deall ond am y peth sydd arnat ei eisiau—y mae Twm yn deall costau a moddion hefyd; hwyrach y daw diwedd ar arian yn y man, os na adawn i rywun wneud hyny."

Yr oedd gan Twm, trwy ymddiried iddo bobpeth gan feistr diofal, yr hwn a dderbyniai y bil heb edrych arno, ac a roddai yr arian yn ei boced heb un cyfrif, bob cyfleusdra a themtasiwn i fod yn anonest; ac ni allasai dim ond diniweidrwydd naturiol ansigledig, wedi ei gyfnerthu gan ffydd Gristionogol, ei gadw yn ddidwyll. Ond yr oedd yr hyder annherfynol a roddid ynddo yn rhwymyn ac yn sêl i'r anian hono, i gwblhau pobpeth yn y modd cywiraf a manylaf.

Ond yr oedd y mater yn wahanol gydag Adolph. Yn ddifeddwl ac yn hoff o hunanfwynhad, a chanddo feistr yr hwn yn lle ei ffrwyno a ddewisai esmwythyd yn hytrach nag iawn-drefnu, efe a syrthiasai i ddyryswch hollol yn nghylch yr *eiddof fi* a'r *eiddot tithau* rhyngddo ef a'i feistr, yr hyn rai prydiau a drallodai St. Clare ei hun. Yr oedd ei synwyr

yn dywedyd wrtho fod dwyn i fyny ei weinidogion fel hyny yn annheg ac yn beryglus. Yr oedd rhyw fath o edifeirwch parhaol yn cydfyned âg ef yn mhobman, eto nid yn ddigon cryf i achosi unrhyw gyfnewidiad yn ei ymddygiad; a'r edifeirwch yma drachefn a wrthweithiodd i ymfoddhad. Edrychai yn ysgafn dros y beiau mwyaf, oherwydd dywedai wrtho ei hun, pe gwnelsai ei ddyledswydd, na syrthiasai ei weision iddynt.

Edrychai Twm ar ei feistr ifanc, llonwych, hardd, gyda rhyw gymysgedd hynod o ffyddlondeb, parch, a gofal tadol. Nad oedd byth yn darllen y Bibl; byth yn myned i'r eglwys; ei fod yn cellwair ac yn gwneyd yn hyf â phob peth a ddeuai ar lwybr ei ffraethineb; ei fod yn treulio ei nosweithiau Sul yn y chwareudy; ac yn myned i gwmpeini yfwyr gwin, i glybiau, a swperau yn fynychach nac oedd angenrheidiol —oeddynt oll yn bethau a welai Twm mor eglur ag undyn, ac ar ba rai y sylfaenai ei farn, "nad oedd mas'r yn Gristion;" er hyny yr oedd hon yn farn na chymerasai lawer am ei chrybwyll wrth neb arall, ond seiliodd arni lawer gweddi daer, ar ei ben ei hun, yn ei ystafell fechan. Nid am nad oedd gan Twm ei ffordd o ddywedyd ei feddwl weithiau, gyda'r medrusrwydd a ganfyddir yn fynych yn ei frodyr duon; er enghraifft, y dydd cyntaf ar ol y Sabboth a grybwyllwyd, gwahoddwyd St. Clare i gwmpeini llawen o gymdeithion deniadol, a dygwyd ef adref, rhwng un a dau yn y bore, mewn cyflwr a ddangosai yn eglur fod y mwyniant corphorol wedi cael y llaw uchaf ar y deall. Rhoddodd Twm ac Adolph ef i orphwys dros y nos, yr olaf yn llawn ysbryd, ac yn edrych ar y mater fel sport brâf, ac yn chwerthin yn iawn am ben arswyd gwirion Twm, yr hwn oedd mor ffol ag aros yn effro agos drwy'r nos, i weddio dros ei feistr ieuanc.

"Wel Twm, am beth yr wyt yn disgwyl?" ebe St. Clare dranoeth, fel yr eisteddai yn y llyfrgell, yn ei foreu-wisg a'i slippers. Yr oedd St. Clare newydd ymddiried swm o arian i Twm, ynghyd ag amryw negesau. Wrth weled Twm yn parhau i ddisgwyl, ychwanegodd, "A oes rhywbeth o'i le, Twm?"

"Mae arna' i ofn fod," ebe Twm, gyda gwyneb sobr.

Rhoddodd St. Clare ei bapyr newydd a'i gwpan coffi i lawr, a syllodd ar Twm.

"Paham, Twm, beth ydi'r mater? Yr wyt ti yn edrych mor bruddaidd ag arch."

"Yr ydw' i'n teimlo 'n dost iawn, mas'r. Yr oeddwn i'n meddwl bob amser y byddai mas'r yn dda wrth bawb."

"Wel, Twm, oni fu'm i? Tyred, 'rwan, beth sydd arnat ti eisiau? Y mae rhywbeth yn ol, mae 'n debyg, a'r rhagymadrodd yw hwn."

"Mae mas'r wedi bod yn dda wrtha' i bob amser. 'Does gen i ddim i gwyno ar y pen yna. Ond y mae un nad ydi mas'r ddim yn dda wrtho."

"Beth ddrwg wyt ti wedi gymeryd yn dy ben, Twm? Allan â hi; beth ydwyt ti yn ei feddwl?"

"T'rawodd hyny yn 'y mhen i neithiwr, rhwng un a dau o'r gloch. Mi ddaru mi studio ar y peth. 'Dydi mas'r ddim yn dda *wrtho ef ei hun.*"

Dywedodd Twm hyn â'i gefn at ei feistr, a'i law ar glicied y drws. Teimlodd St. Clare fod ei wyneb yn gwrido fel y scarlet, ond chwarddodd. "Oh, dyna'r cwbl aïe?" eb efe, yn ysgafn.

"Dyna'r cwbl," ebe Twm, gan droi o amgylch yn sydyn a chwympo ar ei ddeulin. "O, fy mas'r ifanc anwyl! Mae arna' i ofn mai *colli'r cwbwl* fydd y diwedd—*y cwbwl*—gorph ac enaid. Y mae'r Llyfr da yn dweyd, y brath fel y sarph, ac y piga fel y neidr, fy mas'r anwyl!"

Tagodd llais Twm, a threiglodd y dagrau i lawr ei ruddiau.

"O, y ffwl gwirion!" ebe St. Clare, â'r dagrau yn llenwi ei lygaid ei hun. "Cyfod i fyny, Twm. Nid ydwyf fi yn werth wylo drostof."

Ond ni chyfodai Twm, ac edrychai yn erfyniol.

"Wel, Twm, ni fynaf fi byth ddim mwy i'w wneud â'u gwagedd melldigedig, ar fy ngair, Twm, ni fynaf. Ni wn ar y ddaear pa sut na buaswn wedi peidio er ys talm. Yr wyf bob amser yn ffieiddio'r fath beth, ac yn fy ffieiddio fy hun hefyd. Felly 'nawr, Twm, sych dy lygaid, a dos o gwmpas dy negesau. Tyr'd, tyr'd," eb efe drachefn, "dim 'chwaneg o fendithion. Nid ydwyf fi ddim mor rhyfeddol o dda, ar ol y cwbl," eb efe, gan wthio Twm yn dyner tua'r drws. "Dyna i ti, Twm, mi roddaf fy ngair yn wystl na weli di byth mo honof fi fel hyny eto;" ac aeth Twm ymaith yn foddlon iawn, dan sychu ei lygaid.

"Mi gadwaf fy ngair âg ef hefyd," ebe St. Clare, wrth gau y drws.

A gwnaeth St. Clare felly; canys nid oedd pechodau gwrthun, mewn unrhyw ddull, yn demtasiwn neillduol i'w natur ef.

Ond, yn ystod yr holl amser hwn, pwy a all adrodd amrywiol drafferthion ein ffrind Ophelia, yr hon a ddechreuasai ar ei llafur o gadw tŷ yn y dehau.

Y mae'r gwahaniaeth mwyaf yn y byd rhwng gweinidogion sefydliadau yn y dehau, yn ol cymeriad neu gymhwysder y meistresi a'u dygant i fyny.

Mae yn y dehau, yn gystal ag yn y gogledd, ferched yn meddu doniau anghyffredin i lywodraethu, a medrusrwydd i addysgu. Y mae'r

cyfryw yn darostwng i'w hewyllys, ac yn dwyn i drefn gyson, y gwahanol aelodau o'u hetifeddiaeth fechan; ac felly'n cyd-bwyso ac uniawnu diffygion y naill trwy ormodedd y llall, nes dwyn allan gyfundrefn gyson a rheolaidd.

Teuluyddes o'r fath oedd Mrs. Shelby, yr hon a ddesgrifiasom eisoes; ac fe allai fod ein darllenwyr yn cofio mai y cyfryw y cawsant hwy hi. Os nad ydynt yn aml yn y dehau, yr achos ydyw am nad ydynt yn aml yn y byd. Y maent i'w cael yno mor fynych ag yn un man; a phan yn bod, y maent, yn y cyflwr neillduol hwnw o gymdeithas, yn cael cyfleusdra rhagorol i ddangos allan eu doniau teuluaidd.

Nid y fath deuluyddes a honyna ydoedd Marie St. Clare, na'i mam o'i blaen. Yn ddiog ac yn blentynaidd, yn ddidrefn ac yn annarbodus, nis gellid disgwyl na byddai i weinidogion a ddygid i fyny o dan ei gofal hi fod felly hefyd; a desgrifiasai i Miss Ophelia yn dra chywir y fath gyflwr o derfysg y ca'i hi y teulu ynddo, er nad oedd wedi ei gyfrif i'r achos priodol.

Y bore cyntaf o'i rhaglawiaeth, cododd Miss Ophelia am bedwar o'r gloch; ac wedi gosod ei hystafell ei hun mewn trefn, fel yr arferai wneud bob amser, er mawr syndod i forwyn yr ystafelloedd, cymerodd yr agoriadau yn ei llaw, a pharotodd i ymosod yn ffyrnig ar yr holl gypyrddau a'r mân gelloedd yn y tŷ.

Aeth ystorfa yr ymborth, cypyrddau y llian, a chell y llestri tshina, y gegin, a'r seler, i gyd o dan adolygiad arswydus y diwrnod hwnw. Daeth cynifer o bethau cuddiedig i'r golwg ag a ddychrynasant y tywysogaethau a'r awdurdodau yn y gegin a'r llofftydd, a pherodd lawer o ryfeddu a grwgnach ynghylch "y ladis yma o'r gogledd."

Yr hen Ddinah, y ben-gogyddes, yr hon oedd yn rheoli ac yn awdurdodi dros bobpeth yn y gegin, a lanwyd â digofaint oherwydd yr hyn a ystyriai yn drais ar ei rhagorfreintiau. Ni allasai un barwn yn amser y Magna Charta wrthwynebu yn fwy egnïol unrhyw ormesiad gan y Goron.

Yr oedd Dinah yn ddynes o hynodrwydd yn ei ffordd ei hun, a byddai yn anghyfiawnder i'w choffadwriaeth beidio rhoddi i'r darllenydd ryw ddychymyg am dani. Yr oedd yn gogyddes o'i mebyd, yn gystal a Modryb Cloe,—ac y mae trin bwyd yn ddawn naturiol yn perthyn i hiliogaeth Affrica; ond yr oedd Modryb Cloe wedi cael ei hyfforddi yn iawn, ac yn gweithio mewn tresi teuluaidd rheolaidd; pan, ar yr un pryd hunan-addysgol oedd Dinah, ac fel pobl athrylithgar yn gyffredinol, yr oedd yn bendant, yn hunan-dybiol, ac yn anwadal i'r eithaf.

Fel rhai philosophyddion diweddar, yr oedd Dinah yn diystyru pob dadleuaeth a rhesymu; ac yn cymeryd noddfa yn ei pherffaith sicrwydd ei hun; ac yma yr oedd yn hollol anorchfygol. Nis gallai unrhyw faint o ddoniau, o awdurdod, neu eglurhad, byth wneud iddi hi gredu fod un ffordd arall yn well na'i ffordd ei hun, neu newid yn y mymryn lleiaf y drefn a ddilynai hi. Goddefid hyn iddi gan ei hen feistres, mam Marie; a chafodd "Miss Marie," fel y galwai ei meistres ifanc, hyd yn oed ar ol ei phriodas, fod yn haws ymostwng nac ymryson; felly gadewid i Dinah y brif-lywodraeth. Ac yr oedd hyn yn esmwythach, oherwydd ei bod yn feistres hollol yn y gelfyddyd o uno eithaf ufudd-dod mewn agwedd gyd âg eithaf anystwythder mewn gweithred.

Yr oedd Dinah yn feistres yn yr holl gelfyddyd o ymesgusodi, yn ei holl ganghenau. Yn wir, yr oedd yn ddihareb ganddi hi, na allai cogyddes wneud dim allan o le; ac y mae cogyddes mewn cegin yn y dehau yn cael digon o benau ac ysgwyddau i daflu arnynt y baich o bob trosedd a ffaeledd, fel ag i ddal i fyny ei phurdeb ei hun yn ddifrycheulyd. Os oedd bai ar unrhyw ran o'r ciniaw, yr oedd haner cant o resymau da a diddadl am hyny; a bai anwadadwy haner cant o bobl eraill ydoedd, y rhai a ddwrdid gan Dinah yn ddiarbed.

Ond anaml iawn y methai Dinah yn y diwedd. Er fod ei ffordd o wneuthur pobpeth yn hynod o ddolenog a chwmpasog, ac heb un math o gyfrif ynghylch nac amser na lle,—er fod ei chegin wedi ei threfnu fel pe buasai corwynt wedi rhuthro drwyddi, a chynifer o leoedd i bob peth ag sydd o ddyddiau yn y flwyddyn, eto os byddai gan ddyn amynedd i aros wrth ei hamser hi, deuai y ciniaw i fyny yn berffaith drefnus, ac wedi ei arlwyo mewn modd na chawsai'r dyn moethusaf le i feio.

Yn awr yr oedd yn bryd dechreu parotoi ciniaw. Yr oedd Dinah, yr hon a ofynai lawer iawn o hamdden i rag-fyfyrio a gorphwys, ac yn fanwl am lonyddwch i wneud ei holl drefniadau, yn eistedd yn ei chrwcwd ar lawr y gegin, yn smocio cetyn o bibell, o'r hon yr oedd yn hynod o hoff, a'r hon a oleuai fel math o thuser i'w hysbrydoli yn ei gorchwylion. Ffordd Dinah ydoedd o weithio ei hun i fyny i yspryd teuluaidd priodol.

Yn eistedd o'i hamgylch gwelid amrywiol ganghenau o'r genedl ieuanc, o ba rai y mae digonedd yn mhob teulu yn y dehau, ar y gwaith o blisgio pys, pilio pytatws, pigo'r mânblu o'r cywion ieir, a pharotoadau eraill, a Dinah yn awr ac yn y man yn rhoi pwniad i'r gweithwyr ieuainc, neu gnoc ar eu penau, â'r uwd-ffon oedd wrth ei hochr. Mewn gwirionedd, yr oedd Dinah yn llywodraethu dros y penau crychion ieuainc â gwialen haiarn, ac yn ystyried nad oeddynt wedi eu geni i ddim pwrpas yn y byd ond i "arbed ei thraed hi," fel y

dywedai. Ysbryd y gyfundrefn o dan yr hon y dygwyd hi i fyny ydoedd, a chariodd hithau hi yn mlaen i'r eithaf.

Ar ol i Miss Ophelia fyned trwy holl barthau eraill y sefydliad ar ei chylch-daith ddiwygiol, hi aeth i mewn i'r gegin. Clywsai Dinah pa beth oedd yn myned yn mlaen, a phenderfynasai sefyll ar y tir ymddiffynol a chadwriaethol, a gwnaeth ei meddwl i fyny i wrthwynebu â'i holl egni bob trefn newydd, heb ymddangos trwy weithrediad ei bod yn gwneuthur unrhyw ymdrech.

Ystafell fawr, a llawn o bridd-feini, ydoedd y gegin, ac ynddi aelwyd a gratiau mawrion yn cyrhaedd ar hyd un ochr iddi, trefniad a geisiodd St. Clare yn ofer gan Dinah ei gyfnewid am *stove* newydd fwy cyfleus. Na wnai hi. Ni welwyd na Phuseyad na Chonserfiad erioed yn glynu yn fwy ystyfnig wrth hen bethau anghyfleus na Dinah.

Pan ddychwelodd St. Clare o'r gogledd y tro cyntaf, â threfniadau cyfleus cegin ei ewythr yn argraphedig yn ei feddwl, gwnaeth ddarpariad helaeth yn ei gegin ei hun, o gypyrddau, drors, a phethau angenrheidiol eraill, gan ddychymygu y byddent o ryw gynorthwy i Dinah yn ei harlwyaeth. Ni fuasai waeth iddo eu darparu i wiwer neu biogen. Po mwyaf o ddrors a chelloedd oedd yno, mwya'n y byd oedd o dyllau i Dinah guddio'r hen garpiau, cribau gwallt, hen 'sgidiau, blodau gwneuthur, a chelfi gwerthfawr eraill a droisid heibio, ond yn y rhai yr ymhyfrydai ei henaid.

Pan ddaeth Miss Ophelia i mewn i'r gegin, ni chododd Dinah ar ei gwadnau, ond parhaodd i smocio mewn tawelwch ardderchog, gan edrych ar ei symudiadau gyda chil ei llygad, a chymeryd arni nad oedd yn sylwi ar ddim ond y gwaith oedd yn myned yn mlaen o'i hamgylch.

Dechreuodd Miss Ophelia agor cist o drors.

"I ba beth y mae'r drôr yma dda, Dinah?" ebe hi.

"Y mae'n handi i bob peth agos, missis," ebe Dinah. Felly y gwelid. O'r amrywiaeth oedd ynddi, yn gyntaf tynodd Miss Ophelia allan lian



bwrdd o ddamasc main, â gwaed arno, yr hwn a edrychai fel wedi bod o amgylch darn o gig ammrwd.

"Beth yw hwn, Dinah? Nid wyt ti ddim yn rhoi cig yn llieiniau bwrdd goreu dy feistres?"

"O dyn, missis, nac ydw'; yr oedd y tyweli i gyd ar goll—felly ddaru mi dest i iwsio fo. Yr oeddwn ar fedr ei olchi—dyna'r peth y rhois i o yn y fan yna."

"Diymadferth!" ebe Miss Ophelia wrthi ei hun, gan fyned yn mlaen i chwalu y drôr, lle y cafodd gratur nutmeg a dwy nutmeg neu dair, llyfr hymnau y Methodistiaid, dau o hancetsi sidan budron, rhyw edafedd a gwaith gweu, papyraid o dobacco a phibell, ychydig o graccers, un neu ddwy o soseri tshina wedi eu goreuro, â phomatwm ynddynt, un neu ddwy o hen esgidiau teneuon, clwt o wlanen wedi ei binio'n ofalus â wynwyn gwynion bychain ynddo, amryw napcynau-bwrdd o ddamasc, rhai llieiniau breision, darnau o linyn a nodwyddau hosanau, ac amryw o bapyrau â thyllau ynddynt, allan o'r rhai yr oedd amryw bêr-lysiau wedi colli ar hyd y drôr.

"Yn mh'le'r wyt ti'n cadw dy nutmeg, Di-

nah!" ebe Miss Ophelia, gyda gwedd un yn gweddïo am amynedd.

"Agos yn mhob man, missis; mae rhai yn y gwppau dé yna sy wedi craccio, i fyny yn y fan acw, ac y mae rhai yn y cwpwrdd acw."

"Mae rhai yn y gratur," ebe Miss Ophelia, gan eu dal i fyny.

"O dyn, oes, mi rhois i nhw yna y bore heddyw—yr ydw' i'n leicio cadw mhethau wrth law," ebe Dinah. "Jake, beth 'rwyt ti'n sefyll? Mi cei di hi! Bydd yn llonydd yna!" ebe hi gan roi pwniad iddo â'r rholbren.

"Beth ydyw hwn?" ebe Miss Ophelia, gan ddal i fynu y soser a'r pomatwm.

"O dyn, fy saim gwallt i ydyw; mi rhois o yna i fod yn handi."

"Wyt ti'n defnyddio soseri goreu dy feistres fel hyn?"

"Dyn anwyl! ar frys garw 'r oeddwn; yr oeddwn am ei gymeryd allan heddyw."

"Dyma ddau napcyn bwrdd, o ddamasc."

"Yr oeddwn wedi rhoi rheina heibio, i gael eu golchi, ryw ddiwrnod."

"Ai nid oes genych le o bwrpas i roddi pethau heibio i'w golchi?'

"Wel, mi ddoeth Mas'r Clare â'r gist yna i hyny, meddai o; ond mi fydda i'n leicio cymysgu'r biscedi a gosod fy mhethau arni hi weithiau, ac yna nid ydi'n hawdd codi'r caead."

"Paham na wnei di gymysgu dy fiscedi ar y bwrdd pasteiod acw?"

"O dyn, missis, y mae'n myn'd mor llawn o ddysgla, a'r naill beth a'r llall, na chawn i yn y myw ddim lle arno."

"Ond ti ddylit *olchi* dy ddysglau, a'u rhoi yn eu lle?"

"Golchi fy nysgla!" ebe Dinah, mewn tôn uchel, fel yr oedd ei digofaint yn tori dros ben ei hymddygiad gostyngedig arferol, "beth wyr ladies am waith, 'sgwn i? Pa bryd cai mas'r ei ginio pe bawn i'n treulio f'amser yn golchi a rhoi heibio'r dysgla? Ni ddeudodd Miss Marie 'rioed y fath beth wrtha' i."

"Wel, dyma'r wynwyn yma."

"Dyn anwyl, ïa!" ebe Dinah; "dyna'r lle y rhois i nhw, gest 'rwan. Ollyngais i'n angho'. Wynwyn neillduol ydi 'rheina, oeddwn i'n gadw i'w rhoi yn y stiw yma; anghofiais eu bod yn yr hen wlanen yna."

Tynodd Miss Ophelia allan y papyr rhydd a'r llysiau peraidd. "Leiciwn i missis beidio cyffwrdd â rheina. Mi fyddaf fi'n cadw 'mhetha lle y gwn ymhle i'w cael," ebe Dinah, yn lled benderfynol.

"Ond nid oes dim angen am y tyllau yma yn y papyrau."

"Mae rheina'n handi i'w hysgwyd nhw allan," ebe Dinah.

"Ond weli di, y mae'r cwbl yn colli ar hyd y drôr."

"O'r anwyl ydynt! os eiff missis i droi a throsi pethau fel yna, fyddan yn siwr o neud. Mae missis wedi colli llawer fel yna," ebe Dinah, gan nesâu yn araf at y drors. "Os gwneiff hi ond myned i fyny'r grisia tan ddaw amser clirio, mi fyna' i bobpeth yn iawn; ond ni fedra' i neud dim yn y byd tra bo ladis o 'nghwmpas i yn fy rhwystro. Sam, paid ti a rhoi'r fowlan siwgr yna i'r baban! Mi gei di gnoc os na 'drychi di ati hi!"

"Yr ydwyf fi'n myn'd trwy'r gegin i roi pobpeth mewn trefn, *am unwaith*, Dinah; ac yr ydwyf fi'n disgwyl i ti eu *cadw* felly."

"Gwarchod ni, miss Philia! 'Dydi hona ddim yn ffordd iawn i ladis. Ni weles i ddim ladis erioed yn gwneud y fath beth; ni 'naeth fy hen fissis na Miss Marie 'rioed felly, ac ni wela' i un math o angen am dano." A rhodiodd Dinah yn ol ac ymlaen yn bensyth ac yn ddigllon, tra'r oedd Miss Ophelia'n gosod y dysglau, yn tywallt dwsingau o fowliau siwgwr i'r un llestr, yn pigo allan y napcynau, y llieiniau bwrdd, a'r tyweli, i'w golchi. Glanhaodd, sychodd, a threfnodd bethau gyda'r fath fedrusrwydd a chyflymder ag a barodd berffaith syndod i Dinah.

"Gwarchod ni! os fel yna y mae ladis y gogledd yn gwneud, 'dydyn nhw ond rhyw ladis digrif iawn," ebe hi wrth rai o'i gosgorddlu o'i hamgylch, pan yn ddigon pell o'r clyw. "Mae pethau mor wastad gen i ag undyn, pan ddel f'amser i glirio; ond 'does arna' i ddim eisio ladis o'm cwmpas, i'm rhwystro a rhoi pethau mewn llefydd na cheir byth hyd iddyn nhw."

Chware têg i Dinah, tarewid hi weithiau â rhyw gylch-iâs o ddiwygio a threfnu, yr hyn a alwai hi yn "amser clirio," a dechreuai arni hi'n wresog, gan droi pob cell, drôr, a chist y tu gwrthwyneb allan, ar y llawr neu'r byrddau, a gwneid yr annhrefn yn saith gwaeth.

Yna goleuai ei phibell, ac, wrth ei phwys, dosbarthai ac edrychai dros ei thaclau, a siaradai am danynt; gan wneud i'r mân-gattal ysgwrio y tiniau â'i holl egni; a chedwid dwndwr anghyffredin am oriau, yr hyn a esponiai, i foddloni yr ymofynydd, gyda'r sylwad mai "clirio" yr ydoedd. Ni fyn hi "i bethau fynd ymlaen fel y buont," ac yr oedd hi "am gadw gwell trefn;" canys yr oedd Dinah rywsut dan yr hudoliaeth ei bod hi ei hun yn enaid pob trefnusrwydd, ac mai "y rhai ieuainc," a phawb arall yn y tŷ, oedd yr achos o bob amherffeithrwydd yn hyn. Wedi i'r tiniau gael sgwrio, a'r byrddau gael eu scrybio yn glaerwynion, a phob peth oedd yn dramgwydd i'r llygad gael ei stwffio i dyllau a chornelau, ymwisgai Dinah mewn dillad trefnus, arffedog lân, a thwrben uchel, gwych, am ei phen, a gorchymynai i'r holl "rai ieuainc"

traws-ymwthiol gadw allan o'r gegin, o herwydd ei bod hi am gadw pethau'n daclus. Yn wir, yr oedd y tymhorau cylchol hyn yn dyrysu yr holl dylwyth; canys yr oedd Dinah yn cymeryd y fath hoffder yn y llestri gloywon, nes gwahardd i bawb eu defnyddio o hyny allan i un pwrpas yn y byd, o leiaf nes i wres y "clirio" ymoeri.

Yn mhen ychydig ddyddiau dygodd Miss Ophelia bob cyfran o'r tŷ i drefn reolaidd. Ond yr oedd ei llafur yn mhob man, pan ddibynai ar gyd-weithrediad gweinidogion, yn dra thor-galonus. Yn ei hanobaith, appeliodd at St. Clare un diwrnod.

"Nid oes dim o'r fath beth a chael unpeth fel trefn yn y teulu yma."

"Nac oes, yn ddiau," ebe St. Clare.

"Y fath reolaeth ddiymadferth, y fath wastraff, y fath annhrefn, na welais i erioed eu tebyg!"

"Mae'n ddiamau na's gwelsoch."

"Ni chymerech y peth mor ddigyffro pe baech yn olygwraig tŷ."

"Fy nghares anwyl, ni waeth i chwi ddeall, unwaith ac am byth, ein bod ni y meistradoedd wedi ein rhanu i ddau radd, y gorthrymwyr a'r gorthrymedig. Yr ydym ni y rhai sydd yn deimladwy ac yn casâu creulondeb, yn gwneud ein meddyliau i fyny i oddef cryn lawer o anghyfleusdra. Os *mynwn* gadw haid o greaduriaid penrydd, anwybodus, yn ein mysg, er mwyn ein cyfleusdra ein hunain, wel, rhaid i ni roi fyny â'r canlyniadau. Gwelais rai esiamplau, ond anfynych, o bobl, trwy ryw fedrusrwydd anghyffredin, yn medru gwneud trefn a rheolaeth heb ddim toster; ond nid wyf fi yn un o rheiny; felly gwneis fy meddwl i fyny, er ys talm, i adael pethau fyn'd yn mlaen yn union fel y maent. Ni fynaf fi i'r creaduriaid tlodion gael eu curo a'u chwipio, a hwy a wyddant hyny yn dda; ac, felly, y mae'r ffon yn eu dwylaw eu hunain."

"Ond bod heb nac amser, na lle, na rheol— y cwbl yn myn'd yn mlaen yn y dull diymadferth yma!—"

"Fy anwyl Miss Vermont, yr ydych chwi brodorion y pegwn gogleddol yn gosod gwerth anghymedrol ar amser! Pwy ddefnydd ar y ddaear ydyw amser i druan-ddyn sydd ganddo fwy o'r haner nac a ŵyr pa beth i'w wneud âg o? Mewn perthynas i reol a threfn, lle nad oes dim yn y byd i'w wneud ond gorweddian ar y soffa a darllen, nid yw awr yn gynt neu yn hwyrach i frecwesta neu giniawa o nemawr bwys. Yn awr dyna Dinah yn arlwyo ciniaw rhagorol—soup, ragout, cywion rhost, ffrwythydd melysion, ice-creams a phobpeth—ac y mae'n creu'r cwbl o'r tryblith a'r hen nos, i lawr yn y gegin yna. Onid ydyw y dull y mae hi'n gweithio yn ardderchog? ond bendith y Nef arnom! os ydym i fyned i lawr yna, ac edrych ar yr holl smocio a'r crwcydu sydd o amgylch, a'r ffwdan yn y ddarpariaeth, ni fwytâem damaid byth mwy! Fy nghares hynaws, peidiwch a meddwl am hynyna! Mae'n waeth na phenyd papistiaidd, ac yn llawn mor ddiles. Ni wnewch ond colli eich tymher, a dyrysu Dinah i'r eithaf. Gadewch iddi fyn'd yn mlaen yn ei ffordd ei hun."

"Ond, Augustine, ni wyddoch chwi ddim fel y cefais i bethau."

"Ni wn i? Oni wn i fod y rholbren o dan ei gwely, a'r gratur nutmeg yn ei phoced gyd â'r tobacco—fod ugeiniau o wahanol fowliau siwgwr, un yn mhob twll yn y tŷ—ei bod yn golchi'r llestri un diwrnod gyda'r napcynau ciniaw, ac â darn o hen bais y diwrnod nesaf! Ond y pen draw i'r cwbl ydyw, y mae'n arlwyo ciniawau gogoneddus, ac yn gwneud coffi rhagorwych; a rhaid i chwi ei barnu fel y bernir seneddwyr a rhyfelwyr, yn ol *ei llwyddiant!*"

"Ond y gwastraff—y draul!"

"Oh, wel! Clöwch bob peth a fedroch, a chadwch yr allweddi. Rhoddwch allan bob yn dipyn, ac na ofynwch byth am benau a chynffonau—nid hyny mo'r goreu, drachefn."

"Mae hyny yn fy mlino i, Augustine. Nis gallaf beidio teimlo nad ydi'r gweinidogion yma yn *hollol* onest. Ydych chwi'n sicr y gellir ymddibynu arnynt?"

Crechwenodd St. Clare yn anghyffredin wrth weled y gwyneb difrifol a phryderus a wnaeth Miss Ophelia wrth ofyn y cwestiwn.

"O fy nghares, y mae hynyna'n rhy ddiniwed. *Gonest!* fel pe gellid disgwyl y fath beth! Gonest! nac ydynt, yn ddiau. Paham y dylent fod? Pa beth ar y ddaear sy i beri iddynt fod felly?"

"Paham na ddysgwch hwynt!"

"Eu dysgu! Pw, nonsens! Pa addysg a feddyliech fedrwn i roddi? Yr ydwyf yn edrych fel dysgawdwr, onid wyf fi! Am Marie, bid siwr, y mae ganddi hi ddigon o ysbryd i ddi-eneidio planhigfa gyfan o honynt, pe bawn yn gadael iddi reoli; ond ni fedrai byth dynu'r twyllo allan o honynt."

"Ai nid oes yr un gonest?"

"Wel, y mae ambell un yn awr ac yn y man, y rhai a wneir gan natur mor llwyr ddiniwed, cywir, a ffyddlon, nas gall y dylanwad gwaethaf eu distrywio. Ond, welwch chwi, y mae'r plentyn du yn gweled ac yn teimlo, oddiar fronau ei fam, nad oes un ffordd agored iddo ond ffordd ladradaidd. Nis gall fyned y'mlaen gyda'i rieni, ei feistres, ei feistr ieuanc, a'i fissi sy'n cyd chwareu âg ef, mewn unrhyw ffordd arall. Y mae dichell a thwyll yn dyfod yn arferion angenrheidiol, anocheladwy. Nid yw'n deg disgwyl yn amgen. Ni ddylai gael ei

gospi am hyny. O barth gonestrwydd, mae y caethwas yn cael ei gadw yn y cyflwr ymddibynol, haner-plentynaidd hwnw, nad oes dim modd gwneud iddo ddeall hawl i eiddo, neu deimlo nad yw dâ ei feistr yn perthyn iddo yntau, os medr ei gael. O'm rhan i, nid wyf yn gweled pa fodd y *gallant* fod yn onest. Mae'r fath fachgen a Thwm yma yn—yn wyrth moesol."

"A pha beth sydd yn dyfod o'u heneidiau?" ebe Miss Ophelia.

"Nid yw hynyna ddim o'm busnes i, am a wn i," ebe St. Clare; "nid wyf fi'n ymdrin ond â ffeithiau'r bywyd hwn. Y gwir yw, y deallir yn lled gyffredin fod yr holl hiliogaeth yn cael ei throi drosodd i'r gwr drwg, yn y byd yma, er elw i ni, pa sut bynag y trŷ allan mewn byd arall!"

"Y mae hyn yn berffaith echrydus!" ebe Miss Ophelia; "mi ddylai fod cywilydd arnoch drosoch eich hunain!"

"Nis gwn i a oes arnaf gywilydd. Yr ydym mewn cwmpeini go dda, serch hyny," ebe St. Clare, "fel y mae pobl yn gyffredin yn y ffordd lydan. Edrychwch ar yr uchel a'r isel, dros wyneb y byd i gyd, a'r un chwedl ydyw; mae y gradd isaf yn cael eu defnyddio yn llwyr, gorph, enaid, ac ysbryd, er llesâd yr uchaf. Felly y mae yn Lloegr; felly y mae yn mhob man; ac er hyny y mae holl Gristionogaeth yn sefyll yn syfrdanus gan ddigllonedd rhinweddol, oblegid ein bod ni yn gwneud y peth ychydig yn wahanol iddynt hwy."

"Nid felly y mae yn Vermont."

"Ah, wel, yr ydych yn cael y goreu arnom ni, yn New England a'r Talaethau rhyddion, rhaid cyfaddef. Ond dyna'r gloch; felly, fy nghyfnither, gadewch i ni roi heibio ein rhagfarnau pleidiol am enyd, a deuwch i giniaw."

Fel yr oedd Miss Ophelia yn y gegin tua diwedd y prydnawn, gwaeddodd un o'r plant duon, "O'r argen! dyna Prue yn dwad, ac yn griddfan fel arferol."

Gyda hyny daeth dynes ddu, dàl, esgyrnog, i mewn i'r gegin, â basgedaid o deisenau caled a rholiau poethion.

"Hai, Prue! yr wyt wedi dwad," ebe Dinah.

Yr oedd gan Prue wynebpryd cuchiog neillduol, a llais sarug, grwgnachlyd. Dododd ei basged i lawr, ymgrycydodd, gan roddi pwys ei phenelinoedd ar ei gliniau, a dywedodd—

"O Arglwydd! gwyn fyd na bawn wedi marw!"

"Paham y dymunech fod wedi marw?" ebe Miss Ophelia.

"Byddwn allan o'm trueni," ebe'r ddynes, yn afrywiog, heb godi ei golwg oddiar y llawr.

"P'am raid i ti feddwi, ynte, Prue," ebe un o'r morwynion, un felen, bert, gan siglo pâr o glust-dlysau coral.

Edrychodd y ddynes arni gyda thremiad sur-llyd, sarug.

"F'allai y doi ditha iddi hi, ryw ddiwrnod. Mi fydda'n dda gen i dy weld ti, mi fydda; yna bydda'n dda gen titha gael tropyn, fel fina, i anghofio d'ofid."

"Tyr'd, Prue," ebe Dinah, "gad i mi wel'd dy deisenau. Mi dâl missis yma am danyn nhw."

Cymerodd Miss Ophelia allan gwpwl o ddwsingau.

"Y mae tocynau yn yr hen jwg graciog yna ar y shilf," ebe Dinah. "Dring i fynu, Jake, a thyr'd â nhw i lawr."

"Tocynau—i beth mae nhw da?" ebe Miss Ophelia.

"Yr ydan ni'n prynu tocynau gan ei mas'r, ac y mae hithau'n dwad â bara i ni yn eu lle nhw."

"Ac y mae nhw'n cyfri fy arian a'r tocynau, pan âf adre, i wel'd a gefis y newid; ac os na chefis, y mae'n nhw'n fy haner ladd i."

"A sarfio di'n iawn," ebe Jane, y forwyn bert, "os cymeri di eu harian a'u gwario nhw i feddwi. Dyna beth mae hi'n neud, missis."

"A hyny a *wnaf:* ni fedra i ddim byw 'run ffordd arall—yfed ac anghofio'n ngofid."

"Yr wyt yn ddrygionus ac yn ffol iawn," ebe Miss Ophelia, "i ladrata arian dy feistr i wneud dy hun yn fwystfil."

"Mae'n debyg iawn mai felly y mae, missis; ond mi gwna' i o—gwna'. O Arglwydd! yr wy'n deisyfu marw, a bod allan o'm trueni!" a chododd yr hen greadures yn araf ac yn anystwyth, a dododd ei basged ar ei phen eilwaith; ond cyn myn'd allan edrychodd ar yr eneth felen, yr hon oedd yn parhau i chware â'i chlustdlysau.

"Yr wyt ti'n meddwl dy fod yn wych ofnadwy efo rheina, yn tossio dy ben, ac yn edrych i lawr ar bawb. Wel, na hidia—f'allai y byddi ditha fyw i fyn'd yn gradur tlawd, yn hen, ac wedi tori fyny, fel fina. Gobeithio Duw y byddi; yna gawn wel'd a yfi di—yfed—yfed—dy hun i'r poenau; a dy sarfio di'n iawn, hefyd—hych?" a chyd âg udfa faleis-ddrwg aeth y ddynes allan o'r ystafell.

"Yr hen fwystfil ffiaidd!" ebe Adolph fel yr oedd yn ymofyn dwfr eillio i'w feistr. "Pe bawn i'n feistr iddi, mi whipiwn i hi'n waeth nag y maent yn gneud."

"Ni fedrit ti ddim gneud hyny, modd yn y byd," ebe Dinah. "Mae ei chefn hi mor ddrwg 'rwan, na fedr hi byth dynu ei dillad at eu gilydd drosto."

"Mi 'ddyliwn i na ddylai'r fath greduriaid distadl a hona gael myn'd o gwmpas i dai pobl foneddig," ebe Miss Jane. "Beth feddyliwch chwi, Mr. St. Clare?" ebe hi, gan dossio ei phen fel hoeden ar Adolph.

Dylid sylwi fod Adolph, yn mysg pethau ereill a gymerai oddiar ei feistr, yn benthyca ei enw; a'r teitl o dan yr hwn yr adnabyddid ef yn mhlith y bobl dduon yn New Orleans, ydoedd *Mr. St. Clare.*

"Yr ydw i'n sicir o'r un farn a chwithau, Miss Benoir," ebe Adolph.

Benoir oedd enw teulu Marie St. Clare, ac un o'i morwynion hi ydoedd Jane.

"Gyd â'ch cenad, Miss Benoir, a gaf fi ofyn ai erbyn y ddawns nos y fory y mae'r clustdlysau yna? Y mae nhw'n swyno'r serch yn rhyfeddol!"

"Yrwan, Mr. St. Clare, yr ydwyf fi'n synu pa beth a ddaw o'ch digywilydd-dra chwi, y dynion!" ebe Jane, gan daflu i fyny ei phen clws nes oedd y clust-dlysau yn disgleirio, "ni ddawnsia' i ddim gyda chwi yn ystod yr holl noswaith, os ewch i ofyn chwaneg o gwestiynau i mi."

"Oh, ni fedrech chwi ddim bod mor greulon! Yr oeddwn i bron a marw o eisio gwybod a ymddangosech yn eich tarlatane pinc," ebe Adolph.

"Beth ydi'r mater?" ebe Rosa, lodes felen, fach fywiog, yr hon a ddaeth dan bicio i lawr y grisiau y moment hwnw.

"Pa beth? y mae Mr. St. Clare mor ddigywilydd!"

"Ar fy ngair da," ebe Adolph, "mi adawa i'r peth i Miss Rosa, yrwan."

"Mi wn i mai creadur coeglyd ydi fo," ebe Rosa, gan sefyll ar flaen un o'i thraed bychain, ac edrych yn faleisus ar Adolph. "Y mae bob amser yn fy ngwneud i mor ddig wrtho."

"O ladis, ladis, mi dorwch fy nghalon i rhyngoch eich dwy," ebe Adolph. "Mi'm ceir yn farw yn fy ngwely ryw fore, a bydd raid i chwithau ateb am hyny."

"Glywch chwi'r creadur hyll yn siarad," ebe y ddwy lodes ar unwaith, dan chwerthin yn anghyffredin.

"Dowch, cliriwch allan! Ni fyna i monoch chi i lolian yn y gegin, ar fy ffordd i," ebe Dinah.

"Mae Modryb Dinah'n groes, am na feder hi fyn'd i'r ddawns," ebe Rosa.

"'Does arna' i ddim eisio 'run o'ch dawnsiau goleu-liw," ebe Dinah; "yn sponcio o gwmpas, a threio gneud i bawb goelio mai pobl wynion ydych. Ar ol y cwbl nid ydach chi ond niggers, gystal a mina."

"Mae Modryb Dinah yn seimio ei phen crych gwlanog bob dydd, i geisio ei neud yn wastad," ebe Jane.

"A gwlan crych a fydd ar ol y cwbl," ebe Rosa, gan ysgwyd ei dolenau sidanaidd o wallt llaes, yn faleisus.

"Wel, yngolwg yr Arglwydd, onid ydi gwlan gystal a gwallt?" ebe Dinah. "Mi leiciwn i missis ddeud p'run sy' fwya' o werth—dwy hoeden fel chwi, ynte rhyw un fel fi. Cerddwch allan, soppenod—ni fynaf fi 'run o honoch o'm cwmpas!"

Yna torwyd yr ymddiddan mewn ffordd ddeublyg. Clywid llais St. Clare ar ben y grisiau yn gofyn i Adolph a oedd yn meddwl aros drwy'r nos gyda'i ddwfr shafio, a Miss Ophelia, yn dyfod o'r ystafell giniaw, a ddywedodd—

"Jane a Rosa, paham yr ydych chwi'n ofera eich amser yma? Cerddwch i mewn, ac edrychwch at eich muslin."

Ein cyfaill Twm, yr hwn oedd yn y gegin trwy ystod yr holl ymddiddan â'r hen ddynes a'r bara, a aeth allan ar ei hol i'r heol. Gwelai hi yn myned yn mlaen, gan roddi uchenaid drom yn awr ac yn y man. O'r diwedd gosododd ei basged i lawr ar risyn drws, a threfnodd ychydig ar yr hen shawl lom oedd ar ei hysgwyddau.

"Mi gariaf fi eich basged am dipyn?" ebe Twm dosturiol.

"P'am?" ebe'r ddynes. "Does arna i eisio dim help."

"Yr ydych yn edrych fel pe baech yn sal, neu mewn trallod, neu rywbeth," ebe Twm.

"Nid ydw' i ddim yn sal," ebe'r ddynes, yn gwta.

"Mi ddymunwn i," ebe Twm, gan edrych arni yn sobr, "mi ddymunwn i'ch perswadio chi i beidio meddwi. Oni wyddoch chi y bydd yn ddistryw i chi, gorph ac enaid?"

"'Rydwy' i'n gwybod mod i yn myn'd i'r poenau," ebe'r ddynes yn sarug. "Ni raid i chwi ddeyd i mi hyny. 'Rydw i'n ddrwg—yn erchyll—yn myn'd rhag ymlaen i'r poenau. O Arglwydd! mi fydda'n dda gen i pe bawn i yno!"

Crynodd Twm wrth glywed y geiriau arswydus hyn, yn cael eu dywedyd gydag arafwch sobr.

"Yr Arglwydd a gym'ro drugaredd arnat! y cradur tlawd. A glywist ti 'roed son am Iesu Grist?"

"Iesu Grist—pwy'di o?"

"Pwy? *yr Arglwydd,*" ebe Twm.

"Yr ydw i'n meddwl mod i wedi clywed am yr Arglwydd ac am y farn, a'r poenau. Mi glywis am hyny i gyd."

"Oni dd'wedodd neb wrthat ti am yr Arglwydd Iesu, a'n carodd ni bechaduriaid tlodion, ac fu farw droston ni?"

"Wn i ddim byd o gwmpas hyny," ebe'r ddynes; "ni ddaru neb byth y ngharu i wedi fy hen wr farw."

"Ymhle dygwyd ti fyny?" ebe Twm.

"Yn Kentucky. Yr oedd dyn yn y nghadw i i godi plant i'r farchnad, a gwerthodd nhw mor gynted ag y delent yn ddigon mawr; o'r diwedd gwerthodd fi i fasnachwr, a phrynodd mas'r fi ganddo fe."

"Beth a'th yrodd i'r ffordd ddrwg yma o yfed?"

"I gael 'madel â ngofid. Yr oedd gen i un wedi dwad yma; ac mi feddyliais y cawn i fagu un, 'ran nad oedd mas'r yn fasnachwr. Yr oedd o y peth bach clysa! ac yr oedd missis fel pe b'asai yn meddwl llawer o hono yn y dechre; ni bydda fo byth yn crïo—yr oedd mor dew braf. Ond mi aeth missis yn sâl, ac mi ddaru mina ei thendio; mi gym'ris ina y ffefer, ac mi ddaru fy llaeth i gyd fy nghadel, ac mi ddaru'r plentyn nychu nes oedd o ddim ond croen ac asgwrn, ac ni wnai missis brynu llaeth iddo. Wnai hi ddim gwrando arna' i pan ddeydwn nad oedd gen i ddim llaeth. Ddeydodd y gwydda hi y medrwn ei borthi ar beth oedd pobl erill yn fwyta. A nychodd y plentyn, a chrïodd, a chrïodd, nos a dydd, ac aeth i ddim ond croen ac asgwrn, a mi aeth missis gymaint yn ei erbyn, a doudai nad oedd o ddim ond pentwr o grocsni. Mi f'asai dda ganddi pe b'asai wedi marw, ebe hi; ac ni chawn i ef yn y nos, am ei fod yn fy nghadw i'n effro, a ngwneud i'n dda i ddim yn y byd. Gwnai i mi gysgu yn ei stafell hi; ac 'roedd yn rhaid i mi ei roi mewn rhyw dwll yn y garret, ac yno y crïodd ei hun i farwolaeth un noswaith. Mi ddaru mina ddechre yfed i gadw swn ei grio o'm clustiau? Mi ddarum—ac mi wna yfed! os âf i'r poenau am hyny! Mae mas'r yn deyd yr âf fi i'r poenau, ac yr wyf ina'n deyd wrtho mod i ynddynt 'rwan."

"O'r cradur tlawd!" ebe Twm, "a ddaru neb 'rioed ddeyd wrthat ti fel y mae'r Arglwydd Iesu yn dy garu di, ac wedi marw drosat ti? A ddaru neb ddeyd y gwna fe dy helpu di, ac y medri fyn'd i'r nefodd, a chael gorphwysdra yn y diwedd?"

"'Rydw i'n edrych fel un yn myn'd i'r nefodd," ebe'r ddynes; "onid yno y mae'r bobl wynion yn myn'd? Fyddai'n well gen i fyn'd i'r poenau, a chael myn'd oddiar ffordd mas'r a missis. *Mi fyddai*," ebe hi, gyda'i hochenaid arferol, gan gymeryd ei basged ar ei phen, a myned ymaith yn sarug.

Troes Twm, a cherddodd yn ol yn drist tua'r tŷ. Yn y cyntedd cyfarfu âg Eva fach a choron o rosynau ar ei phen, a'i llygaid yn dysglaerio o hyfrydwch.

"O Twm, dyma'ch di. Mae'n dda gen i fy mod wedi dyfod o hyd i ti. Mae papa yn dweyd y gelli gymeryd y merlynod, a'm cymeryd allan yn fy ngherbyd bach newydd," ebe hi, gan ymaflyd yn llaw Twm. "Ond beth yw'r mater, Twm?—yr wyt yn edrych yn drist."

"Nid ydw i ddim yn iawn, Miss Eva," ebe Twm, yn ofidus. "Ond mi geisia i'r ceffylau i chwi."

"Ond, O Twm, dywed i mi beth yw'r mater. Mi gwelais i di yn siarad â'r hen Prue groes yna."

Twm, yn ei ffordd blaen, ddifrifol, a ddywedodd i Eva hanes y ddynes. Ni waeddodd hi allan, na rhyfeddu, nac wylo, fel y gwna plant eraill. Troes ei gruddiau yn llwydion, ac aeth rhyw gysgod tywyll, dwys, dros ei llygaid. Gosododd ei dwy law ar ei mynwes, ac ocheneidiodd yn drwm.

---

## PENNOD XIX.

### PARHAD O BROFIAD AC OPINIYNAU MISS OPHELIA.

"Twm, nid rhaid i ti ddim trafferthu am y ceffylau. Nid oes arnaf ddim eisieu myn'd allan," eb Eva.

"Pa'am, Miss Eva?"

"Mae'r pethau yma yn trywanu nghalon i, Twm," eb Eva, "yn trywanu nghalon i," ebe hi drachefn, yn sobr. "'Does arna i ddim eisio myn'd;" a hi a drodd oddiwrth Twm, ac a aeth i'r tŷ.

Yn mhen ychydig ddyddiau ar ol hyn, daeth dynes arall â'r teisenau yn lle'r hen Brue; digwyddodd fod Miss Ophelia yn y gegin.

"Dyn anwyl," ebe Dinah, "beth sydd wedi dwad o Prue?"

"'Dydi Prue ddim yn dwad yn rhagor," ebe y ddynes yn lled ddistaw.

"Pa'am?" ebe Dinah. "Nid ydi hi ddim wedi marw, ydi hi?"

"Ni wyddon ni ddim yn iawn. I lawr yn selar mae hi," ebe'r ddynes, gan daflu golwg ar Miss Ophelia.

Ar ol i Miss Ophelia gymeryd y teisenau, aeth Dinah at y drws ar ol y ddynes.

"Beth sy wedi dwad o Prue, sut bynag?" ebe hi.

Ymddangosai'r ddynes yn chwanog, ac eto yn ofnus, i siarad, a hi a atebodd mewn llais distaw a dull darn-guddiedig:

"Wel, rhaid i ni beidio deyd wrth neb. Mi feddwodd Prue drachefn—ac mi aethon' â hi lawr selar—ac mi g'dawson' hi yno drwy'r dydd, ac mi clywis nhw'n deyd *fod y gwybed hyd-ddi hi*—ac *y mae wedi marw!*"

Cododd Dinah ei dwy law i fyny, ac wrth droi hi a welai yn ei hymyl ffurf angylaidd Evangeline, ei llygaid mawrion yn ymehangu gan ddychryn, a phob diferyn o waed wedi cilio o'i gwefusau a'i bochau.

"Gwarchod ni, dyma Miss Eva yn myned i ffeintio. Yr oedd pob un o honom ni wedi dylu i adael iddi glywed y fath siarad. Fydd ei thad o'i go lâs."

"Ni 'naf fi ddim ffeintio, Dinah," ebe'r plentyn yn benderfynol; "a pha'am na chaf fi glywed? Nid ydyw hyn ddim cymaint poen i mi wrando ag oedd i Prue druan ei ddioddef."

"Er mwyn pobpeth! ddylai ladis ifanc, bach, neis, fel chi, ddim clywed straion fel yma—y mae'n ddigon a'u lladd nhw."

Ochneidiodd Eva drachefn, ac aeth i fyny'r grisiau yn araf ac yn bendrymaidd.

Holodd Miss Ophelia yn awyddus am yr hyn a ddywedasai'r ddynes; ac adroddodd Dinah yr hanes yn ei dull trwsgl ei hunan. Ychwanegodd Twm hefyd rai pethau a glywsai ganddi yn y bore.

"Gwaith cywilyddus—perffaith ddychrynllyd," ebe hi, wrth fyned i'r ystafell lle'r oedd St. Clare ar ei orwedd yn darllen y papyr.

"Beth sydd?" eb efe, "pwy erchyll-waith sy ar droed yn awr?"

"Beth sydd? y mae'r creaduriaid yna wedi flangellu'r hen Brue i farwolaeth," ebe Miss Ophelia, gan adrodd yr hanes yn wresog, ac ymhelaethu ar y rhanau mwyaf arswydus o hono.

"Yr oeddwn i'n meddwl mai dyna fel fyddai hi ryw dro," ebe St. Clare, gan ddal i ddarllen y papyr.

"Meddwl mai dyna fyddai!—ond a ydych ddim yn meddwl *gwneud* rhywbeth yn y mater!" ebe Miss Ophelia. "A oes genych ddim swyddwyr plwyf (*selectmen*), na neb i edrych ar ol pethau fel hyn?"

"Yr ydys yn meddwl fod y gofal sy gan ddyn am ei *eiddo* yn ddigon i edrych ar ol pethau fel hyn. Os bydd pobl yn dewis distrywio eu heiddo eu hunain, nis gwn i ddim beth sydd i'w wneud. Mae'n ymddangos fod y greadures druan yn lladrata ac yn meddwi; felly ni cheir ond ychydig gyd-ymdeimlad yn ei hachos."

"Mae'n ddychryn meddwl am dano—mae'n ofnadwy, Augustine! Fydd yn sicr o ddwyn barn arnoch."

"Fy nghares anwyl, ni ddarfu mi mo'i neud o; ac ni fedraf fi ddim help iddo; mi wnawn, pe gallwn. Os bydd creaduriaid isel, creulon, yn ymddwyn fel hwy eu hunain, nid oes genyf fi mo'r help. Mae ganddynt ryddid i wneud fel y mynont; maent yn ormeswyr anghyfrifol. Ni wiw ymyraeth; nid oes un gyfraith a wna les ymarferol yn y fath amgylchiad. Y peth goreu a fedrwn wneud ydyw cau ein llygaid a'n clustiau, a gadael llonydd iddo. Dyna'r unig beth a fedrwn wneud."

"Sut y medrwch chwi gau eich llygaid a'ch clustiau? Sut y medrwch chwi adael llonydd i'r fath bethau?"

"Fy mhlentyn anwyl i, beth ydych chwi yn ddisgwyl? Dyma ddosparth cyfan o bobl isel, di-ddysg, diog, ac atgas—wedi eu gosod, heb deleran nac ammodau, yn hollol yn nwylaw'r fath ddynion ag ydyw'r rhan fwyaf o bobl y byd yma, pobl heb nac ystyriaeth na hunanlywodraeth, na dirnadaeth eglur o'u lles eu hunain,—o herwydd dyna fel y mae hi gyda mwy na haner pobl y byd yma. 'Rwan, mewn cymdeithas o'r fath gyfansoddiad, pa beth a fedr dyn teimladwy ac anrhydeddus ei wneud, ond cau ei lygaid, os bydd bosibl iddo, a chaledu ei galon? Ni fedraf fi ddim prynu pob creadur truenus a welaf. Ni fedraf fi droi yn Don Quixotte, ac uniawnu cam pob un yn y fath ddinas a hon. Y cwbl a fedraf fi wneud ydyw cadw o'r ffordd gymaint ag a allaf."

Gorchuddiwyd gwyneb hardd St. Clare â gŵg am fynydyn; edrychodd braidd yn ddig, ond ail-wisgodd ei wên yn sydyn, a dywedodd,

"Dowch, dowch, fy nghares, peidiwch â sefyll yn y fan yna, yn edrych fel dewines; ni chawsoch chwi ddim ond cip-olwg rhwng y cudd-lèni—esiampl o'r hyn sydd yn myn'd yn mlaen yn mhob rhan o'r byd ryw fodd neu gilydd. Os awn i chwilena ac i edrych i mewn i holl drist-bethau'r byd, ni bydd genym galon at unpeth. Mae'r un fath ag edrych yn rhy fanwl i drefniadau'r gegin gan Dinah;" ac fe ymestynodd St. Clare ar y soffa, i ffwdanu gyd â'i bapyr.

Eisteddodd Miss Ophelia i lawr, a thynodd allan ei gwaith gweu, a thyna lle'r oedd yn llawn eiddigedd. Hi ddaliodd ati i weu ac i weu, a'r tân o hyd yn llosgi o'i mewn; o'r diwedd, hi a dorodd allan—

"Mi ddeuda i chwi beth, Augustine, ni fedraf fi ddim myned heibio i bethau fel yna, os medrwch chwi. Mae'n gywilydd ac yn warth i chi amddiffyn y fath drefn—dyna marn *i!*"

"Beth 'rwan?" ebe St. Clare. "Ati hi eto, aie?"

"Yr wyf fi'n dweyd fod yn gywilydd ac yn warth mawr i chwi amddiffyn y fath drefn!" ebe Miss Ophelia, yn fwy gwresog fyth.

"*Fi* ei hamddiffyn, fy moneddiges anwyl! Pwy erioed ddywedodd fy mod i yn ei hamddiffyn?" ebe St. Clare.

"Mae'n rhaid eich bod yn ei hamddiffyn; mae pawb yn y dehau yn gwneud. Pa'am yr ydych yn cadw caethion, os nad ydych yn ei hamddiffyn?"

"A ydych chwi yn beth fach mor ddiniwed a meddwl nad oes neb trwy'r byd mawr yma yn gwneud dim un amser ond y mae'n feddwl yn iawn? A ydych chwi ddim yn gwneud, neu oni wnaethoch erioed, ddim nad ydych yn meddwl ei fod yn berffaith iawn?"

"Os darfu'm i, gobeithio i mi edifarhau," ebe Miss Ophelia, gan yru'r gweyll yn ddau cynt.

"Felly finau," ebe St. Clare, gan bilio ei orange, "yr wyf fi'n edifarhau bob dydd."

"Pa'am yr ydych yn dal i'w wneud ynte?"

"Fy anwyl gyfnither, a ddarfu chwi erioed ddal i wneud yr un drwg, ar ol edifarhau am dano?"

"Dim ond pan fyddaf mewn temtasiwn pur gref," ebe Miss Ophelia.

"Wel, yr wyf finau mewn temtasiwn pur gref, —dyna fy maen tramgwydd i," ebe St. Clare.

"Ond mi fyddaf fi'n penderfynu gwella, ac yn ymdrechu diwygio."

"Wel, yr wyf finau'n penderfynu gwella, yn awr a phryd arall, er's deng mlynedd," ebe St. Clare, "ond rywsut neu gilydd, ni ddois i ddim yn rhydd eto. Ddaethoch chwi yn rhydd o'ch holl bechodau, nghares?"

"Augustine," ebe Miss Ophelia yn sobr, gan osod i lawr ei gwaith gweu, "mae'n debyg fy mod i'n haeddu cael dannod fy meiau genych. Mi wn fod yr hyn a ddywedwch yn rhy wir; nid oes neb yn teimlo ei fyrder mwy na myfi; eto, wedi'r cwbl, mae peth gwahaniaeth rhyngoch chwi a minau. Mi feddyliwn y byddai'n well genyf dori fy llaw ddehau, na myned yn mlaen, ddydd ar ol dydd, i wneud yr hyn y gwn ei fod yn ddrwg. Ond wedi hyny, mae fy ymddygiad mor groes i mhroffes, fel nad yw ryfedd yn y byd eich bod yn fy ngheryddu."

"O fy nghares," ebe Augustine, gan eistedd ar y llawr, a dodi ei ben ar ei glin, "peidiwch â chymeryd atoch mor ddifrifol. Chwi a wyddoch hogyn mor ddiriedus oeddwn erioed. Mae'n dda genyf eich plagio—dyna'r cwbl—ddim ond i gael eich gweled o ddifrif. Yr wyf yn meddwl eich bod yn dda ofnadwy; mae yn fy mlino i farwolaeth i feddwl am danoch."

"Mae hwn yn fater sobr, Augustine, machgen i," ebe Miss Ophelia, gan osod ei llaw ar ei dalcen.

"Sobr anarferol," eb efe; "a minau—wel, ni fedraf fi ddim siarad yn sobr ar hin gynes. Rhwng *musquitoes* a phob peth, ni fedr dyn ddim cyrhaedd rhyw ehediadau uchel mewn moesoldeb; ac yr wyf fi'n credu," ebe St. Clare, gan neidio i fyny,—"dyna gyfundraeth ar unwaith! Yr wyf fi'n deall yn awr pa'am y mae pobl y gogledd bob amser yn fwy rhinweddol na phobl y parthau deheuol—mi welaf trwy'r holl bwnc."

"O Augustine, yr ydych yn hoedyn penchwiban!"

"Ydw i? Wel, felly'r ydw i, mae'n debyg; ond, am unwaith, mi fyddaf o ddifrif; ond rhaid i chwi estyn y fasged oranges yna i mi,—chwi welwch y rhaid i chwi fy 'nghynal â chostrelau, a'm cysuro âg afalau,' os gwnaf yr ymdrech hon. Yn awr," eb Augustine, gan dynu'r fasged tu ag ato, "dyma fi'n dechreu: Pan yn chwyl y byd hwn, y daw yn angenrheidiol i greadur o ddyn ddal dau neu dri dwsin o'i gyd-bryfedach mewn caethiwed, mae y parch dyledus i opiniynau cymdeithas yn gofyn iddo—"

"Ni welaf fi ddim eich bod un mymryn mwy sobr," ebe Miss Ophelia.

"Aroswch—dyma fi yn myn'd yn mlaen—chwi gewch glywed. Y cwbl am dani ydyw hyn, fy nghares," eb efe, a'i wynebpryd hardd yn ymollwng i ddifrifoldeb, "ar egwyddor y pwnc o gaeth-wasanaeth nis gall fod, yn ol fy marn i, dim ond un opiniwn. Planwyr, sydd am wneud arian trwyddo—personiaid ag y mae ganddynt blanwyr i'w boddio—politiciaid sy'n chwenych enill dylanwad trwyddo—gallant blygu, cordeddu, a nyddu iaith a moesau fel ag i yru'r byd i syndod wrth eu cywreinrwydd; gallant rwymo natur a'r Bibl, ac nis gŵyr neb pa beth, at eu gwasanaeth; ond, ar ol y cwbl, nid ydynt hwy na'r byd yn credu un iotyn yn rhagor ynddo. Mae'n dyfod o ddiafol, dyna y gwir am dano; ac, i'm meddwl i, mae yn enghraifft bur hardd o'r hyn a fedr ef wneud yn ei ffordd ei hun."

Gollyngodd Miss Ophelia ei gwaith gweu, ac edrychodd yn sỳn; ac aeth St. Clare yn mlaen, fel pe buasai yn ymlòni wrth weled ei syndod.

"Yr ydych fel pe baech yn rhyfeddu; ond os tynwch fi allan yn deg, mi wnaf gydwybod lân o honi. Beth ydyw'r gwaith melldigedig yma —melldigedig gan Dduw a dyn? Tynwch ymaith ei holl addurniadau, cloddiwch hyd at ei wreiddyn, mynwch weled y rhiddyn, a pha beth yw? Dyma fe: Am fod fy mrawd Quashy yn anwybodus ac yn wàn, a minau yn ddysgedig ac yn gryf—gan fy mod i yn gwybod pa sut, ac yn *gallu* gwneud—gan hyny mi gâf ddwyn oddi arno gymaint a fedd, a'u cadw i mi fy hun, a rhoddi iddo yntau yr hyn, a chymaint ag a welwyf yn dda. Beth bynag sy'n rhy galed, yn rhy fudr, neu'n rhy atgas genyf fi i'w wneud, mi allaf osod Quashy i'w wneud. Am fod yn gas genyf fi weithio, rhaid i Quashy wneud y gwaith. Am fod yr haul yn rhy boeth i mi, rhaid i Quashy fyn'd i'r haul i gael ei losgi. Rhaid i Quashy enill arian, mi gwariaf finau hwynt. Rhaid i Quashy orwedd yn y pwll, i mi gael myned trosodd yn droed-sych. Rhaid i Quashy wneud fy ewyllys i, ac nid ei ewyllys ei hun, holl ddyddiau ei einioes, a chael y fath siawns o fyned i'r nefoedd yn y diwedd, ag a welwyf fi fod yn gyfleus. Dyna beth yw caeth-wasanaeth, yn ol fy marn i. Ac mi hèriaf un-gwr ar wyneb y ddaear i wneud dim yn amgen o hono, allan o'n cyfreithiau ni, fel y maent yn sefyll yn awr. Soniwch am y *camddefnydd* o gaeth-wasanaeth! Hymbyg! Y *peth ei hunan* ydyw cnewyllyn pob cam-ddefnydd! A'r unig reswm nad yw'r wlad wedi suddo dano, fel Sodom a Gomorrah, ydyw fod y *defnydd* a wneir o hono yn anfeidrol well nag ydyw'r peth ei hun. O wir drueni, rhag cywilydd, am ein bod yn wŷr wedi ein geni o wragedd, ac nid bwystfilod anwar, ni wna llawer o honom, ni feiddiwn wneud—byddai yn *ddirmygus* genym wneud, defnydd o'r hyn oll

a rydd ein cyfreithiau barbaraidd yn ein gallu. A'r hwn sydd yn myned bellaf, ac yn gwneud waethaf, nid yw ond defnyddio yn brin yr awdurdod a rydd y gyfraith iddo."

Yr oedd St. Clare wedi cyfodi ar ei draed, ac, yn ol ei arfer pan â'i yn wresog, yn cerdded yn brysur i fyny ac i lawr yr ystafell. Ymddangosai ei wynebpryd hardd, mor berffaith ei lun a cherfwaith Groegaidd, fel ar dân gan wresogrwydd ei deimladau. Yr oedd ei lygaid mawr, gleision, yn gwreichioni, a'i ystumiau yn orweithgar, fel heb yn wybod iddo ei hun. Nis gwelsai Miss Ophelia ef erioed o'r blaen yn y dymher yma; a hi a eisteddai yn berffaith ddistaw.

"Mi ddyweda i chwi beth," eb efe, gan sefyll yn sydyn o flaen ei gyfnither, "nid ydyw o ddefnydd yn y byd siarad na theimlo ar y mater yma—ond gwrandewch, fe fu amserau pryd y bum i yn meddwl, pe buasai yr holl wlad yn suddo, ac yn cuddio'r holl anghyfiawnder a'r trueni yma rhag llygad y goleuni, mi fuaswn yn eithaf boddlon i suddo gyda hi. Pan fyddwn yn trafaelio i fyny ac i lawr ar ein hagerddlongau, neu wrth fyned o gwmpas i gasglu fy nyledion, a meddwl fod pob cenaw bwystfilaidd, ffiaidd, difoes a difenydd a gyfarfyddwn, yn rhydd, yn ol ein cyfraith ni, i lwyr berchenogi cynifer o ddynion, o ferched, a phlant, ag y medrai ladrata, twyllo, neu gamblo digon o arian i'w prynu—pan welais y fath ddynion â nifer o blant, merched ifainc, a gwragedd yn eu meddiant—bum yn barod i regu fy ngwlad —i regu'r holl hil ddynol!"

"Augustine! Augustine!" ebe Miss Ophelia, "yr wyf yn meddwl i chwi ddweyd digon. Ni chlywais erioed yn fy mywyd ddim yn debyg i hyn o'r blaen; naddo, hyd yn oed yn y gogledd."

"Yn y gogledd!" ebe St. Clare, gan droi yn sydyn i'w agwedd ddiofal gynnefin. "Pw-pw, pobl oer-waed yw pobl y gogledd; yr ydych yn oer yn mhob peth! Ni fedrwch chwi ddim tyngu a rhegu i fyny i'r rhiw ac i waered fel y gallwn ni, pan ddechreuom ni."

"Wel, ond y pwnc ydyw," ebe Miss Ophelia.

"O, ie, digon gwir, y *pwnc ydyw*,—a phwnc caled ydyw hefyd! Sut y *daethoch* chwi i'r fath gyflwr pechadurus a thruenus? Wel, mi atebaf yn ngeiriau'r hen wers dda a ddysgasoch i mi ar y Sabboth. Yn nhrefn naturiaeth. Gweision fy nhad fu fy ngweision i; a mwy na hyny, gweision fy mam fuont; ac yn awr eiddof fi ydynt, hwy a'u hiliogaeth, ac nid ychydig mo y rheiny. Chwi wyddoch mai o New England y daeth fy nhad i ddechreu; ac yr oedd ef yr un ffunud a'ch tad chwi—hen Rufeinwr i'r dim; cywir o'i goryn i'w sawdl, gweithgar, ei enaid yn llawn o fonedd, a'i ewyllys fel y dur. Cartrefodd eich tad yn Vermont, i lywodraethu ar gerrig a chreigiau, ac enill bywioliaeth o gelloedd Natur; gwnaeth fy nhad inau ei gartref yn Louisiana, i lywodraethu dynion a merched, ac i enill bywioliaeth o honynt hwy. Fy mam," ebe St. Clare, gan gerdded i'r pen arall i'r ystafell at ei darlun, a syllu arno gyda gwedd lawn o barch a chariad, "yr *oedd* hi yn nefclaidd! Peidiwch âg edrych arnaf fel yna,—gwyddoch beth wyf yn ei feddwl. Mae'n debyg ei geni'n ddaearol; ond hyd ag y gwelais i, nid oedd dim olion gwendidau neu ffaeleddau dynol yn perthyn iddi; a dywed pawb sy'n ei chofio yr un peth—boed gaeth neu rydd, gwas, cydnabod, neu berthynas. Wyddoch chwi beth? fy mam ydyw'r cwbl a safodd rhyngof fi â llwyr anffyddiaeth, er's blynyddoedd. Yr oedd hi'n gorphoriad union-gyrchol ac yn bersonoliad o'r Testament Newydd,—ffaith fywiol, i'w hegluro trwy ei wirionedd, ac nid trwy un ffordd arall. O fy mam! fy mam!" ebe St. Clare, a'i ddwylaw yn mhleth, fel mewn perlewyg; yna ymattaliodd ar unwaith, a dychwelodd i'w eisteddle, gan fyned yn mlaen:—

"Gefeilliaid ydyw fy mrawd a minau; ac y maent yn dweyd, wyddoch, y dylai gefeilliaid fod yn debyg i'w gilydd: ond yr oeddym ni ein dau yn wahanol yn mhob peth. Yr oedd ganddo ef lygaid duon tanbaid, gwallt du fel y frân, gwynebpryd gafaelgar Rhufeinaidd, ac o liw rhudd-goch iachus. Genyf finau yr oedd llygaid gleision, gwallt goleu, prydwedd Groegaidd, a chroen cànaid. Yr oedd ef yn graff a bywiog, a mina'n freuddwydiwr diog. 'Roedd ef yn haelfrydig gyda'i gyfeillion a'i gydradd, ond balch, trahaus, a dideimlad tu ag at y rhai islaw iddo, ac yn hollol ddi-drugaredd tu ag at bawb a phob peth a ymgodai yn ei erbyn. Yr oeddym ill dau yn gywir a gonest; efe oddiar falchder a gwroldeb, a minau oddiar ryw fath o ehediadau meddyliol. Yr oeddym yn hoffi ein gilydd fel y mae bechgyn yn gyffredin—ambell gweryl a throsodd âg ef; efe oedd yn ffafr fy nhad, a minau yn ffafr fy mam.

"Yr oedd ynof fi bob amser fath o deimladrwydd dwfn a dwys ar bob math o faterion, yr hyn ni wyddai ef na fy nhad ddim yn y byd am dano, a chyda'r hyn nis gallent mewn un modd gyd-ymdeimlo. Ond medrai fy mam; ac felly pan gwerylwn i âg Alfred, ac i fy nhad edrych yn ddig arnaf, mi awn i ystafell fy mam, ac mi eisteddwn yn ei hymyl. Yr wyf yn cofio yn burion yr olwg arni, ei gruddiau llwydion, ei llygaid dyfnion, esmwyth, sobr, ei gwisg wèn—gwỳn a wisgai bob amser—a byddwn yn meddwl am dani yn wastad wrth ddarllen yn y Datguddiad am y saint wedi eu gwisgo â lliain main, gwỳn, a glân. Yr oedd ganddi lawer iawn o ddawn o ryw fath neu gilydd, yn enwedig mewn peroriaeth, ac eisteddai wrth ei horgan i chware hen fiwsig ardderchog yr Eglwys

Babaidd, ac i ganu â llais tebycach i angel na dynes ddaearol; a byddwn inau yn dodi fy mhen ar ei glin, yn wylo'r dagrau, yn breuddwydio, ac yn teimlo—oh! tu hwnt i fesur!—pethau nad oes genyf iaith nac ymadrodd i'w traethu!

"Yn y dyddiau hyny, nid oedd y pwnc yma o gaeth-wasanaeth wedi ei drin a'i drafod fel ag y mae yn awr, nid oedd neb yn meddwl fod dim drwg ynddo.

"Un o'r bendefigaeth oedd fy nhad o'i enedigaeth. Ryfeddwn i ddim nad oedd, mewn rhyw hanfodiad cyntefig, yn perthyn i'r radd uchaf o ysbrydion, ac iddo ddwyn holl falchder y llys i'w ganlyn; o herwydd yr oedd yn rhan o'i gyfansoddiad, wedi ei fagu yn ei esgyrn, er mai o deulu lled isel y daethai i ddechreu, heb ddim neillduol o bendefigaidd yn eu gwaed. Cenedlwyd fy mrawd ar ei ddelw.

"Yn awr, chwi a wyddoch nad oes gan y pendefig, trwy'r byd i gyd, ddim teimladau dynol tu hwnt i ryw gylch mewn cymdeithas. Yn Lloegr mae'r cylch yma yn un man; yn Burmah mae mewn lle arall; ac yn America mewn lle gwahanol i'r ddau; ond nid yw pendefigion y gwledydd hyn byth yn myned dros eu cylch. Yr hyn fyddai yn galedfyd, yn orthrwm, ac yn anghyfiawnder, yn ei ddosbarth ef ei hun, nid yw ddim mwy na chyflwr naturiol pethau mewn dosbarth arall. Lliw ydoedd llinell gwahaniad fy nhad. *Yn mysg ei gydradd*, ni bu erioed ddyn mwy teg a hael; ond ystyriai y negro, trwy bob gradd o liw ei groen, megys dolen y cyswllt rhwng dyn ac anifail, ac ar y dybiaeth hon y sylfaenid ei holl ddychymygion o gyfiawnder a thegwch tu ag ato. Ond y mae'n ddigon tebyg, pe gofynasid iddo yn benderfynol, a oes ganddynt eneidiau anfarwol, y buasai yn rhoddi hym-a-haw, ac yn dweyd 'oes.' Ond nid aml y blinid fy nhad â meddyliau am bethau ysbrydol; nid oedd ganddo ddim teimladau crefyddol, heblaw parch i Dduw, fel pen y bendefigaeth, neu'r dosbarthau uchaf mewn cymdeithas.

"Wel; yr oedd fy nhad yn gweithio tua phum cant o negroaid; dyn manwl, di-ildio, a di-orphwys ydoedd yn ei orchwyl: rhaid oedd i bob peth ymsymud yn ol ei system—yr hon a gynelid gyda dichlynder a chywirdeb diffael. Yn awr, os cymerwch i'ch ystyriaeth fod hyn oll i'w weithio allan o lafurwyr diog, annarbodus, diymadferth, y rhai ni chawsent erioed unrhyw gymelliad i ddysgu gwneud unpeth, ond yn hytrach i "shirkio," fel y byddwch chwi yn dweyd yn Vermont, gallwch feddwl yn naturiol fod ar ei blanhigfa lawer iawn o bethau a edrychent yn arswydus i blentyn teimladwy fel myfi.

"Heblaw hyn oll, yr oedd ganddo arolygwr —dyn mawr, tál, cymalog, dau-ddyrnog o Vermont (begio'ch pardwn) yr hwn a aethai trwy brentisiaeth rheolaidd mewn creulondeb a chieidd-dra, ac oedd wedi graddio yn barod i osod i fyny mewn busnes. Ni fedrodd fy mam erioed ei oddef, na minau ychwaith; ond yr oedd ei ddylanwad ar fy nhad yn ddiderfyn; a'r dyn hwn oedd yn dal ei deyrnwialen haiarn dros yr holl stât.

"'Doeddwn i ddim ond crwtyn bychan pryd hyny; ond yr oedd genyf yr un serch at bob peth dynol ag sydd genyf yn awr—math o benboethni i astudio dynoliaeth, doed yn mha agwedd y delo. Byddwn yn aml ar hyd y bwthynau, ac yn mysg y llafurwyr yn y maesydd, ac yr oeddwn, wrth reswm, yn uchel mewn ffafr yn eu mysg; traethid yn fy nghlust bob math o gwynion ac achwynion; cariwn inau hwynt i fy mam, a rhyngom byddai math o gommitti i wastatau camwri. Llwyddasom i attal a symud ymaith lawer o greulondeb, ac ymfalchiem ein bod yn gwneud llawer iawn o ddaioni, hyd onid aeth fy zêl i yn rhy bell, fel ag y mae'n digwydd yn fynych. Achwynodd Stubbs wrth fy nhad, nas gallai gadw trefn ar y gweithwyr, ac fod yn rhaid iddo roddi ei swydd i fyny. Yr oedd fy nhad yn wr serchus, a llawn o diriondeb, ond ni phetrusai wneud un peth a fernid yn angenrheidiol; felly efe a darawodd ei droed yn y llawr, fel craig, rhyngom ni a'r dwylo oedd yn gweithio allan. Dywedodd wrth fy mam, mewn iaith eithaf parchus, ond yn ddigamgymeriad, mai hi oedd y feistres ar bawb o gwmpas y tŷ, ond na fynai ddim ymyraeth o fath yn y byd gan neb â'r sawl oedd yn gweithio allan ar y blanhigfa. Yr oedd yn ei charu ac yn ei pharchu tu hwnt i bob gwraig ar wyneb daear; ond efe a ddywedasai yr un fath yn union pe buasai hi Mair y Forwyn ei hunan, os daethai ar ffordd ei system benderfynol ef.

"Ambell waith mi glywais fy mam yn ymresymu âg ef, ac yn ymdrechu cynhyrfu ei deimladau. Efe a wrandawai ar yr apeliadau mwyaf tòr-calonus gyda'r mwyneidd-der a'r esmwythder mwyaf didaro. O'r diwedd dywedai 'Dyma'r pwnc; rhaid i mi droi Stubbs i ffordd, neu ei gadw! Mae Stubbs yn ganolbwynt rheoleidd-der, gonestrwydd, a defnyddioldeb, yn deall ei waith i'r dim, ac mor deimladwy a dynion yn gyffredin. Ni fedrwn ni ddim cael perffeithrwydd: os cadwaf fi ef, rhaid i mi sefyll wrth ei gefn *yn mhob peth*, hyd yn nod os digwydd ei fod weithiau ar fai. Mae rhyw faint o orthrwm o angenrheidrwydd yn mhob llywodraeth. Ac y mae rheolau cyffredinol yn pwyso'n drwm ar achosion neillduol!' Ystyriai fy nhad y gair olaf hwn fel dyhuddiad ar y rhan fwyaf o achwyniadau am greulondeb. Ar ol dweyd *hynyna*, efe a ymestynai ar y soffa, fel dyn ag oedd wedi gorphen

ei orchwyl, a chymerai cynthun, neu darllenai y papyr newydd, fel y digwyddai.

"Y gwir yw, yr oedd talentau fy nhad yn berffaith gymhwys i'r politician. Buasai yn rhanu Poland mor ddi-drafferth a hollti orange; a dodasai ei sawdl ar yr Iwerddon mor ddi-daro ac mor-fedrus ag un-gwr byw. O'r diwedd, rhoddodd fy mam i fyny mewn llwyr anobaith. Ac nis gwybydd neb, hyd oni wneir yn amlwg ddirgelion pob cnawd, pa faint a ddioddefodd natur fawreddus fel yr eiddo hi, wedi ei thaflu yn hollol ddi-gymhorth i'r hyn a ymddangosai iddi yn llynclyn o drawsder a chreulondeb, ac nad oedd neb arall o'i hamgylch yn ei weled felly. Mae wedi bod yn oes hir o ofid i'r fath natur, yn y fath fyd o haniad uffernol ag ydyw hwn. Pa beth yn rhagor a allai wneud na dwyn ei phlant i fyny yn ei theimladau a'i golygiadau ei hun? Wel, dywedwch chwi y peth a fynoch am hyfforddio plant, tyfu i fyny yn ol eu natur a wnant yn y diwedd, a dim arall. *Aristocrat* oedd Alfred o'i gryd; ac fel y tyfodd i fyny, i'r ochr hòno yn naturiol y trôdd ei deimladau a'i resymau, ac aeth holl anogaethau fy mam efo'r gwynt. Ond am danaf fi, suddasant yn ddwfn i'm calon. Ni ddywedai fy mam ddim yn benderfynol yn groes i fy nhad, na dim a ymddangosai i wahaniaethu oddi wrtho; ond hi a argraffodd, hi a losgodd i fy meddwl i, gyda holl danbeidrwydd ei natur ddwys a difrifol, anfeidrol werth a bonedd yr enaid gwaelaf ac iselaf. Mi fum yn edrych yn ei hwyneb gyda syndod ac ofn, pan gyfeiriai i fyny at y sêr yn y nos, gan ddywedyd, 'Edrych acw, Augustine, fe fydd yr enaid tlotaf a distadlaf ar ein stât ni yn fyw wedi i'r sêr yna i gyd syrthio—byddant fyw cyhyd a Duw ei hunan!'

"Yr oedd ganddi rai hen ddarluniau gwerthfawr; un oedd, yr Iesu yn agor llygad y dall. Yr oeddynt yn hynod o darawiadol, ac effeithient yn ddwys ar fy meddwl i. 'Edrych yma, Augustine,' meddai, 'cardotyn oedd y dyn dall, tlawd ac aflan; am hyny ni roddai Ef ei olwg iddo *oddi yma draw!* Efe a'i galwodd ato, ac *a osododd ei ddwylaw arno!* Oofia hyn, machgen i.' Pe buaswn i'n byw i dyfu i fyny dan ei dylanwad, gallasai fy nwyn i frwdfrydedd nas gwn i pa fath. Gallaswn fod yn sant, yn ddiwygiwr, yn ferthyr—ond, ow! ow! mi a'i gadewais pan oeddwn yn dair-ar-ddeg, ac ni welais mo honi byth mwy!"

Eisteddodd St. Clare yn ddistaw, â phwys ei ben ar ei law, dros ychydig fynydau. Yna, efe a gododd ei lygaid, ac a aeth yn mlaen—

"Y fath rwbal gwael, diwerth, ydyw rhinweddau dynol ar ol y cwbl! Pethau yn ymddibynu, gan mwyaf, ar hydred a lledred, safle ddaearyddol, neu dymherau naturiol. Damwain ydyw y rhan fwyaf! Mae eich tad chwi, er enghraifft, yn sefydlu yn Vermont, mewn tref lle mae pawb, mewn gwirionedd, yn rhydd ac yn gydradd; mae'n dyfod yn aelod rheolaidd o'r eglwys, ac yn ddiacon, ac mewn amser cyfaddas mae'n ymuno â chymdeithas Rhyddhad y caethion, ac ystyria nad ydym ni oll fawr well na phaganiaid. Eto y mae'r un fath ddyn yn union a fy nhad inau, yn ei gyfansoddiad a'i ddull o feddwl. Mi fedraf ei weled yn rhedeg allan mewn haner cant o ffyrdd—yr un ysbryd anhyblyg, awdurdodol, gormesol. Chwi wyddoch yn burion pa mor anmhosibl ydyw perswadio rhai o bobl y pentref acw, nad ydyw Sewier Sinclair yn teimlo yn mhell goruwch iddynt. Dyma'r gwir, er iddo ef syrthio ar amserau democrataidd mae gymaint aristocrat yn ei galon ag oedd fy nhad, yr hwn a deyrnasai dros bûm cant neu chwech o gaethion."

Teimlodd Miss Ophelia braidd awydd i wadu y darlun hwn, ac yr oedd yn myned i ddodi y gweuadwaith i lawr, i ddechreu, pan rwystrodd St. Clare hi.

"Mi a wn bob gair yr ydych yn myned i'w dweyd. Nid wyf fi yn dweyd eu *bod* yr un fath a'u gilydd mewn gwirionedd. Syrthiodd un i amgylchiadau lle yr oedd pob peth yn gweithredu yn groes i'w dueddiadau naturiol, a'r llall lle yr oedd pob peth yn gweithio gyd âg ef; felly trôdd un yn hen ddemocrat gwârsyth, cyndyn, ac anhawdd ei syflyd, a'r llall yn hen ddespot gwârsyth a chyndyn. Pe buasai'r ddau yn perchen planhigfëydd yn Louisiana, buasent mor debyg i'w gilydd a dwy fwled wedi eu toddi yn yr un fold."

"Y fath fachgen anniolchgar ydych chwi!" ebe Miss Ophelia.

"Nid wyf yn meddwl dim amharch iddynt," ebe St. Clare. "Chwi wyddoch nad yw hwnw yn bechod ynof. Ond, ni awn yn ol at yr hanes:

"Pan fu fy nhad farw, efe a adawodd yr holl eiddo rhyngom ni, y gefeilliaid, i'w ranu fel y gallem gytuno. Nid oes yn anadlu ar ddaear Duw ddim dyn anrhydeddusach nag Alfred, na mwy hael ei fryd, yn mhob peth a berthyn i'w gydradd; ac ni aethom yn mlaen yn gampus gyd â'r eiddo, heb na gair na theimlad anfrawdol. Cytunasom i weithio'r blanhigfa gyd â'n gilydd; a daeth Alfred, yr hwn oedd yn werth dau o honof fi yn mhob peth a berthynai i waith, yn blànwr brwdfrydus, a hynod o lwyddiannus.

"Ond yn mhen dwy flynedd o brawf, cefais i fy moddloni nas gallwn fod yn bartner yn y fath orchwyl. Yr oedd dàl cynifer a saith gant o gaethion, y rhai nas gallwn eu hadnabod yn bersonol, na theimlo unrhyw ofal drostynt, eu prynu, eu gyru, eu cysgodi'r nos, eu gweithio fel cynifer o dda corniog, dan fanylder disgyblaeth filwraidd—a'r pwnc o ba cyn lleied o

angenrheidiau gwaelaf bywyd a'u cadwai mewn cywair gweithio, yn dyfod i'r bwrdd yn wastadol, yr *angenrheidrwydd* am ŷrwyr ac arolygwyr, a'r galwad bob amser am y whip, yr ymresymiad blaenaf ac olaf, ïe, yr unig un—yr oedd y cwbl oll yn atgas anniddefol i mi; a phan gofiwn eiriau fy mam am werth un enaid, yr oedd yn wir ddychrynllyd!

"Nonsens i gyd yw siarad â mi fod caethion yn *mwynhau* pethau fel hyn! Hyd heddyw, nid oes genyf fi ddim amynedd i wrando ar sothach anaele a wneir i fyny gan rai o'ch pobl chwi yn y gogledd, yn eu hawydd i esgusodi ein camweddau ni. Yr ydym ni oll yn gwybod gwell pethau. Ni wiw dweyd wrthyf fi fod ar undyn eisieu gweithio holl ddyddiau ei einioes, o dòriad gwawr hyd fachlud haul, bob amser dan lygad ei feistr, heb gymaint âg un anadliad rhydd, ar yr un caledwaith anghysbell, digyfnewid, a'r cwbl am ddau bâr o bants, a phâr o esgidiau yn y flwyddyn, a digon o fwyd a diddosrwydd i'w gadw mewn tymher i weithio! Pwy bynag sydd yn meddwl y gall bodau dynol, yn gyffredin, gael eu gwneud mor gysurus y ffordd yna ag un ffordd arall, byddai yn dda genyf ei weled yn ei threio. Mi brynwn y cena', ac mi a'i gweithiwn â chydwybod onest."

"Yr oeddwn i bob amser yn meddwl," ebe Miss Ophelia, "eich bod oll yn cymeradwyo y pethau hyn, ac yn eu barnu yn *iawn*—yn ol y Bibl."

"Hymbyg! Nid ydym ddim mor isel a hyna eto. Nid ydyw Alfred yn ei chymeryd fel yna, er ei fod y despot penaf a droediodd erioed; na, na, y mae efe yn sefyll yn dalgryf ar yr hen dir da, respectable hwnw, *hawl y cryfaf;* ac y mae ef yn dweyd, yn bur gall, yn fy meddwl i, nad yw'r plànwr yn America ddim ond 'gwneud mewn ffordd arall yr hyn y mae'r gwŷr mawr a'r uwch-raddolion yn Lloegr yn wneud â'r israddolion, hyny ydyw, eu *defnyddio*, gorph ac esgyrn, enaid ac yspryd, i'w helw a'u cyfleusdra eu hunain.' Mae ef yn amddiffyn y ddau, —a hyny, o leiaf, yn *gyson*, yn fy marn i. Mŷn Alfred nad oes gwareiddiad uchel heb gaethiwo'r lluaws, naill ai mewn enw ai mewn gwirionedd. Rhaid, medd efe, fod dosbarth israddol, i'w cadw i lafurio a gweithio, a'u cadwyno at y rhan anifeilaidd o natur; ac un uwch-raddol, trwy hyny yn enill hamdden a chyfoeth, ac ëangach gwybodaeth a chynydd, fel y gallo fod yn enaid arweiniol i'r dosparth isaf. Dyna fel y mae ef yn ymresymu, o herwydd, fel y dywedais, yn aristocrat y ganwyd ef; nid wyf fi yn dweyd felly, o herwydd yn ddemocrat y ganwyd fi."

"Sut ar wyneb y ddaear y gellir cydmaru'r ddau?" ebe Miss Ophelia. "Nid yw'r llafurwr yn Lloegr yn cael ei werthu, ei dynu oddiwrth ei deulu, a'i ffangellu."

"Mae gymaint dan awdurdod ei feistr a phe b'ai wedi ei werthu iddo. Gall y caeth-feistr ffiangellu ei gaeth-was i farwolaeth—gall y meistr newynu ei weithiwr i farwolaeth. Yn nghylch diogelwch teuluaidd, mae'n anhawdd dweyd pa un galetaf gweled plant yn cael eu gwerthu, ai edrych arnynt yn marw gartref, o eisieu bwyd."

"Ond nid yw yn esgus dros gaeth-fasnach i allu dweyd nad yw'n waeth na rhywbeth drwg arall."

"Nid yn esgus y defnyddiais i ef—nagê, mi ddywedaf heblaw hyny, fod ein ffordd ni yn yspeiliad mwy noethlymyn o hawl dynoliaeth. Mae prynu dyn allan ac allan fel prynu ceffyl, edrych ar ei ddannedd, profi ei gymalau, gweled sut y mae'n rhedeg a neidio, a thalu i lawr am dano—cael prynwyr, gwerthwyr, gŷrwyr, magwyr, a masnachwyr mewn cyrph ac eneidiau dynion—yn gosod y mater yn ei hagrwch noeth o flaen llygad y byd gwareiddiedig, er mai yr un o ran ei natur ydyw dan ryw ddull arall; sef gosod un dosbarth o ddynolryw i fod yn lles ac yn elw i ddosbarth arall, heb ddim gofal dros eu lles hwy eu hunain."

"Ni feddyliais i erioed am y mater yn y goleuni yna," ebe Miss Ophelia.

"Wel, mi fûm i yn trafaelio peth yn Lloegr, ac mi ddarllenais lawer am gyflwr eu his-raddolion yno; ac yn wir rhaid i mi addef fod Alfred yn ei le, pan ddywed fod ei gaethion ef yn well allan na llawer o boblogaeth Lloegr. Ond cofiwch, nad ydych i gasglu oddiwrth ddim a ddywedais i, fod Alfred yr hyn a elwir yn feistr caled; o herwydd nid ydyw. Yn y gwrthwyneb, mae'n ymfalchïo fod ei gaethion ef yn cael eu porthi a'u cadw yn dda.

"Pan oeddwn i yn bartner gydag ef, mynais wneud rhyw beth tu ag at eu haddysgu; ac er mwyn fy moddloni i, efe a gyflogodd gaplan, ac arferai eu cateceisio bob Sabboth, er fy mod yn credu mai meddwl ei galon oedd y buasai cystal iddo benodi caplan i'w gŵn a'i geffylau. A'r gwir yw, mai ychydig iawn a ellir wneud mewn dwy awr neu dair ar y Sabboth i feddwl wedi ei bylu a'i fwystfileiddio o'r bru, gan bob dylanwad drygionus, ac wedi treulio'r holl wythnos mewn poen a llafur difeddwl. Gall athrawon yr ysgolion Sul yn mysg pobl y llaw-weithfëydd yn Lloegr, ac yn mysg y negroaid ar y planfëydd yn ein gwlad ninau, ond odid, dystio i'r un effeithiau, *yno ac yma*. Eto y mae rhai eithriadau hynod yn ein mysg ni, oddiwrth y ffaith fod y negro yn naturiol yn fwy hywaeth, ac yn fwy agored i argraffiadau crefyddol na'r dyn gwŷn."

"Wel," ebe Miss Ophelia, "sut y rhoddasoch chwi'r blanhigfa i fyny?"

"Wel, aethom yn mlaen o glun i glun, hyd nes gwelodd Alfred yn ddigon amlwg nad

oeddwn i ddim yn fedrus fel plànydd. Yr oedd yn meddwl mai ffolineb oedd, ar ol iddo ddiwygio, newid, a gwellhau yn mhob man, i'm boddio i, i mi drachefn barhau yn anfoddlon. Y gwir oedd, wedi'r cwbl, mai'r PETH ei hun oedd gâs genyf fi—defnyddio y meibion a'r merched hyn, parhau yr holl anwybodaeth, anifeileidd-dra, a drygioni—i ddim ond gwneud arian i mi!

"Heblaw hyny, mi fyddwn bob amser yn ymyraeth â'r dull o fyned yn mlaen. Trwy fod fy hunan yn un o'r rhai diocaf dan haul, yr oedd genyf ormod o gyd-ymdeimlad â'r diog; a phan ddodai cenawon tlodion, annarbodus, gerig yn ngwaelod ei basgedi cotwm i wneud iddynt bwyso yn drymach, neu pan lanwent eu sachau â gwellt a dail, a chotwm yn uchaf, yr oedd yn ymddangos i mi yn gymwys y peth a wnaethwn fy hunan dan yr un amgylchiadau, ac nis gallwn ac nis mỳnwn eu fflangellu. Wel, wrth reswm, dyna ddisgyblaeth y blànfa ar ben; a daeth Alf a minau i'r un pwynt ag y daethai fy nhâd parchus a minau flynyddoedd o'r blaen. Felly efe a ddywedodd mai dychymygwr merchedaidd oeddwn, ac na wnawn byth mo'r tro i fyned trwy'r byd; a chynghorodd fi i gymeryd stoc y banc, a'r anedd-dŷ yn New-Orleans, a throi i ysgrifenu prydyddiaeth, a gadael y blanhigfa iddo ef. Felly ni a ymadawsom, ac yma y daethum."

"Ond pa'm na buasech yn rhyddhau eich caethion?"

"Wel, nid oeddwn i ddim i fyny â hyny. Ni fedrwn i ddim eu cadw fel offer i wneud arian â hwynt; ond nid oedd cael eu help i wario'r arian, chwi wyddoch, yn edrych yn gwbl mor hagr i mi. Yr oedd rhai o honynt yn hen weinidogion yn y tŷ, y rhai yr oeddwn yn hoff iawn o honynt; a phlant i'r hen rai oedd y rhai ieuainc. Yr oeddynt oll yn ddigon boddlon i'w sefyllfa." Yna efe a dawodd, ac a gerddodd yn fyfyrgar i fyny ac i lawr yr ystafell.

"Fe fu amser yn fy mywyd i," ebe St. Clare, "pryd yr oedd genyf fi fwriad a gobaith o wneud rhyw beth heblaw nofio gyd â'r llif. Bu ynof fath o awydd anaeddfed am fod yn rhyddhawr y caethion—i lanhau fy ngwlad oddiwrth yr aflendid hwn. Mae rhyw glefyd o'r fath yn dàl pobl ifanc, feddyliwn, ryw bryd neu gilydd—ond—"

"Pa'm na wnaethoch?" ebe Miss Ophelia; "ni ddylasech osod llaw ar yr aradr, ac edrych yn ol."

"O, wel, ni ddaeth pethau yn mlaen fel yr oeddwn yn disgwyl; ac fe ddaeth bywyd i'r un teimlad i mi ag y daeth i Solomon. Efallai fod hyny yn angenrheidiol i ddysgu doethineb i ni ein dau; ond, ryw fodd neu gilydd, yn lle bod yn weithiwr ac yn adnewyddwr mewn cymdeithas, mi ddaethum yn ddarn o sproc môr, a thyma lle bu'm, o dòn i dòn, byth wedi hyny. Mae Alfred yn fy meio bob tro y cyfarfyddwn; ac yr wyf yn addef ei fod yn rhagori arnaf fi, o herwydd y mae ef yn gwneud rhywbeth. Y mae ei fywyd yn ganlyniad naturiol o'i opiniynau, a'r eiddof finau yn erthyl dirmygedig."

"Fy nghefnder anwyl, a fedrwch chwi fod yn foddlon i dreulio amser eich prawf fel yna?"

"Yn foddlon! Oni ddywedais i'r mynyd yma sut yr wyf yn ei ddirmygu? Ond i ddychwelyd at y pwnc—yr oeddym yn siarad am y rhyddhau yma. Nid wyf fi ddim yn meddwl fod fy ngolygiadau i am gaeth-wasanaeth yn rhai anghyffredin. Yr wyf yn cael llawer iawn o bobl sydd yn meddwl yn eu calonau fel ag yr wyf finau yn union. Mae'r tir yn gruddfan dano; ac er gwaethed ydyw'r caeth-was, mae yn waeth os yr un i'r caeth-feistr. Nid oes angen am wydrau i weled fod dosbarth lluosog o bobl ddrygionus, annarbodus, a llygredig yn ein mysg, yn ddrwg i ni, yn gystal a drwg iddynt eu hunain. Nis gall pobl arianog a'r bendefigaeth yn Lloegr deimlo fel yr ydym ni yn teimlo, o herwydd nid ydynt yn ymgymysgu â'r dosbarth a ddarostyngant fel ag yr ydym ni. Maent yn ein tai; chwareuant gyd â'n plant, a ffurfiant eu meddyliau yn gynt nag y gwnawn ni; o herwydd y maent yn bobl ag y glŷn plant wrthynt bob amser, ac yr ymdebygant iddynt. Dyna Eva, oni ba'i ei bod yn fwy angel na'r cyffredin, fe'i dyfethid hi. Byddai cystal i ni adael i'r frech wèn redeg yn eu mysg, a meddwl na chai ein plant mo honi, a gadael iddynt, yn ddiddysg ac yn llawn drygioni, ymgymysgu â hwynt, a meddwl na chaent effaith arnynt. Eto mae ein cyfreithiau'n bendant yn gwahardd yn hollol unrhyw drefn gyffredinol o addysg, ac y maent yn gwneud yn gall hefyd; o herwydd dechreuwch ddysgu un oes yn drwyadl, a thyna y cwbl wedi ei chwythu yn deilchion yn yr awyr. Os na roddwn ryddid iddynt hwy a'i cymerant."

"A pha beth ydych yn feddwl fydd y diwedd o hyn?" ebe Miss Ophelia.

"Nis gwn i. Mae un peth yn sicr, fod ymysgwyd yn mysg y lluaws trwy'r byd i gyd, ac y mae dydd digofaint yn dyfod, yn fuan neu yn hwyr. Mae'r un peth yn gweithio yn Ewrop, yn Lloegr, ac yn y wlad yma. Byddai fy mam yn dweyd wrthyf am y mil blynyddoedd sydd i ddyfod, pan y bydd Crist yn teyrnasu, a phawb yn rhydd ac yn hapus. Weithiau byddaf yn meddwl fod yr holl duchan, y gruddfan a'r cynhwrf yn mysg yr esgyrn sychion, yn rhagfynegi fod cyflawniad yr hyn a ddywedodd hi wrth law. Ond pwy a erys ddydd ei ddyfodiad Ef?"

"Augustine, mi fyddaf fi yn meddwl weithiau, nad ydych yn mhell o'r deyrnas," ebe Miss Ophelia, gan osod ei gwaith gweu i lawr, ac edrych yn bryderus yn ngwyneb ei chefnder.

"Diolch i chwi am feddwl mor dda am danaf; ond i fyny ac i lawr y mae hi gyda fi—i fyny at ddrws y nefoedd o ran egwyddorion, ac i lawr i lwch y ddaear mewn ymarferiad. Ond dyna'r gloch yn galw i dê—gadewch i ni fyn'd—a pheidiwch â dweyd na chefais un ymddiddan syml, sobr, â chwi am unwaith yn fy oes."

Cyfeiriodd Marie ar dê at y sôn am Prue. "Mae'n debyg, nghares, eich bod yn meddwl mai barbariaid ydym ni oll," ebe hi.

"Yr wyf yn meddwl mai tro barbaraidd iawn ydyw hwnyna," ebe Miss Ophelia; "ond nid wyf yn eich galw chwi oll yn farbariaid."

"Wel, 'rwan," ebe Marie, "mi wn i fod yn anmhosibl gwneud nac ol na blaen hefo rhai o'r creaduriaid yma. Mae nhw mor ddrwg na ddylan nhw ddim byw. Nid ydw' i ddim yn teimlo 'run mymryn â'r fath amgylchiad. Pe ba'i nhw ddim ond behafio'u hunain, ni ddigwyddai'r fath bethau."

"Ond, mamma," ebe Eva, "yr oedd y greadures wirion yn anhapus, dyna pa'm yr oedd hi yn yfed."

"O, lol wirion! fel pe b'asai hyny'n esgus! 'Rydw' i'n anhapus, yn aml iawn. Mi wranta," ebe hi'n wynebdrist, "i mi gael treialon caletach nag a gafodd hi erioed. Mae nhw mor ddrwg, dyna'r achos. Ac y mae rhai o honyn' nhw na fedrwch chwi mo'u tori i mewn, byddwch mor gas ag y mynoch. Yr ydw' i'n cofio un dyn gan fy nhad, yr oedd mor ddiog, fel y diangai i ffwrdd rhag gweithio, ac mi orweddai yn y corsydd, i ladrata a phob math o gastiau drwg. Fe ddaliwyd y dyn hwnw, ac fe'i whipiwyd drachefn a thrachefn, ac ni wnaeth les yn y byd iddo; a'r tro diweddaf, efe a ymlusgodd ymaith, er mai prin y medrai wneyd hyny, ac a fu farw yn yr hesg. Nid oedd un math o reswm, drosto, o herwydd mi fyddai caethion fy nhad yn cael eu trin yn dda bob amser."

"Mi dorais i greadur i mewn, unwaith," ebe St. Clare, "ar ol i'r holl *arolygwyr a'r meistriaid* ei roddi i fyny yn hollol."

"Chwi!" ebe Marie, "wel, mi fyddai'n dda gen i glywed pa bryd y gwnaethoch chwi ddim o'r fath beth!"

"Wel, yr oedd yn gawr cadarn o ddyn—genedigol o Affrica; ac ymddangosai fod y reddf naturiol o ryddid yn gref neillduol ynddo. Llew Affricanaidd oedd, a dim cam-gymeriad. Scipio y gelwid ef. Ni fedrai neb wneud dim o hono; ac fe'i gwerthwyd ef o gwmpas o law i law, nes o'r diwedd i Alfred ei brynu, gan feddwl y medrai efe ei ddofi. Wel, un diwrnod, efe a darawodd yr arolygwr nes oedd yn rholio, ac i ffordd âg ef i'r corsydd. Yr oeddwn i yn digwydd bod ar ymweliad yn mhlanfa Alf ar y pryd, yr oedd ar ol i ni dori'r bartneriaeth. Yr oedd Alfred yn ddig enbydus, ond mi ddywedais inau mai ei fai ef ei hun oedd, a chynygiais fetio unpeth y dofwn i'r dyn; cytunwyd o'r diwedd, os gallwn i ei ddal ef, y cawn ef i'w dreio. Felly cafwyd ynghyd tua chwech neu saith, a gynau a chŵn i'r helfa. Fe all pobl gael cymaint o frwdfrydedd, wyddoch, i hela dyn ag i hela llwynog, os bydd hi ddim ond yn arferiad; yn wir, yr oeddwn i dipyn yn benboeth fy hunan, er nad oeddwn yno ond fel cyfryngwr, os digwyddai iddo gael ei ddal.

"Wel, fe udodd ac fe gyfarthodd y cŵn, a buom ninau yn marchogaeth ac yn rhedeg, ac o'r diwedd fe'i codwyd. Fe redodd ac fe neidiodd fel bwch, a dangosodd ei sodlau i ni am gryn amser; ond yn y diwedd fe ymddyrysodd mewn tŵr o hesg cauadfrig; yna efe a drodd i ymladd, ac ymladd y cŵn yn iawn a wnaeth hefyd. Llucliodd hwynt ar dde ac ar aswy, a lladdodd dri o honynt â'i ddyrnau moelion, pan darawyd ef i lawr âg ergyd o ŵn, ac efe a syrthiodd yn glwyfedig â'i waed yn llifo, yn mron yn fy ymyl. Edrychodd y creadur tlawd arnaf â gwroldeb ac anobaith hefyd yn ei olygon. Mi a gedwais y cŵn a'r helwyr draw, fel yr oeddynt yn tyru o'i gwmpas, a chleimiais ef fel fy ngharcharor. Prin y medrais gadw y bobl rhag ei saethu yn ngorlanw eu buddugoliaeth; ond mi ddeliais at fy margen, a gwerthodd Alfred ef i mi. Wel, mi a'i cymerais mewn llaw, ac yn mhen y pymthegnos yr oedd mor ddôf a hywaeth ag a ddymunasai calon undyn."

"Pa beth ar wyneb y ddaear a wnaethoch iddo?" ebe Marie.

"Wel, welsoch chwi erioed haws. Mi a'i cymerais i'm hystafell fy hun, a mynais wely da iddo, mi drwsiais ei friwiau, ac mi weinyddais arno fy hun, hyd nes oedd ar ei draed drachefn. Yn mhen amser, mi barotoais bapyrau rhyddhad iddo, ac mi ddywedais wrtho y gallai fyn'd i'r fan y mynai."

"A aeth ef?" ebe Miss Ophelia.

"Naddo. Y ffwlcyn gwirion, fe rwygodd y bapyr yn ddau, ac fe omeddodd fy ngadael ar un cyfrif. Ni bu genyf erioed greadur gwell, na'i ddewrach—gonest, ac mor gywir a'r dur. Fe drodd yn Gristion ar ol hyny, ac o hyny allan yr oedd mor addfwyn a'r plentyn. Efe a fyddai'n cymeryd gofal fy lle i ar y llyn, a byddai yn gwneud yn gampus hefyd. Mi collais ef yn amser y colera cyntaf. Yn wir fe roddodd i lawr ei fywyd trosof fi. O herwydd yr oeddwn i yn sâl, bron marw; a phan oedd pawb arall wedi ffoi gan ofn, fe weithiodd Scipio drosof fel cawr, ac fe ddaeth a mi yn ol i fywyd drachefn. Ond, druan oedd o! fe'i cymerwyd yntau yn bur fuan, ac nid oedd modd ei safio. Ni theimlais golli neb yn fwy erioed."

Yr oedd Eva wedi dyfod nes-nes at ei thad,

tra'r oedd yn dweyd yr hanes—ei gwefusau bychain ar wahan, a'i llygaid yn llydan agored yn yfed y cwbl a ddywedai.

Pan ddarfyddodd, hi a neidiodd â'i dwy fraich am ei wddf, ac a dorodd allan i wylo'n hidl, ac i feichio crio.

"Eva, fy mhlentyn anwyl i, beth ddarfu i chwi?" ebe St. Clare, fel yr oedd ei holl gorph yn crynu ar ei fynwes gan fywiogrwydd ei theimladau. "Mae'r plentyn yma'n rhy wànllyd," ebe efe, "ni ddylai hi ddim clywed pethau fel hyn."

"Na, papa, nid ydw' i ddim yn wàn," eb Eva, gan feddiannu ei hun mewn dull anarferol mewn plentyn. "Nid wyf fi ddim yn wàn, ond mae pethau fel hyn yn *suddo i' nghalon i.*"

"Beth ydych yn feddwl, Eva?"

"Ni fedra' i ddim deyd, papa. Mi fydda'n meddwl llawer iawn o bethau. Fe allai y dywedaf i chwi ryw ddiwrnod."

"Wel, meddyliwch yn mlaen, fy mhlentyn —ond peidiwch a chrïo â thori calon papa," ebe St. Clare. "Dyma i chwi, y fath afal pêr sydd genyf i chwi!"

Cymerodd Eva ef, a gwenodd, er fod ambell grebychiad yn ymylon ei gwefusau.

"Dowch, edrychwch ar y pysgod euraidd," ebe St. Clare, gan fyned i'r verandah. Yn fuan clywid crechwenau llawen trwy y cudd-lèni sidan tra'r oedd Eva a St. Clare yn lluchio rhosynau at eu gilydd, ac yn ymlid y naill y llall ar hyd rhodfëydd y cwrt.

Y mae'n berygl y gollyngir ein ffrind Twm druan yn anghof yn nghanol hanesion yr uwchradd; ond os daw ein darllenwyr gyda ni i lofft fechan uwch ben y stabl, efallai y cânt ychydig o'i hanes. Yr oedd yn ystafell ddigon taclus, yn cynwys gwely, cadair, a math o fwrdd anghelfydd, ar ba un y gorweddai Bibl Twm, a'i lyfr hymnau; a dyna lle mae'n eistedd yn awr, a'i lechen o'i flaen, yn astud wrth rywbeth a ymddengys yn achos o lawer o bryder iddo.

Y gwir yw fod hiraeth Twm am ei gartref wedi cyfodi mor gryf, fel y gofynodd i Eva am bapyr i ysgrifenu llythyr; a thrwy loywi ei holl ystôr o ysgolheigdod a gawsai dan Mas'r George, efe a ffurfiodd y drychfeddwl èofn o ysgrifenu llythyr; ac yr oedd yn awr yn brysur yn ceisio gwneud copi o hono ar ei lechen. Yr oedd Twm mewn trafferth dros ei ben a'i glustiau, o herwydd anghofiasai ffurf rhai llythyrenau yn hollol, ac o'r rhai a gofiai, nis gwyddai yn iawn pa rai i'w harfer. A thra'r oedd yn gweithio, ac yn chwythu'n bur galed o ddifrif calon, disgynodd Eva fel aderyn ar gefn ei gadair, ac edrychodd dros ei ysgwydd.

"O, F'ewythr Twm, beth ydi'r pethau digrif yna wyt ti yn wneud?"

"Treio 'sg'fenu at f'hen wraig a mhlant bach 'rydw' i," ebe Twm, gan dynu cefn ei law tros ei lygaid; "ond, rywsut, mae arna' i ofn na fedra' i ddim 'i neud o allan."

"O, Twm na fedrwn i dy helpu! Mi ddysgais ysgrifenu rhywfaint. Mi fedrwn neud y llythyrenau bob un llynedd, ond y mae arnaf ofn fy mod i wedi anghofio."

Felly dododd Eva ei phen bach euraidd yn ymyl ei ben yntau, a dechreuodd y ddau ddadleuaeth sobr a difrifol, y naill mor awyddus a'r llall, a'u hanwybodaeth bron yn gyfartal; ac ar ol llawer o ymholi ac ymgynghori uwch ben pob gair, yr oedd y ddau yn lled sicr yn eu meddwl fod y cyfansoddiad yn dechreu ymddangos rywbeth yn debyg i ysgrifen.

"Ydyw, F'ewythr Twm, yn wir y mae'n dechreu edrych yn dda iawn." eb Eva, gan syllu arno gyda phleser. "Fydd dy wraig di wrth fodd ei chalon, a'r plant bach anwyl! O, mae yn gywilydd iddyn nhw erioed dy gymeryd oddi cartref! Mi ofynaf i papa adael i ti fyn'd yn ol ryw ddiwrnod."

"Mi ddeudodd missis y gyrai hi arian mor gynted y gallai hi cael nhw, i mhrynu fi," ebe Twm. "Ac yr ydw i'n disgwyl y gwneiff hi. Mi ddeudodd Mas'r George y dôi yntau, ac mi rodd y dolar yma yn ernest;" ac fe dynodd Twm y dolar anwyl o'i fynwes.

"O, mi fydd yn sicr o ddyfod, ynte," eb Eva. "Mae mor dda gen i!"

"A mae arna i eisia gyrru llythyr, wyddoch, i adel iddyn nhw wybod lle'r ydw i, ac i ddeyd wrth Cloe druan mor dda ydi'r byd arna i, o herwydd mi 'roedd bron tori chalon, y greadures wirion!"

"Twm!" ebe St. Clare, gan ddyfod i mewn yr un mynyd.

Dychrynodd Twm ac Eva hefyd.

"Beth sy'n myn'd yn mlaen yma?" ebe St. Clare, gan edrych ar y llechen.

"O, llythyr Twm ydyw. Yr ydw i yn ei helpu o i'w ysgrifenu," eb Eva, "onid yw yn glŵs!"

"Ni fỳnwn i ddim digaloni 'run o honoch," ebe St. Clare, "ond yr wyf fi o'r farn, Twm, mai gwell fyddai i mi ysgrifenu llythyr drosot ti. Mi a wnaf hyny ar ol dychwelyd o'm rhodfa."

"Mae'n fater o gryn bwys iddo ysgrifenu," eb Eva, "o herwydd mae ei feistres yn myned i anfon arian i lawr i'w brynu, wyddoch, papa; mi ddeudodd ef wrthyf eu bod wedi addaw."

Meddyliodd St. Clare ynddo ei hun nad oedd hyn ddim ond peth a ddywedir yn fynych gan berchenogion da eu natur, i esmwythau meddyliau eu gweision ychydig pan werthir hwynt, heb unrhyw feddwl byth am gyflawni'r addewid. Ond ni ddywedodd ddim, amgen nag archu i Twm gymeryd y ceffylau allan, iddo fyned yn ei gerbyd i roi tro.

Ysgrifenwyd llythyr Twm iddo y prydnawn hwnw, a dodwyd ef yn ddiogel yn y llythyrdŷ.

Daliodd Miss Ophelia ati'n ddyfal yn ei llafur gyda chadw'r tŷ. Ac yr oedd pawb yn y teulu yn cytuno, o Dinah hyd y groten leiaf, mai un "giwrios" iawn oedd Miss Ophelia,—gair a arferir gan weinidogion yn y dehau i ddangos nad yw eu gwell yn gwbl y peth y dymunent hwy iddynt fod.

Mŷnai yr uwchraddolion, sef Adolph, Jane, a Rosa—nad oedd Miss Ophelia yn "ladi" fodd yn y byd; na byddai "ladis" byth yn gweithio yn ddibaid fel yr oedd hi; nad oedd dim golwg boneddigaidd arni; a'u bod yn sŷnu ei bod yn perthyn i'r St. Clares. Dywedai hyd yn nôd Marie, fod yn flinder edrych ar ei chyfnither Ophelia bob amser yn brysur. Ac, yn wir, yr oedd diwydrwydd Miss Ophelia mor ddibaid, fel ag i osod sail i'r achwyniad. Yr oedd yn pwytho ac yn gwnïo o'r bore glâs hyd nos, gyd â'r fath egni a phe buasai rhyw ganlyniadau mawrion yn ymddibynu ar hyny; ac yna, ar ol darfod goleu dydd, a phlygu ei waith a'i gadw, dyna lle byddai'r hosan allan drachefn, a hithau yn gweu mor brysur ag erioed. Yn wir yr oedd yn ddigon a blino undyn i edrych arni.

## PENNOD XX.

### TOPSY.

Un bore, tra'r oedd Miss Ophelia yn brysur gyda'i gorchwylion teuluaidd, clywid llais St. Clare yn galw arni wrth waelod y grisiau.

"Dewch i lawr yma, 'nghares, mae genyf rywbeth i'w ddangos i chwi."

"Beth ydyw?" ebe Miss Ophelia, gan ddyfod i lawr â'i gwaith gwnïo yn ei llaw.

"Mi brynais ddodrefuyn i chwi—edrychwch yma," ebe St. Clare; a chyda 'r gair efe a ddygodd yn mlaen negrōes fechan, rhwng wyth a naw oed.

Yr oedd gyda'r dduaf o'i holl epil; ei llygaid crynion, gloywon, yn disgleirio fel pelenau o wydr, ac yn rhythu'n ddiorphwys ac yn ddibaid ar bobpeth yn yr ystafell. Agorai ei gwefusau mewn syndod ar holl ryfeddodau parlwr ei meistr newydd, a dangosai ddwy res o ddannedd mor wastad ac mor wyned a pherlau teg. Yr oedd ei gwallt crych wedi ei blethu yn gynffonau bychain yma a thraw, ac yn sefyll allan fel bagau brain. Yn ei hwynebpryd gwelid cymysgedd digyffelyb o gyfrwsder a dichell, dros yr hyn y tynai, megys gorchuddlen, fath o sobrwydd a difrifoldeb tor-calonus. Nid oedd ganddi am dani ddim ond un cerpyn, wedi ei wneud o hen sach gotwm; a safai yn ddiniwed â'i dwy law ymhleth o'i blaen. Ar y cyfan, yr oedd golwg un o impiaid y fagddu arni—rhywbeth, fel y dywedodd Miss Ophelia wedi hyny, "mor baganaidd," ag i godi ofn a dychryn ar y ddynes ragorol hono; a chan droi at St. Clare, hi a ddywedodd,

"Augustine, pa beth ar wyneb y ddaear a'ch cymhellodd i ddyfod a'r greadures yma i'r tŷ?"

"I chwi ei dwyn i fyny, bid siwr, a'i hyfforddio yn mhen ei ffordd. Mi feddyliais ei bod yn engraifft led ddigrif o ddosparth Jim Crow. Tyr'd yma, Topsy," eb efe, gan chwibanu, yr un fath a galw ar gi, "cana i ni gân, a dangos sut y medri di ddawnsio."

Fe drodd y llygaid duon gloywon gyda math o guchiau drygionus, ac fe ddechreuodd yr imp ganu rhyw gerdd negroaidd, mewn llais clir fel y gloch, gan gadw'r amser â'i thraed a'i dwylo, troi o gwmpas fel chwirli-gwgan, curo ei dwylaw, taro ei gliniau yn eu gilydd, mewn rhyw amser gwyllt, gwallgof, a gwneud swn clwcclwc yn ei gwddf, mewn ffordd nas gall neb ond pobl dduon ei wneud; ac o'r diwedd, ar ol troi dinben-drosben ddwywaith neu dair, a rhoddi un nod hir i orphen, mewn ysgrech ellyllaidd, tebycach i chwibanogl agerdd-beiriant na dim arall, hi a safodd yn sydyn ar y carped, â'i dwy law ymhleth o'i blaen, a'r golwg mwyaf sancteiddiol, sobr, a diniwed ar ei gwep, oddieithr ambell gip-olwg meiltenaidd yn lladradaidd o gonglau ei llygaid.

Safai Miss Ophelia yn ddystaw, ac mewn crynfa o arswyd.

Ond St. Clare, fel creadur llawn o ddiriedi, a chwarddodd ynddo ei hun am ben ei gyfnither, ac a ddywedodd wrth y plentyn—

"Topsy, dyma dy feistres newydd. Yr ydwyf fi yn myned i'th roddi iddi, ac edrych di ati am fod yn lodes dda."

"Mi 'naf, mas'r," ebe Topsy, gyda golwg sancteiddiol, a'i llygaid yn un ysfa drosto yr un pryd.

"Yr wyt ti yn myned i fod yn dda, Topsy, wyddost," ebe St. Clare.

"O, ydw, mas'r," ebe Topsy, gyda gwefriad arall i'w llygaid, a'i dwylaw ymhleth yn bur ddefosiynol.

"Yn awr, Augustine, beth ar y ddaear ydyw 'ch meddwl yn hyn?" ebe Miss Ophelia. "Mae eich tŷ mor llawn eisoes—mor llawn o'r plāau bychain hyn, fel nas gall neb roi ei droed ar lawr heb sangu arnynt. Pan godaf yn y bore, bydd un yn cysgu tu ol i'r drws, pen un arall yn rholio oddi tan y bwrdd, a'r llall yn cysgu ar fat y drws; ac y maent yn rhedeg, yn gwichian, yn serenu trwy'r dellt, neu'n twmblo ar hyd lawr y gegin! Pa beth ar wyneb pridd y ddaear a wnewch â honyna?"

"I chwi i'w haddysgu,—oni ddywedais i chwi? Yr ydych bob amser yn pregethu am addysgu. Ac mi feddyliais yr anrhegwn chwi â phryf newydd ei ddal, i chwi gael treio eich llaw arno, a'i ddysgu yn y ffordd y dylai rodio."

"Yr wyf fi yn ddigon sicr nad oes arnaf *fi* ddim o'i heisiau. Mae genyf fwy i'w wneud â hwy eisoes nag sydd arnaf eisiau."

"Dyna chwi, grefyddwyr, bob cymal o honoch chwi! Chwi ffurfiwch gymdeithas, ac a anfonwch ryw genhadwr tlawd i dreulio ei oes yn mysg y fath baganiaid a hon. Ond gadewch i mi weled un o honoch chwi a gymer un o honynt i dŷ, ac a lafuria ei hunan i'w argyhoeddi! Na; pan ddaw hyd at hyny, maent yn fudron, ac yn ffiaidd—mae'n ormod poen, ac felly yn y blaen."

"Augustine, chwi wyddoch na feddyliais i ddim am y mater yn y ffordd yna," ebe Miss Ophelia, gan lacâu ei gafael yn rhyfeddol. "Wel, hwyrach mai gwaith cenadol fyddai," ebe hi, ac edrychodd braidd yn fwy siriol ar y plentyn.

Yr oedd St. Clare wedi cyffwrdd â'r tant iawn. Byddai cydwybodolrwydd Miss Ophelia bob amser yn effro.

"Ond," ebe hi, "yn wir, ni fedraf fi wel'd un rheswm dros brynu hon—mae yma ben ddigon yn barod yn y tŷ, i gymeryd fy holl amser a'm dyfais i."

"Wel ynte fy nghyfnither," ebe St. Clare, gan ei thynu o'r neilldu, "mi ddylwn i ofyn eich maddeuant am fy siarad gwageddus. Yr ydych chwi mor dda, ar ol y cwbl, fel nad oes dim synwyr ynddynt. Dyma'r gwir, yr oedd y greadures yma yn perthyn i ddau greadur meddw sy'n cadw tŷ potio ar y ffordd y byddaf fi yn myned bob dydd, ac yr oeddwn i wedi blino ei chlywed hi yn sgrechian, a hwythau yn ei churo ac yn ei rhegu. Yr oedd golwg sharp arni, a digrif hefyd, fel pe buasai rhywbeth ynddi, felly mi prynais hi, ac yr wyf yn ei rhoddi i chwi. Gwnewch ymdrech yn awr i'w dwyn i fyny yn uniawn-gred New England, i gael gweled beth ellir wneud o honi. Chwi wyddoch nad oes genyf fi ddim dawn fel yna; ond fe fyddai yn dda genyf eich gweled chwi yn cymeryd y peth mewn llaw."

"Wel mi wnaf fi gymaint ag a allaf," ebe Miss Ophelia; a hi a nesaodd at ei hysgolheiges rywbeth yn debyg y bydd un yn nesâu at bryfcopyn du, a meddwl fod ganddo amcan daionus tuag ato.

"Mae hi yn fudr arswydus, ac yn haner noeth," ebe hi.

"Wel, cymerwch hi i lawr y grisiau, a cheisiwch gan rai o honynt ei glanhau a'i gwisgo i fyny."

Aeth Miss Ophelia â hi i diriogaethau'r gegin.

"Nis gwn i beth sydd ar St. Clare eisio hefo rhagor o niggers," ebe Dinah, gan fesur yr un newydd yn lled gilwgus. "Cheiff hi ddim bod dan *nhraed i*, mi wn i hyny."

"Pw-w-w!" ebe Rosa a Jane, yn drwyn-sur ryfeddol; "well iddi hi gadw o'n ffordd ni? Beth sydd ar mas'r eisio gen ragor o'r niggars budr yma, fedra i ddim gwybod!"

"Dos di o'na! Ddim mwy niggar na titha, Miss Rosa," ebe Dinah, yr hon a deimlodd y sylw olaf yna fel anfri arni ei hun. "'Rwyt ti am fod yn wŷn. Ond nid wyt ti na gwŷn na du. Well gen i fod y naill neu'r llall."

Gwelodd Miss Ophelia nad oedd neb yn y gwersyll a gymerai arni lanhau a gwisgo'r llaw newydd; a gorfu arni wneuthur hyny ei hunan, gyda rhywfaint o help pur anfoddog gan Jane.

Nid gweddus i glustiau llednais glywed y cwbl am wisgiad cyntaf plentyn wedi ei hesgeuluso. Yn wir, rhaid i luoedd yn y byd yma fyw a marw mewn cyflwr ag y byddai'n ormod ergyd i'w cyd-ddynion wrando'r hanes. Yr oedd gan Miss Ophelia benderfyniad cryfach na'r cyffredin; ac hi aeth trwy'r holl orchwyl annymunol yn drwyadl, er y rhaid addef mai nid gyda phleser—o hewydd i gyflwr o oddef yn unig y gallai ei hegwyddorion ei dwyn. Pan welodd wrymiau a chreithiau mawrion ar gefn ac ysgwyddau'r plentyn, argraffnodau annileadwy o'r gyfundraeth dan ba un y dygwyd hi i fyny, fe doddodd ei chalon o'i mewn.

"Welwch chwi!" ebe Jane, gan gyfeirio at y creithiau, "onid ydi 'nyna'n dangos mai cangen —ydi hi? Mi gawn waith braf hefo hi, mi wrantaf. Mae'n ffiaidd gen i'r niggars bach yma! mor fudron! beth 'na'th i mas'r ei phrynu hi!"

Fe glywodd y "nigger fechan" hyn i gyd, yn ei ffordd ddistaw a thrwmbluog ei hun, a thaflodd ei golwg unwaith ac eilwaith yn lled wybodus ar y tlysau yn nghlustiau Jane. O'r diwedd, ar ol ei gwisgo mewn dillad gweddus, a chropio ei gwallt yn gwta, edrychodd Miss Ophelia yn lled falch arni, a dywedodd ei bod yn edrych yn debycach i Gristion, gan droi yn ei meddwl ryw lwybr i'w haddysgu.

Yna hi a eisteddodd ar ei chyfer, ac a ddechreuodd ei holi.

"Faint ydi d'oed di, Topsy?"

"Wn i ddim, missis," ebe'r ddelw, gan wenu fel y gwelid ei dannedd.

"Wyddost ti ddim faint ydi d'oed di! A ddeudodd neb erioed wrthyt ti? Pwy oedd dy fam?"

"Fu gen i 'run 'rioed!" ebe'r plentyn, gyda chrechwen arall.

"Fu gen't ti yr un fam? Beth wyt ti yn feddwl? Yn mh'le y ganwyd ti?"

"Ni che's i 'rioed mo ngeni!" ebe Topsy, gyda chrechwen eto, ac edrychodd mor ellyllaidd ag y gallasai Miss Ophelia feddwl, pe buasai'n wànaidd, iddi gael gafael ar impyn hiddiglaidd o deyrnas y fall; ond nid oedd dim yn wànaidd o gylch Miss Ophelia, pob peth rhag ei flaen ac i ryw ddyben, ac ebe hi, yn awdurdodol—

"Blentyn, ni wiw i ti f'ateb i fel yna; nid cellwair â thi yr ydwyf fi. Dywed yn mh'le ganwyd ti, a phwy oedd dy dad a dy fam."

"Ni che's i 'rioed mo ngeni," ebe'r greadures, yn fwy penderfynol fyth; "ni fu gen i 'rioed dad, na mam, na dim yn y byd. Mi ge's fy nghodi i'r farchnad, gyda lot o rai erill. Yr hen Fodryb Sue oedd yn edrych ar'n hola ni."

Yr oedd yn amlwg fod y plentyn yn syml ac yn onest; a thorodd Jane allan i chwerthin, a dywedodd—

"Dyn anwyl, missis, mae llaweroedd o rhein. Mae maelwyr yn eu prynu'n rhad, pan yn fychin, ac yn cael eu codi i'r farchnad."

"Pwy hyd y buost gyd â'th feistr a'th feistres?"

"Wn i ddim, missis."

"Fuost ti flwyddyn, neu fwy, neu lai?"

"Wn i ddim, missis."

"Dyn anwyl, missis, y negros isel yma—fedran nhw ddim deud, wyddan nhw ddim byd am amser," ebe Jane; "wyddan nhw ddim beth ydi blwyddyn; wyddan nhw mo'u hoed."

"A glywaist ti ddim erioed am Dduw, Topsy?"

Edrychodd y plentyn mewn dyryswch, ond gwenodd fel arferol.

"Wyddost ti pwy gwnaeth di?"

"Na'th neb mo'na i, am wn i," ebe'r plentyn, a thorodd allan i chwerthin.

Ymddangosai'r gofyniad yn bur ddigrif iddi, o herwydd chwareuodd ei llygaid, a dywedodd,

"Debyg gen i mai tyfu ddaru mi. Ni na'th neb erioed mo'na i trwy wybod i mi."

"Fedri di wnïo?" ebe Miss Ophelia, gan feddwl y troai at rywbeth mwy o fewn cyrhaedd.

"Na fedra i, missis."

"Beth fedri di wneud? Beth fuost ti yn ei wneud i dy feistr a dy feistres?"

"Cario dwr, golchi llestri, glanhau cyllill, a waitio ar bobol."

"Oeddan nhw yn dda wrthyt ti?"

"Debyg gen i bod nhw," ebe'r plentyn, gan daflu golwg gyfrwys ar Miss Ophelia.

Cyfododd Miss Ophelia oddiwrth yr ymgomiad calonog yma; ac yr oedd St. Clare yn pwyso ar gefn ei chadair.

"Mae yna dir newydd, nghares; plânwch eich meddyliau eich hun ynddo—ni chewch ddim llawer i'w diwreiddio."

Yr oedd drychfeddyliau Miss Ophelia am addysg, fel am bob peth arall, yn hynod o benderfynol, ac fel y rhai a hanfodent yn New England ganrif yn ol, ac a geir eto mewn rhai parthau anghysbell lle nad oes yr un ffordd haiarn. Mor agos ag y gellir dweyd, gellid eu cynwys mewn ychydig eiriau: eu dysgu i wrando pan siaredid wrthynt; eu dysgu i ddweyd y catecism, i wnïo, ac i ddarllen; a'u whipio os dywedent anwiredd. Ac er, wrth reswm, yn y ffrwd o oleuni sydd wedi ymdywallt ar addysg, fod y golygiadau hyn wedi eu gadael yn mhell o'r tu ol, eto y mae'n ffaith anwadadwy ddarfod i'n neiniau godi gwŷr a gwragedd go lêw tan yr hen drefn, fel y gall llawer o honom gofio a thystio. Fodd bynag, nis gwyddai Miss Ophelia am ddim arall i'w wneud, gan hyny hi a drodd at ei phagan i wneud goreu gallai.

Rhoddwyd y gair trwy yr holl dŷ mai lodes Miss Ophelia ydoedd hi; a chan nad oedd ond ychydig groesaw iddi yn y gegin, penderfynodd Miss Ophelia gyfyngu cylch ei gweithrediadau yn benaf i'w hystafell ei hun. Trwy hunanaberthiad ag y gŵyr rhai o'n darllenwyr pa fodd i'w werthfawrogi, hi a benderfynodd, yn lle gwneud ei gwely ei hun yn gymfforddus, ysgubo ei hystafell a thynu'r llwch—yr hyn a wnaethai hyd yn hyn, er gwaethaf pob cymelliad gan y forwyn i'w helpu—i gymeryd arni'r benyd o ddysgu Topsy i wneud y pethau hyn. Ond, gwae o'r diwrnod! Os gwnaeth neb o'n darllenwyr yr un peth, hwy a fedrant ddirnad maint yr hunan-ymwadiad a wnaeth hi.

Dechreuodd Miss Ophelia trwy gymeryd Topsy i'w hystafell y bore cyntaf, a'i chychwyn ar ben y llwybr yn y gelfyddydyd a'r dirgelwch o gyweirio gwely.

Gan hyny, wele Topsy, wedi ei golchi a'i chneifio o'r cudynau plethedig bychain oeddynt falchder ei chalon, wedi ei gwisgo mewn gown glân, ffedog wedi ei startsio, yn sefyll yn barchus o flaen Miss Ophelia, â gwynebpryd digon sobr i fod mewn claddedigaeth.

"'Rwan, Topsy, dyma fi yn myn'd i ddangos i ti sut y mae gwneud fy ngwely i. Yr ydw' i'n bur barticular ynghylch fy ngwely. Rhaid i ti ddysgu ei wneud i'r dim."

"Mi 'na, ma'am," meddai Topsy, gydag ochenaid, a gwyneb rhyfedd difrifol.

"'Rwan, Topsy, edrych yma; dyma hem y gynfas—dyma'r ochr ddeheur'r gynfas, a dyma'r ochr chwith; 'nei di gofio?"

"G'naf, ma'm," ebe Topsy, gydag ochenaid arall.

"Wel, 'rwan, rhaid i ti ddwad â'r gynfas isaf dros y gobenydd fel yna—a'i thycio yn llyfn wrth y matras—fel yna; wyt ti'n gwel'd?"

"Ydw, ma'm," ebe Topsy, yn sobr ryfeddol.

"Ond y gynfas ucha'," ebe Miss Ophelia, "rhaid dwad â hi i lawr fel hyn, a'i thycio yn dŷn ac yn llyfn wrth y traed—fel yna—yr hem gul yn y gwaelod."

"Iĕ, ma'm," ebe Topsy, fel o'r blaen: ond ni a ychwanegwn, yr hyn ni welodd Miss Ophelia, tra'r oedd ei chefn wedi troi, yn ei zêl gyd â'i disgybl, i hòno gipio pâr o fenyg a ribban, y rhai a guddiodd yn ei llewis ar amrantyn, gan sefyll â'i dwylaw yn mhleth fel o'r blaen.

"Yn awr, Topsy, gâd i mi dy weled *di* yn

gwneud hyn," ebe Miss Ophelia, gan dynu y dillad ac eistedd i lawr.

Ymaflodd Topsy yn ei gwaith gyda llawer o ddeheurwydd a difrifoldeb, ac aeth trwyddo yn berffaith wrth fodd Miss Ophelia—gan lyfnhau y cynfasau, tynu'r crychni, ac yn mhob peth mor ddiwegi a gweithgar, fel ag yr oedd ei hathrawes yn meddwl llawer o honi. Ond trwy ryw slip anlwcus, diangodd congl o'r ribban allan o dan ei llawes, fel yr oedd yn gorphen ei gwaith, a chanfu Miss Ophelia gipolwg arno. Neidiodd ato mewn mynyd. "Beth ydi hwn? Ti dygaist ef, y lodes ddrwg, anonest."

Tynwyd y ribban allan o lawes Topsy ei hun, eto nid oedd wedi dychrynu yn y gradd lleiaf; edrychodd arno yn syn, ac mor ddiniwed â phlentyn blwydd.

"Dyn anwyl, dyna ribban Miss Pheeli, onitê? Sut y gallai fyn'd i fy llawes i?"

"Topsy, lodes ddrwg wyt ti; paid â dweyd anwiredd, tydi a'i dygodd."

"Missis, fel 'rydw' i yn y fan yma, ddaru mi ddim; welais i mo'no fo erioed tan y mynyd yma."

"Topsy," ebe Miss Ophelia, "wyddost ti ddim fod yn ddrwg dweyd celwydd?"

"Fydda i byth yn deud celwydd, Miss Pheeli," ebe Topsy, gyd âg eiddigedd rhinweddol! "y gwir ydw' i'n ddeud 'rwan, a dim arall."

"Topsy, rhaid i mi dy whipio di, os êi di i ddweyd anwiredd fel yna."

"Dyn anwyl, missis, pedaech chi yn whipio i trwy'r dydd, fedrwn i ddeud 'run ffordd arall," ebe Topsy, a hi ddechreuodd grio. "Welas i 'nyna 'rioed, rhaid mai bachu yn fy llawes i ddaru fo. Rhaid fod Miss Pheeli wedi adael o ar y gwely, ac mi ddrysodd yn dillad, ac mi aeth i'm llawes i."

Yr oedd Miss Ophelia mor ddig o herwydd y fath gelwydd gwyneb galed, fel y gafaelodd yn y plentyn, ac yr ysgydwodd hi.

"Paid ti â dweyd y fath beth yn rhagor!"

Daeth yr ysgytiad â'r menyg i'r llawr o'r llawes arall.

"Dyna, 'rwan," ebe Miss Ophelia, "a feiddi di ddweyd eto na ddygaist y ribban?"

Cyffesodd Topsy i'r menyg, ond daliodd ati i wadu am y ribban.

"'Rwan Topsy," ebe Miss Ophelia, "os cyffesi di'r cwbl ynghylch y mater, ni whipia i mo'not ti y tro yma." Wedi ei thynghedu fel hyn, fe gyffesodd Topsy i'r ribban a'r menyg, gan ardystio mor echrydus o edifeiriol ydoedd.

"Wel, 'nawr, dywed i mi. Mi wn i dy fod wedi cymeryd pethau eraill er pan wyt ti yn y tŷ yma, o herwydd mi gadewais di i redeg o gwmpas trwy'r dydd ddoe. 'Nawr dywed, os cymeraist rywbeth, yna ni whipia i mono ti."

"Dyn anwyl, missis! mi gymras y peth coch mae Miss Eva yn ei wisgo am ei gwddw."

"Mi ddarut, hogen ddrygionus. Wel, beth arall?"

"Mi gymras y petha oedd yn nghlustia Rosa —petha cochion rheiny."

"Dos, a thyr'd â nhw yma y mynyd yma, bob un o'r ddau."

"Dyn anwyl, missis! fedra i ddim—mae nhw wedi llosgi'n ulwyn."

"Llosgi'n ulwyn!—paid â dweyd anwiredd. Dos i'w nol nhw, onitê mi curaf di."

Ardystiodd Topsy trwy lefau a dagrau, ac ucheneidiau, *nas medrai.* "Mae nhw wedi llosgi—mae nhw."

"I beth gnait ti llosgi nhw?" ebe Miss Ophelia.

"Am mod i'n ddrwg—'rydw i'n ddrwg. Yr ydw i'n ddrwg ofnadwy. Fedre i ddim help."

Gyda hyn daeth Eva yn ddigon difeddwl i'r ystafell, â'i chadwyn goral am ei gwddf.

"Eva, yn mha le y cawsoch eich cadwyn goral?" ebe Miss Ophelia.

"Ei chael? Yr oedd genyf fi trwy'r dydd," eb Eva.

"Oedd hi genych chwi ddoe?"

"Oedd; a pheth sy ddigrif, modryb, yr oedd am fy ngwddf trwy'r nos. Mi anghofiais ei thynu wrth fyned i'r gwely."

Edrychodd Miss Ophelia mewn perffaith ddyryswch, yn fwy felly gan i Rosa ddyfod i mewn i'r ystafell y mynyd hwnw â basgedaid o lieiniau ar ei phen, a'r tlysau coral rhag-ddywededig yn ei chlustiau.

"Yn wir nis gwn i ddim beth i'w wneud â'r fath blentyn!" ebe hi, yn llwyr anobeithiol. "I ba beth ar wyneb y ddaear y dywedaist i ti gymeryd y pethau yma, Topsy?"

"Wel, mi ddeudodd missis y rhaid i mi 'ffesu; a wyddwn i am ddim arall i 'ffesu!" ebe Topsy, gan rwbio ei llygaid.

"Ond, wrth reswm, nid oedd arnaf fi ddim eisieu i ti gyffesu pethau na wneist ti," ebe Miss Ophelia, "mae hyny'n ddweyd celwydd, gymaint ag ydyw'r llall."

"Dyn anwyl, ydi fo 'rwan?" ebe Topsy, mewn syndod diniwed.

"Pw-pw, nid oes dim fath beth a gwir yn y gangen yna," ebe Rosa, gan edrych yn ddig ar Topsy. "Pe b'aswn i Mas'r St. Clare, hi gawsai ei chwipio nes bo'r gwaed yn llifo, mi gawsai. Mi rho'wn i hi iddi hi."

"Na, na, Rosa," eb Eva, mewn tôn o awdurdod, yr hyn fedrai'r plentyn gymeryd weithiau; "rhaid i ti beidio siarad fel yna, Rosa. Ni fedraf fi ddim dioddef clywed y fath beth."

"Dyn anwyl, Miss Eva, yr ydych chi mor dda, wyddoch chi ddim byd sut i fyn'd y'mlaen hefo niggers. Nid oes 'run ffordd ond eu chwipio yn iawn, dyna fi'n deyd i chi."

"Rosa," eb Eva, "hust! Paid ti â dweyd yr un gair fel yna'n rhagor." A melltenodd llygad y plentyn, a chododd y gwrid i'w gwyneb.

Gorfu ar Rosa ddystewi mewn mynyd.

"Mae 'n ddigon amlwg fod gwaed St. Clare yn Eva. Hi fedr siarad yn union fel ei thad," ebe hi, wrth fyned allan o'r ystafell.

Safodd Eva gan syllu ar Topsy.

Dyna lle yr oedd y ddau blentyn yn cynrychioli dau eithafion cymdeithas. Y plentyn têg, o waedoliaeth uchel, ei phen euraidd, ei llygaid dyfnion, ei thalcen agored a llyfn, a'i symudiadau pendefigaidd; a'i chymydoges gyfrwys, gastiog, yn crymu, ond eto â'i synwyr yn fywiog. Safent yn adlewyrchiad o'u pobl. Y Sacson, wedi ei eni o oesau o feithriniad, awdurdod, addysg, ac enwogrwydd corphorol a meddyliol; a'r Affricaniad, wedi ei eni o oesau o orthrymder, ymddarostyngiad, anwybodaeth, caledwaith, a drygioni!

Efallai fod rhyw feddyliau o'r fath yn gweu trwy ben Eva. Ond lled anghryno ydyw meddyliau plentyn; ac yr oedd llawer o'r fath yn gweithio ac yn ymysgwyd yn ei natur ardderchog, i ba rai nis medrai roddi llafar.

Pan oedd Miss Ophelia yn myned yn mlaen ynghylch ymddygiad drygionus Topsy, ymddangosai Eva yn ddyrys ei meddwl ac yn ofidus, ond dywedai yn serchlawn—

"Topsy bach, druan, pa'm y rhaid i ti ddwyn dim? Ti gei gymeryd gofal trosot yn awr. Well gen i o lawer roddi i ti unpeth sydd genyf fi, nag i ti ei ddwyn."

Dyma'r gair cyntaf o diriondeb a glywsai'r plentyn yn ei holl fywyd; a tharawodd y llais mwyn a'r dull serchlon yn hynod ar y galon wyllt a dideimlad; a chododd rhywbeth tebyg i ddeigryn i'r llygad bywiog, crwn, dysglaer; ond daeth y grechwen arferol i ysgubo'r cwbl ymaith. Na! nid hawdd gan y glust na chlywodd ddim erioed ond geiriau celyd, gredu mai llais nefolaidd tiriondeb ydyw; a meddyliodd Topsy mai rhywbeth digrif ac anmhosibl ei ddeall a ddywedasai Eva—nid oedd yn ei choelio, beth bynag.

Ond beth oedd i'w wneud â Thopsy? Yr oedd Miss Ophelia mewn llwyr ddyryswch; nid atebai un o'i rheolau addysgiadol hi. Ond meddyliodd y cymerai hamdden i ystyried y peth; ac i'r dyben o ennill amser, a chan obeithio fod rhyw rinweddau moesol yn cartrefu mewn lle tywyll, hi a osododd Topsy mewn closet heb oleu dydd, a chauodd arni hyd oni fedrai gael ei meddyliau i drefn yn mhellach ar y pwnc.

"Ni fedraf fi ddim gweled," ebe hi wrth St. Clare, "sut i gael trefn ar y plentyn yna heb ei whipio hi."

"Wel, whipiwch hi nes b'och wedi blino. Mi ro'f gennad i chwi wneud fel y mynoch."

"Mae plant yn cael eu whipio bob amser," ebe Miss Ophelia; "ni chlywais i am neb erioed a gafodd ei ddwyn i fyny heb hyny."

"Gwir iawn," ebe St. Clare, "gwnewch fel y b'och chwi yn barnu'n oreu. Ni ddywedaf fi ddim ond un gair; mi welais y plentyn yma yn cael ei churo â'r pocer, a'i tharo i lawr â'r efail neu'r rhaw dân, p'run bynag fyddai nesaf at law; a chan ei bod yn gynefin â'r fath offerynau a'r rhai'n, rhaid fod eich whipio chwi yn bur lymdost i wneuthur unrhyw argraff."

"Beth sydd i'w wneuthur â hi, ynte?" ebe Miss Ophelia.

"Yr ydych wedi gofyn cwestiwn dyrys," ebe St. Clare, "a byddai dda genyf i chwi ei ateb. Beth sydd i'w wneud â chreadur o ddyn na ellir cael trefn arno gyd â'r whip,—mae *hono* yn methu—digwyddiad cyffredin iawn yn y parthau hyn."

"Yn wir nis gwn i ddim; ni welais i erioed blentyn fel hon."

"Mae'r fath blant yn gyffredin iawn yn ein mysg ni, a gwŷr a gwragedd o'r fath, hefyd. Sut y gellir eu cadw mewn trefn?" ebe St. Clare.

"Yn wir y mae yn fwy nag a fedraf fi ddweyd," ebe Miss Ophelia.

"Na minau ychwaith," ebe St. Clare. "O ba le y mae'r creulonderau erchyll yn dyfod, a welir ambell waith yn y papyrau—amgylchiad Prue, fel enghraifft? Mewn llawer amgylchiad, cyfodant oddiar ymgalediad graddol o'r ddau tu—y perchenog yn myned yn fwy creulon, a'r gwas yn fwy ystyfnig. Mae whipio a churo fel diod gwsg; rhaid dyblu'r dogn, fel y bo'r teimladau'n caledu. Mi welais hyn yn gynar iawn pan oeddwn yn berchenog; a phenderfynais beidio dechreu am na wyddwn yn mha le i aros; penderfynais, o leiaf, warchod fy natur foesol fy hun. Y canlyniad ydyw, fod fy ngweision i fel plant yn cael gormod o ryddid; ond y mae yn well gen i hyny na'm bwystfileiddio fy hun a hwythau. Yr ydych chwi wedi siarad cryn lawer am ein cyfrifoldeb ni yn eu dwyn i fyny. Ac yr oedd arnaf awydd eich gweled chwi yn *treio eich llaw* ar un, yr hon nid yw ond un o filoedd yn ein mysg ni."

"Ond eich system chwi sy'n gwneud y fath blant," ebe Miss Ophelia.

"Mi wn hyny; ond y maent *wedi eu gwneud*, a pheth *sydd* i'w wneud â hwynt?"

"Wel, digon prin y medraf fi ddiolch i chwi am y prawf. Ond gan ei fod yn ymddangos yn ddyledswydd, mi ddaliaf ati, ac mi wnaf fy ngoreu," ebe Miss Ophelia; ac ar ol hyn hi a lafuriodd gyda zêl ac egni canmoladwy yn ei galwedigaeth newydd. Gosododd oriau rheolaidd i Topsy wneud hyn a'r llall, a dysgodd iddi ddarllen a gwnïo.

Yn y darllen yr oedd y plentyn yn hynod o barod. Dysgodd ei llythyrenau megys trwy swynyddiaeth, ac yr oedd yn fuan iawn yn alluog i ddarllen pethau cyffredin; ond nid mor

hawdd oedd y gwnïo. Yr oedd y greadures mor lladradaidd a'r gath, ac mor aflonydd a mwnci, ac ni fedrai oddef y caethiwed o wnïo; felly hi a dorai'r nodwyddau, a'u taflai yn ddirgelaidd trwy'r ffenestr, neu i'r agen yn y mur; dyrysai, torai, neu diwynai ei hedef, neu, ar winciad llygad, taflai ymaith bellen yn ei chrynswth. Yr oedd ei symudiadau mor fywiog a'r eiddo'r consurwr mwyaf medrus, a'i llywodraeth dros ei hwynebpryd yr un mor berffaith; ac er fod Miss Ophelia yn teimlo nas gallai cynifer o ddamweiniau ddigwydd yn olynol, eto nis medrai ei dal, heb esgeuluso pob peth arall.

Daeth Topsy yn fuan yn rhywun hynod o fewn y tŷ a'i amgylchoedd. Nid oedd terfyn i'w thalentau am bob math o ddigrifwch, ystumiau, a dynwared—am ddawnsio, tymblo, dringo, canu, chwibanu, ac efelychu pob swn a glywai. Ar amser chware, byddai yr holl blantos o fewn y lle wrth ei sodlau, â'u cegau yn agored gan syndod a rhyfeddod—heb adael allan Eva, yr hon a swynid gan ei direidi gwyllt, fel ag y swynir y golomen ambell waith gan frith-liw'r sarph. Ymofidiai Miss Ophelia, wrth weled Eva gymaint yn nghwmpeini Topsy, a deisyfodd ar St. Clare ei rhwystro.

"Pw! gadewch lonydd i'r plentyn," ebe St. Clare, "fe wna Topsy les iddi."

"Ond creadures mor lygredig—a oes arnoch ddim ofn y dysg iddi ryw gastiau drwg?"

"Ni fedr hi ddim dysgu castiau drwg i Eva; hwyrach y gallai i rai plant, ond y mae drwg yn rholio oddiar Efa, fel y gwlith oddiar ddeilen cabetsan—nid oes diferyn yn suddo i mewn."

"Peidiwch a bod yn rhy sicr," ebe Miss Ophelia. "Ni chai 'run o mhlant i chware gyda Topsy, mi wn hyny."

Ar y cyntaf, dirmygid a diystyrid Topsy gan y pen-gweinidogion: ond cawsant achos cyn hir i newid eu barn. Cafwyd allan yn fuan, y byddai i bwy bynag a daflai anmharch ar Topsy, gyfarfod â rhyw ddamwain annymunol cyn hir—byddai pâr o glust-fodrwyau, neu ryw drinciach o'r fath, ar goll, neu byddai gown wedi ei ddifetha, neu syrthiai'r person yn ddamweiniol ar draws twb â dwfr poeth, neu syrthiai bwcedaid o ddwfr golchion oddi uchod am ben un yn ei ddillad goreu; ac yn mhob ymchwiliad am dad y drwg, nid oedd na thad na mam fedydd a gymerai'r cyfrifoldeb i'w cael. Dygwyd Topsy ger bron holl frawd-lysoedd y sefydliad, dro ar ol tro; ond safodd dros ei diniweidrwydd gyda gwefus lân ac mor sobr a sant. Nid oedd un amheuaeth yn meddwl neb nad hi oedd yr euog am hyn oll; eto nid oedd un titl o brawf i sefydlu'r ddrwg-dybiaeth, ac yr oedd Miss Ophelia yn rhy gydwybodol i gospi heb brawf eglur ac anwadadwy.

Byddai'r drygioni yn cael ei wneud hefyd ar yr amserau mwyaf dewisol, fel ag i ddyogelu'r troseddwr. Yr amser i ddial ar Rosa a Jane, y ddwy forwyn llofftydd, fyddai y tymhorau hyny pryd y byddent allan o ffafr eu meistres, yr hyn a ddigwyddai yn fynych, a phryd na chaent dderbyniad i'w hachwyniadau. Yn fyr, dysgodd Topsy i'r holl dŷ, mai gwell oedd ei gadael hi yn llonydd; ac o ganlyniad llonydd a gafodd.

Yn mhob ymarferiad corphorol, yr oedd Topsy yn fywiog ac yn gralfus, a dysgai bob peth mewn ychydig iawn o amser. Ar ol ychydig o wersi, yr oedd yn medru holl drefniadau ystafell Miss Ophelia, mewn ffordd na fedrai'r ddynes fanwl hono gael allan fai. Nid oedd dwylaw dynol ar wyneb daear a fedrent daenu dillad gwely yn llyfnach, gosod gobenydd a chlustog yn fwy destlus, ac ysgubo, llwchio, a threfnu yn fwy perffaith na Topsy, pan gymerai yn ei phen i wneud—ond nid aml iawn y gwnai hyny. Os digwyddai i Miss Ophelia, ar ol tridiau neu bedwar o ofal ac arolygiad amyneddgar, feddwl fod Topsy o'r diwedd wedi syrthio i'w ffordd hi, ac y gallai fyned yn mlaen wrthi ei hun, a gadael iddi hithau ymaflyd yn rhyw orchwylion ereill, cynhaliai Topsy wylmabsant perffaith o annhrefn am awr neu ddwy. Yn lle cyweirio'r gwely, hi a ymddifyrai yn tynu ymaith orchudd y gobenydd, ac yn rhedeg ei phen gwlanog i ganol y boledau, hyd oni byddai weithiau yn llawn plu, ac yn edrych fel rhyw greadur gwyllt; dringai byst y gwely, a hongiai â'i phen i lawr; lluchiai'r cynfasau a'r cwrledi i bob congl i'r ystafell; gwisgai'r gobenydd yn nillad nos Miss Ophelia, a gwnai bob campwaith mwy dirieidus na'i gilydd—canu, chwibanu, a gwneud wynebau arni ei hun yn y drych; yn fyr, megys y dywedai Miss Ophelia, byddai yn "codi Cain" yn gyffredin.

Unwaith, ar ol i Miss Ophelia adael ei hagoriad yn y dror—esgeulusiad na chlywsai neb sôn am dano ynddi hi o'r blaen—hi a ddaliodd Topsy yn chwareu ac yn min-gamu o flaen y drych, a'i shawl goch oreu o Canton crâp yn benwisg ganddi.

"Topsy," meddai, pan fyddai ei hamynedd wedi myned i'r pen, "beth sydd yn dy brocio di i wneud fel hyn?"

"Wn i ddim, missis—debyg gen i am mod i mor ddrwg!"

"Nis gwn i yn y byd beth i'w wneud i ti, Topsy."

"Dyn anwyl! missis, rhaid i chi chwipio i; fydda fy hen fissis yn chwipio i bob amser. Fedra i ddim gweithio os na cha i'n whipio."

"Nid oes arnaf fi ddim eisieu dy whipio di, Topsy. Ti elli wneud yn burion, ond i ti geisio; pa'm na wnei di?"

"Dyn anwyl! missis, yr ydw i'n arfer cael fy chwipio; debyg gen i fod hyny'n lles i mi."

Cymerodd Miss Ophelia hi ar ei gair; a gwnaeth Topsy dwrf echrydus, yn 'sgrechian,

gruddfan, a deisyfu; er, yn mhen yr haner awr, pan ar y glwyd yn rhyw gongl o'r verandah, a thŵr o "rai bychin" o'i chwmpas, y gwnai wawd o'r cyfan oll.

"Twt! chwip Miss Pheeli!—'nai hi ddim lladd 'skeeto—ei holl chwipio hi. Hi ddylai wel'd ff'hen fistir yn tori'r croen; wydda fo sut!"

Byddai Topsy yn gwneud ymffrost mawr o'i phechodau a'i drygioni, gan eu hystyried yn ddiau yn rhyw bethau pur nodedig.

"Dowch yma, niggars," meddai hi wrth ei gwrandawyr, "wyddoch chi bod ehi gyd yn bechadnriad? Wel 'rydach chi, mae pawb. Mae pobl wnion yn bechaduriad hefyd—mi ddeudodd Miss Pheeli, ond debyg gen i mai niggars ydi'r rhai mwya; ond, gwarchod ni, 'does neb o honoch chi yn debyg i mi. Yr ydw i mor ofnadw o ddrwg na fedr neb neud dim o hona i. Fyddwn i'n cadw ff'hen fistress i regu haner 'i hamser. Debyg gen i mai fi ydi'r creadur gwaetha yn y byd;" a hi daflai ei sodlau dros ei phen, ac a ddisgynai ar ryw gangen uwch, gan feddwl yn ddiau ei bod yn rhywun fawr.

Ar y Suliau byddai Miss Ophelia yn brysur iawn yn dysgu'r Catecism i Topsy. Yr oedd ganddi gôf rhagorol, a dysgai yn rhigil, fel ag i galonogi Miss Ophelia yn rhyfeddol.

"Pwy les ydych yn disgwyl iddo wneud iddi?" ebe St. Clare.

"Mi wnaeth les i blant bob amser. Mae pob plant yn ei ddysgu, wyddoch," ebe Miss Ophelia.

"Ei ddeall neu beidio?" ebe St. Clare.

"O, nid yw plant byth yn ei ddeall ar y pryd; ond fe ddaw iddynt ar ol tyfu i fyny."

"Ni ddaeth f'un i ddim eto," ebe St. Clare, "er y gallaf ddweyd i chwi ei guro i'm pen yn bur drwyadl pan oeddwn yn fachgen."

"Ah! un da am ddysgu oeddych chwi, Augustine. Yr oedd gen i feddwl mawr am danoch chwi y pryd hwnw," ebe Miss Ophelia.

"Wel, onid oes genych yn awr?" ebe St. Clare.

"Mi fyddai yn dda genyf pe baech cystal a phan oeddych yn fachgen, Augustine."

"Mi fyddai yn dda genyf finau, dyna'r gwir, nghyfnither," ebe St. Clare. "Wel, ewch yn mlaen i gateceisio Topsy; pwy ŵyr na wnewch rywbeth o honi eto."

Yr oedd Topsy yn sefyll trwy'r ymddiddan yma fel delw gorfiedig, â'i dwy law yn mhleth o'i blaen. Ar ol arwydd gan Miss Ophelia, hi a aeth rhagddi—"Ein rhieni cyntaf, wedi eu gadael â'u hewyllys yn rhydd, a syrthiasant o'r stât y crëwyd hwynt ynddi."

Edrychodd Topsy fel pe buasai am ofyn rhyw beth.

"Beth sydd Topsy?" ebe Miss Ophelia.

"Gyd â'ch cenad, ma'm, ai Kentucky oedd y stât hono?"

"Pwy stât, Topsy?"

"Y stât hono daru nhw syrthio lawr o honi hi. Fydda ff'hen fistir yn deud i ni ddwad i lawr o Kentucky."

Chwarddodd St Clare.

"Rhaid i chwi ro'i ystyr i'r geiriau, onidè fe rydd hi," eb efe. "Ymddengys fod yna gyfundraeth o wlad-fudiad yn dyfod i'r golwg."

"O Augustine, byddwch lonydd," ebe Miss Ophelia; "sut y gallaf wneud unpeth os byddwch chwi yn dal i chwerthin?"

"Wel, ar fy ngair, ni thoraf ar yr holiad yn rhagor;" a chymerodd ei bapyr i'r parlwr, ac eisteddodd tra bu Topsy yn ateb ei chwestiynau. Aeth trwyddynt yn bur dda, oddieithr ambell waith y tröai eiriau ar draws eu gilydd, y naill i le'r llall, a daliai at y cam-gymeriad er pob ymdrech i'w gosod yn iawn; a chymerodd St. Clare lawer o bleser yn y cam-osodiadau hyn, er maint yr addawsai fod yn llonydd, gan alw Topsy ato, a pheri iddi eu hadrodd drosodd drachefn, heb hidio mo achwyniadau Miss Ophelia.

"Sut yr ydych yn meddwl y gallaf wneud dim o'r plentyn, tra b'och chwi yn myn'd yn mlaen fel yna, Augustine?" meddai.

"Wel, y mae'n rhy ddrwg, ni wnaf fi ddim yn rhagor; ond y mae'n bleser clywed y ddelw ddigrif yn stymblo dros y geiriau mawrion yna!"

"Dyna fel yr ydych chwi yn ei chefnogi mewn drwg."

"Beth ydi'r gwahaniaeth? Mae'r naill air cystal a'r llall iddi hi."

"Mae arnoch eisieu i mi ei dwyn i fyny yn iawn; a chwi ddylech gofio ei bod yn greadur rhesymol, a gofalu pa ddylanwad sydd genych drosti."

"O gwarchod ni, dylwn; ond fel y dywed Topsy ei hun, 'Yr ydw i mor ddrwg!'"

Rywbeth yn debyg i hyn y dygwyd Topsy i fyny am flwyddyn neu ddwy. Miss Ophelia yn y boen gyda hi, y naill ddydd ar ol y llall, fel math o glefyd yn ei hesgyrn, nes o'r diwedd y cynefinodd, fel mae pobl yn cynefino â'r ddannodd neu gur yn y pen.

Cymerodd St. Clare yr un fath ddifyrwch yn y plentyn ag a gymer pobl mewn aderyn neu gi. A chymerai Topsy noddfa tu ol i'w gadair, pa bryd bynag y dygid hi i berygl gan ei phechodau mewn lleoedd ereill; a gwnai St. Clare heddwch drosti mewn rhyw ffordd neu gilydd. Rhoddai iddi aml i chwe-cheiniog, a phrynai hithau gnau neu siwgr candi, y rhai a ranai yn hael iawn rhwng holl blant y tŷ; o herwydd, chwareu teg i Topsy, yr oedd yn ddigon da ei natur a charedig, a dialgar yn unig mewn hunanamddiffyniad. Dyma hi yn deg yn mysg ein chwareuwyr, a daw yn ei thro i chwareu ei rhan fel y lleill.

## PENNOD XXI.

### KENTUCKY.

Efallai na bydd ein darllenwyr yn anfoddlon i daflu golwg yn ol, dros ychydig amser, at Gaban F'Ewythr Twm, ar y ffarm yn Kentucky, ac edrych sut y bu gyd â'r sawl a adawodd ar ol.

Yr oedd yn hwyr brydnawn-dydd hâf, a drysau a ffenestri'r parlwr mawr i gyd yn agored, i groesawu'r awel leiaf a geid mewn tymher dda i ddyfod i mewn. Eisteddai Mr. Shelby mewn neuadd fawr agored oedd yn rhedeg ar hyd y tŷ, i uwch-rodfa yn y pen arall. A'i gadair yn gorwedd yn ol ar dipyn o osgo, ac â'i sodlau ar gefn cadair arall, yr oedd yn ysmocio ei segar ar ol ciniaw. Eisteddai Mrs. Shelby wrth y drws, yn brysur gyda rhyw fân wnïadwaith; ac ymddangosai fel un â rhyw beth ar ei meddwl ag y chwenychai gael cyfle i'w ddweyd.

"A wyddoch chwi fod Cloe wedi cael llythyr oddiwrth Twm?" ebe hi.

"Ah! gafodd hi? Mae'n ymddangos fod gan Twm ryw ffrind yno. Sut mae'r hen fachgen?"

"Allwn i feddwl ei fod wedi ei brynu gan deulu pur barchus," ebe Mrs. Shelby, "maent yn bur dda wrtho, ac nid oes ganddo ddim llawer i'w wneud."

"Ah, wel, mae'n dda gen i glywed—yn dda iawn," ebe Mr. Shelby, yn llawen. "Debyg gen i gwneiff Twm foddloni i fyw yn y dehau —digon prin y mae arno chwant dyfod yn ol yma."

"Yn y gwrthwyneb," ebe Mrs. Shelby, "y mae yn holi'n arw pa bryd y daw yr arian i'w brynu."

"Yn wir, nis gwn i ddim," ebe Mr. Shelby. "Unwaith yr elo pethau i ddyryswch, nid oes dim tebyg i ben arno. Mae yr un fath a neidio o dwlc i dwlc mewn siglen; benthyca gan y naill i dalu i'r llall, ac yna benthyca gan un arall i dalu i hwnw—a'r biliau cebyst yma yn syrthio yn ddyledus cyn y geill dyn smocio segar a throi o gwmpas—llythyrau yn gofyn am arian, negeswyr yn gofyn am arian—hwi-hairhed o'r bore gwŷn dan nos."

"Mae'n ymddangos i mi, Mr. Shelby, y gallem ni wneud rhywbeth i wastatâu pethau. Beth pe baem ni yn gwerthu'r holl geffylau, ac yn gwerthu un o'r ffermydd, a chlirio'r cwbl."

"O, nonsens, Emily! Chwi ydi'r ddynes glyfra yn Kentucky; eto nid oes genych ddim digon o synwyr i wybod na wyddoch ddim yn y byd am fusnes; ni ŵyr merched ddim—ac ni fedran' nhw byth wybod."

"O leiaf," ebe Mrs. Shelby, "chwi fedrech adael i mi weled sut yr ydych yn sefyll—faint o ddyled, a faint sy'n ddyledus—a gadael i minau wneud fy ngoreu i'ch helpio i gynilo."

"O, lol wirion, peidiwch â mhoeni fi, Emily —fedraf fi ddim dweyd i'r ddimai. Mi wn ryw fras amcan; ond ni fedrech chwi ddim trimio a sgwario fy amgylchiadau i fel ag y mae Modryb Cloe yn trimio crystyn paste. Ni wyddoch chwi ddim yn y byd am fusnes, 'rydw i'n deyd i chwi."

A chododd Mr. Shelby ei lais, gan na wyddai am un ffordd well i greu dylanwad; dull pur gyffeus ac argyhoeddiadol, pan fo dyn yn dadleu â'i wraig ar fater o fusnes.

Tawodd Mrs. Shelby â siarad gyda rhywbeth tebyg i ochenaid. Y gwir yw, er mai dynes oedd hi, fel y dywedodd ei gwr, eto yr oedd ganddi feddwl clir, gafaelgar, ac ymarferol, a nodweddiad ei chyneddfau yn rhagori llawer ar eiddo ei gwr; felly nid mor ffol, wedi'r cwbl, fuasai gadael ei bod yn alluog i drefnu pethau. Yr oedd wedi gosod ei chalon ar gyflawni ei haddewid i Twm a Modryb Cloe, ac ocheneidiodd fel yr oedd anhawsderau yn amlhau o'i chwmpas.

"Ydych chwi ddim yn meddwl y gallem ryw fodd godi hyny o arian? Druan o Modryb Cloe! mae wedi gosod ei chalon ar hyny!"

"Mae'n ddrwg genyf, os ydyw. Yr oeddwn braidd yn ddifeddwl wrth addaw. Ac nid wyf fi ddim yn sicr, nad y ffordd oreu fyddai dweyd wrth Cloe, a gadael iddi wneud ei meddwl i fyny. Fydd gan Twm wraig arall yn mhen blwyddyn neu ddwy, a gwell iddi hithau fyn'd a byw gyda rhyw un."

"Mr. Shelby, mi ddysgais ein pobl ni fod eu priodasau mor gysegredig a'n priodas ninau. Ni fynwn i ddim a welais erioed am gynghori Modryb Cloe i wneud y fath beth."

"Wel, mae'n drueni garw i chwi eu beichio â moesoldeb goruwch eu sefyllfa a'u disgwyliadau. Dyna marn i bob amser."

"Nid ydyw ddim ond moesoldeb y Bibl, Mr. Shelby."

"Wel, wel, Emily, nid âf fi ddim i ymyraeth â'ch golygiadau crefyddol chwi; ond y maent yn hynod o anghymwys i bobl yn y cyflwr yna."

"Y maent yn wir," ebe Mrs. Shelby, "a thyna pa'm yr ydwyf fi yn casâu'r holl drefn o waelod fy nghalon. Mi ddywedaf i chwi, fy anwylyd, ni fedraf fi ddim rhyddhau fy hun o'r addewid a wneis i'r creaduriaid digymhorth yma. Os na fedraf godi'r arian un ffordd arall, mi gymeraf ysgolheigion i ddysgu miwsig; mi allwn gael digon, mi wn, ac ennill yr arian fy hunan."

"Ni wnaech ddim iselu eich hunan y ffordd yna, Emily! Ni fedrwn i byth gydsynio."

"Iselu! a fyddai yn gymaint iselhâd a thori fy ngair i'r amddifad? Na fyddai, yn wir!"

"Wel, yr ydych bob amser yn wraig arwraidd a hedegog eich meddyliau," ebe Mr. Shel-

by; "ond yr wyf fi o'r farn y byddai well i chwi feddwl cyn anturio ar y fath Quixotiaeth a 'nyna."

Yma torwyd ar yr ymddiddan gan ymddangosiad Modryb Cloe wrth ben y verandah.

"Os gwelwch fod yn dda, missis," ebe hi.

"Wel, Cloe, beth sydd?" eb ei meistres, gan godi i'w chyfarfod.

"Pedai missis yn dwad ac yn edrych ar lot o boetri sy fan yma."

Byddai Cloe yn hoff iawn o alw powltri yn boetri, cymhwysiad o iaith ag y daliai ati, er mor aml y dysgasid hi yn amgen gan y rhan ieuangaf o'r teulu.

"Dyn a 'styrio!" meddai, "fedra' i ddim gwel'd,—naill cystal a'r llall,—poetri rhwbeth sydd dda sut bynag;" ac felly poetri y parhaodd Cloe i'w galw.

Gwenodd Mrs. Shelby pan ganfu'r tŵr cywion a chwiaid, uwch ben pa rai y safai Cloe â gwynebpryd sobr ac ystyriol.

"Meddwl yr oeddwn i p'run a fŷnai missis baste cywion ai peidio, o'r rhai yma."

"Nid yw ddim gwahaniaeth yn y byd gen i, Modryb Cloe; parotoa hwynt ffordd fŷnot ti."

Daliodd Cloe i'w troi drosodd yn sŷn-fyfyrgar; ond yr oedd yn ddigon amlwg mai nid am y cywion yr oedd hi'n meddwl. O'r diwedd, gyd â'r chwerthiniad bŷr ag y bydd ei phobl yn dwyn yn mlaen gynygiad amheus, hi a ddywedodd,—

"Dear mi, missis! pa'm raid i mas'r a missis drwblo eu hunain am yr arian, heb neud defnydd o'r peth sydd ganddynt yn eu dwylo?" ac fe chwarddodd Cloe drachefn.

"Nid wyf fi ddim yn dy ddeall Cloe," ebe Mrs. Shelby, heb ameu dim, o herwydd dull Cloe, nad oedd wedi clywed pob gair fu rhyngddi hi a'i gwr ynghylch Twm.

"Dear mi, missis," ebe Cloe, gan chwerthin drachefn, "mae pobl ereill yn cyflogi eu niggers allan, ac yn gwneud arian o honyn nhw. 'Does dim eisio cadw cynifer i fyta'r tŷ a'r cwbl."

"Wel, Cloe, pwy wyt ti'n gynghori i mi gyflogi allan!"

"Dear mi, 'dydw i ddim yn cynghori dim byd; ond Sam oedd yn deyd fod un o'r *perfectioners* yma, fel y gelwir nhw, yn Louisville, yn deyd fod arno eisio llaw dda i neud teisena a phasteiod, ac y rhoi fo bedwar dolar yn 'rwythnos, mi wnai."

"Wel, Cloe?"

"Wel, 'roeddwn i'n meddwl, missis, fod yn bryd i Sali ddechreu gneud rhyw beth drosti ei hun. Mae Sali wedi bod dan 'ngofal i 'rwan er's cryn dipyn o amser, ac y mae'n gneud bron gystal a mina, a chynsidro; ac os gwnai missis ond gadel i mi fynd, mi helpwn i neud yr arian i fyny. Nid oes arna i ddim ofn rhoi nheisena, na mhasteiod 'chwaith, wrth ochor rhai un *perfectioner*."

"Confectioner, Cloe."

"Dear mi, missis, pwy ods; mae geiria mor giwriws, fedra i byth eu deyd nhw'n iawn."

"Ond gwrando, Cloe, oes arnat ti eisieu gadael dy blant?"

"Dear mi, missis, mae'r bechgyn yn ddigon eu maint i neud diwrnod o waith; mi ddon' drywddi hi'n burion; a dyna Sali, gymer hi'r fechan—mae hi mor sharp, 'does dim fawr o eisio edrych ar ei hol hi."

"Mae Louisville yn mhell iawn."

"Dear mi, 'does arna i mo'r ofn! Mae lawr yr afon, rywle'n agos i f'hen wr i, f'allai?" ebe Cloe, mewn llais holiad, gan edrych ar Mrs. Shelby.

"Nac ydyw, Cloe; mae amryw gannoedd o filldiroedd oddi wrtho," ebe Mrs. Shelby.

Syrthiodd gwynebpryd Cloe.

"Na hidia; byddi yn nês ato yno, Cloe. Ti gai fyned; a chaiff pob dimai o dy gyflog eu cadw i brynu dy wr."

Fel ag y bydd pelydr haul yn arianu cwmwl tywyll, felly goleuodd gwyneb tywyll Cloe—yn wir efe a ddisgleiriodd.

"O, onid yw missis yn rhy dda! Yr oeddwn i dest yn meddwl am 'nyna; o herwydd fydd arna i eisio dim dillad, dim 'sgidia, dim yn y byd. Mi alla safio bob dima'. Sawl wythnos sy mewn blwyddyn, missis?"

"Deuddeg-a-deugain," ebe Mrs. Shelby.

"Dear mi, y mae! a phedair dolar am bob un o honyn' nhw. Faint fydd hyny?"

"Dau gant ac wyth dolar." ebe Mrs. Shelby.

"Hai-he!" ebe Cloe, mewn syndod a phleser; "a pha hyd raid i mi aros cyn cael digon, missis?"

"Rhyw bedair neu bum' mlynedd, Cloe; ond ni raid i ti ddim gwneud y cwbl, mi wnaf finau rywfaint tu ag ato."

"Ni fedra i ddim diodde gwrando i missis roi gwersi na dim yn y byd. Mae mas'r yn ei le am hyny; 'nai o mo'r tro sut yn y byd. Gobeithio na ddaw 'run o'n teulu ni byth mor isel a hyny, tra byddo gen i ddwylo."

"Paid â thrafferthu, Cloe, mi gymeraf fi ofal am anrhydedd y teulu," ebe Mrs. Shelby, gan wenu. "Pa bryd yr wyt ti yn meddwl am gychwyn?"

"Wel, nid oeddwn i'n meddwl dim; ond y mae Sam yn myn'd at yr afon hefo rhyw ebolion, ac mi ddeudodd y gallwn fyn'd gyda fo; felly mi ro'f fy mhetha 'nghyd. Os ydi missis yn fodlon, mi âf gyda Sam bore fory, os gwneiff missis 'sgyrfenu pass, a 'sgyrfenu caritor."

"Wel, Cloe, mi ofalaf fi am hyny, os na bydd gan Mr. Shelby wrthwynebiad. Rhaid i mi siarad âg ef."

Aeth Mrs. Shelby i fyny'r grisiau, ac aeth

Modryb Cloe, wrth fodd ei chalon, allan i'w chaban i wneud darpariadau.

"Dear mi, mas'r George! wyddech chi ddim mod i'n myn'd i Louisville yfory!" ebe hi wrth George, pan ddaeth i mewn, ac y cafodd hi'n brysur gyda dillad y babi. "Mi feddylis y gwnawn edrych dros betha Sis, a'u rhoi mewn tipyn o drefn. Ond yr ydw i'n myn'd, mas'r George—yn myn'd i gael pedwar dolar yn yr wythnos, ac y mae missis yn myn'd i ro'ir cwbl o'r neilltu, i brynu f'hen wr i yn ei ol eto!"

"Whiw!" ebe George, "dyma fusnes, ynte! Pa fodd yr éi di?"

"'Fory, hefo Sam. A 'rwan, mas'r George, mi wn y gwnewch eiste' i lawr a 'sgyrfenu at f'hen wr i, a deyd y cwbwl wrtho—oni newch chi?"

"Gwnaf siwr," ebe George, "fydd dda gan galon F'Ewythr Twm gael clywed oddi wrthon ni. Mi âf i'r tŷ, i nol papyr ac inc; ac wedi'n, wyddoch, Modryb Cloe, mi fedraf ddeyd y cwbl ynghylch yr ebolion a phob peth."

"Gwir iawn, gwir iawn, mas'r George; ffwrdd â chwi; ac mi gweiaf damaid o giw, neu rwbeth; ni chewch chi ddim llawer rhagor o swperau gyd â'ch hen fodryb dlawd."

## PENNOD XXII.

### "GWYWA'R GWELLTYN—SYRTH Y BLODEUYN."

Mae bywyd yn myn'd heibio gyda ni oll, yn ddiwrnod ar y tro; ac felly'r aeth gyda'n ffrind Twm, nes i ddwy flynedd fyned dros ei ben. Er ei ysgaru oddiwrth bob peth anwyl gan ei enaid, ac er ei fod yn aml yn hiraethu am yr hyn oedd allan o'i gyrhaedd, eto nid oedd yn berffaith anhapus; o herwydd y mae tanau'r delyn ddynol wedi eu cyweirio mor gelfydd, fel nad oes dim ond ergyd a dŷr bob tant o honi, a fedr ei llwyr ymddifadu o fiwsig. Ac wrth daflu golwg yn ol ar dymhorau a edrychant fel amser amddifadrwydd a chroesau, gallwn gofio pob awr yn ei threigliad amrywiol, a theimlo nad oeddym yn hollol annedwydd, er nad yn gwbl hapus.

Darllenodd Twm, yn ei unig gasgliad llênyddol, am un a ddysgodd, "yn mha gyflwr bynag y byddai, fod yn foddlon iddo." Ac ymddangosai hyn iddo yn athrawiaeth dda a rhesymol, ac yn hollol gydweddol â'r dymher fyfyrgar a ennillasai trwy ddarllen y llyfr hwnw.

Atebwyd y llythyr a anfonasai adref (fel y dywedasom newn pennod flaenorol) yn brydlawn, gan George, mewn llaw dda, gron, fel bachgen ysgol, a gellid ei ddarllen "bron ar draws yr ystafell,' fel y dywedai Twm. Cynwysai amryw bigion detholedig o hanesion cartref, â pha rai y mae'r darllenydd yn ddigon adnabyddus; dywedai fel yr oedd Modryb Cloe wedi ei chyflogi i ryw gonfectioner yn Louisville, lle'r oedd ei scil a'i medr mewn pobyddiaeth yn ennill symau rhyfeddol o arian, a'r cwbl i gael eu gosod o'r neilldu i wneud i fyny bris ei bryniad; yr oedd Mose a Pete yn dyfod yn mlaen, a'r babi yn rhedeg o gwmpas y tŷ, dan ofal Sali, a'r teulu'n gyffredinol.

Yr oedd caban Twm yn awr yn gauad; ond dywedodd George gryn lawer am yr addurniadau a wneid ynddo pan ddeuai Twm yn ol.

Yn y rhan arall o'r llythyr, ceid hanes astudiaeth George yn yr ysgol, a llythyren fawr droellog yn dechreu pob gwers; dywedodd hefyd beth oedd enwau pedwar o ebolion newyddion a ychwanegasid at y sefydliad er pan aethai Twm i ffordd; ac, yn yr un cyswllt, fod ei dad a'i fam yn iach. Yr oedd dullwedd y llythyr yn fyr ac at y pwrpas; ond barnai Twm ef y cyfansoddiad mwyaf godidog a ymddangosodd yn yr oesau diweddaraf hyn. Ni flinai byth yn edrych arno, a bu ef ac Eva yn ymgynghori am y priodoldeb o'i osod mewn ffrâm, a'i hongian yn ei ystafell. Ac nid oedd dim a safai ar ffordd hyn, ond yr anhawsder o weled dau du'r ddalen ar un olwg.

Tyfodd yr anwyldeb rhwng Twm ac Eva gyda thyfiad y fechan. Ac y mae yn anhawdd dweyd pa le oedd ei chartref yn nghalon feddal, deimladwy a serchlon ei ffyddlon was. Carai hi fel rhyw beth brau daearol, a braidd nad addolai hi fel rhyw beth ysbrydol a nefol. Syllai arni, fel ag y mae'r llongwr Italaidd yn syllu ar ddelw'r plentyn Iesu—gyda chymysgedd o serch ac addoliad; a phleser penaf Twm oedd difyru ei dymuniadau diniwed, a darparu y cant a mil o bleserau bychain sydd fel yr enfys amryliw yn amgylchu bore oes y plentyn. Yn y farchnad, ben bore, byddai ei lygad ar feinciau y blodau, i bigo allan bwysi hardd iddi, a llithrai yn naturiol i'w boced y *peach* neu yr *orange* prydferthaf a fedrai arian brynu, i'w roddi iddi ar ei ddychweliad; a'r hyn oedd ei bleser penaf, fyddai gweled ei phen heulog wrth y porth, yn yspïo am dano, a'i chlywed yn gwaeddi oddi yma draw, "Wel, F'ewthr Twm, beth sy gen' ti i mi heddyw?"

Ac nid oedd Eva yn llai ei gofal i dalu yr echwyn adref. Er nad oedd ond plentyn, eto darllenai yn rhagorol; clust yn dirnad pereiddsain, drychfeddyliau bywiog barddonol, a theimlad naturiol o'r hyn sydd ardderchog a mawreddus, a'u gwnaent hi y fath ddarllenwraig o'r Bibl, na chlywsai Twm erioed mo'i bath. Ar y cyntaf, darllenai i foddio ei ffrind tlawd; ond yn fuan ymestynodd cangau ei natur ddifrifol ei hun o amgylch y llyfr bendigaid, ac yr oedd Eva yn ei hoffi, am ei fod yn codi hiraeth yn ei meddwl ac yn cynhyrfu teimladau cryfion a thanbaid sydd yn swynol a deniadol i blant meddylgar a bywiog.

Y rhanau mwyaf hoff ganddi oedd y Datguddiad a'r Prophwydoliaethau—iaith ffigyrol a rhyfeddol pa rai a argreffid yn ddyfnach ar ei meddwl, trwy ei bod yn methu deall eu hystyr yn berffaith; ac yr oedd hi a'i ffrind druan, yr hen blentyn a'r plentyn ieuanc, yn teimlo bron yr un fath ar y mater. Y cwbl a wyddent oedd, eu bod yn dweyd am ogoniant i'w ddatguddio—rhyw beth rhyfeddol eto i ddyfod, yn mha un y gorfoleddai eu henaid, er na wyddent yn iawn paham; ac er nad yw felly yn mhethau'r byd hwn, eto mewn pethau ysbrydol nid hollol ddiles mo'r hyn nas gellir ei ddirnad. Mae'r enaid yn deffro, yn estron crynedig rhwng dau dragywyddoldeb cymylog—y tragywyddoldeb o'r tu ol, a'r tragywyddoldeb o'i flaen. Nid yw'r goleuni yn llewyrchu ond ar ryw loeryn o'i gwmpas; o ganlyniad rhaid fod ynddo ymestyn at yr anweledig, y mae y lleisiau a glyw a'r cysgodau a ymrithiant iddo allan o golofn niwl y datguddiad, yn adsain ac yn adlewyrchu yn ei natur hiraethlawn ei hun. Yn ffurf-luniau ysbrydol y Bibl, mae'r enaid gobeithiol yn cael perlau a gemau, ar ba rai y mae ysgrifau a theitlau na fedr eu darllen; ond ceidw hwynt yn ofalus yn ei fynwes, mewn hyder y gall eu darllen yn rhwydd y tu draw i'r llèn.

Ar y tymhor yma yn ystod ein hanes, mae holl sefydliad St. Clare, am dro, wedi symud i'r palasdŷ ar lŷn Pontchartrain. Yr oedd gwres yr hâf wedi gyru pawb a allent fyned o'r ddinas gyfyng, afiachus, i chwilio am awelon adfywiol ar gyffiniau'r môr.

Yr oedd hâfdŷ St. Clare wedi ei adeiladu yn null yr India Ddwyreiniol, a'i amgylchu â verandahs ysgafn o waith bamboo, ac yn agor ar bob ochr i erddi a rhodfeydd. Edrychai y prifbarlwr ar ardd fawr, lawn o bob pêr-lysiau gwledydd poethion, a rhodfeydd a llwybrau troellog yn dirwyn i lawr at làn y llyn, tonau arianaidd yr hwn a welid yn codi ac yn gostwng yn mhelydrau'r haul—darlun harddwych na byddai byth am awr yr un fath, eto bob awr yn rhagori mewn gorwychedd.

Mae yn awr yn fachludiad haul gogoneddus, pryd y mae'r holl nefoedd yn fflam o ogoniant, ac yn troi'r dwfr yn awyr arall. Gorweddai'r llyn a'i holl wyneb yn belydrau rhosynaidd neu euraidd, oddieithr lle gwibiai'r llestri yma a thraw, â'u hedyn claer wynion fel cynifer o ysbrydion glân, ac ambell seren siriol yn gwreichioni trwy'r gwyll, ac yn edrych arni ei hun fel glöyn yn y dwfr.

Yr oedd Twm ac Eva yn eistedd ar fainc fwsyglyd, mewn cysgodfa yn ngwaelod yr ardd. Nos Sul ydoedd, a Bibl Eva yn agored ar ei glin. Hi a ddarllenodd, "Ac mi a welais fôr o wydr, wedi ei gymysgu â thân."

"Twm," eb Eva, gan sefyll yn sydyn, a chyfeirio at y llyn, "dyna fe."

"Beth, Miss Eva?"

"Oni weli di—fan yna?" ebe'r plentyn, gan bwyntio at y dwfr grisialaidd, yr hwn fel yr oedd yn codi ac yn gostwng, a adlewyrchai eurliw'r awyr. "Dyna 'fôr o wydr, wedi ei gymysgu â thân.'"

"Digon gwir, Miss Eva," ebe Twm; ac fe ganodd Twm—

"O, am adenydd têg y wawr,
I hedeg draw i'r Ganaan ddedwydd;
Angylion fyrdd o'r nen i'r llawr,
I'm cludo i'r Gaersalem Newydd."

"Yn mh'le 'rwyt ti'n meddwl fod y Gaersalem Newydd, F'ewythr Twm?" eb Eva.

"O, i fyny yn y cymylau, Miss Eva."

"Allwn i feddwl mod yn ei gweled," eb Eva. "Edrych yn y cymylau acw! maent fel pyrth mawr o berlau; ac mi elli weled heibio iddynt, yn mhell bell draw,—mae'n aur i gyd. Twm, cana, am yr 'ysbrydion pur!'"

Fe ganodd Twm hen hymn y Methodistiaid,

"Mi welaf fyrdd o 'sprydion pur,
O gylch yr orsedd draw;
Pob un mewn gwisgoedd gwynion clir,
A phalmwydd yn eu llaw."

"Mi gwelais i *hwynt*, F'ewythr Twm," eb Eva.

Nid oedd gan Twm un amheuaeth; ac ni ryfeddodd yn y mesur lleiaf. Pe dywedasai Eva iddi fod yn y nefoedd, barnasai Twm hyny yn beth pur debygol.

"Mae'r ysbrydion hyny yn dyfod ataf fi weithiau yn fy nghwsg;" trodd llygaid Eva yn freuddwydiol, a hymiodd ganu, mewn tôn isel,

"Pob un mewn gwisgoedd gwynion clir,
A phalmwydd yn eu llaw."

"F'ewythr Twm," eb Eva, "yr wyf fi yn myn'd yno."

"Myn'd i b'le, Miss Eva?"

Safodd y plentyn, a chyfeiriodd ei llaw fechan i fyny i'r awyr; taflodd adlewyrchiad yr haul fath o belydrau nefol o amgylch ei phen euraidd a'i bochau gwridog, ac yr oedd ei llygaid yn tremio tu ag i fyny.

"Yr wyf yn myned *acw*," ebe hi; "at yr ysbrydion pur, Twm! *Yr wyf yn myned, cyn hir!*"

Ergydiodd saeth trwy yr hen galon ffyddlon; a meddyliodd Twm pa sawl gwaith y gwelsai, o fewn y chwe' mis, fod dwylaw bychain Eva yn teneuo, ei chroen yn fwy disglaer, a'i hanadl yn fyrach; ac fel y blinai yn fuan wrth chware yn yr ardd, pryd gynt y gallai chware am oriau. Clywsai Miss Ophelia yn aml yn dweyd am y peswch, nas gallai ei holl gyffyriau ei symud; ac yn awr, yr oedd ei boch wridog a'i llaw fechan yn berwi o wres annaturiol; eto ni feddyliodd erioed hyd y mynyd hwn am yr hyn a ddywedasai Miss Eva.

A fu erioed blentyn fel Eva? Do fe fu; ond y mae eu henwau bob amser ar gerig beddi, ac y mae eu gwenau anwyl, eu llygaid nefolaidd, a'u geiriau a'u troion rhyfeddol, yn mysg trys-

orau cuddiedig calonau llawn o hiraeth. Yn mha sawl teulu y ceir yr hanes, nad yw holl ragoriaethau'r byw yn ddim wrth rinweddau'r un sydd *sydd wedi myn'd!* Ymddengys fod gan y Nef ei gosgorddlu pennodol o angylion, neges pa rai yw tario yma dros dymhor, i enill calonau crwydredig, fel y gallont eu tynu fry yn eu hediad tua chartref. Pan weloch y goleuni ysbrydol dwfn yn y llygad—pan fyddo'r enaid bychan yn arfer geiriau melysach a doethach na geiriau plant yn gyffredin—peidiwch â disgwyl cadw'r plentyn hwnw; mae sêl y Nefoedd arno, a goleuni anfarwoldeb yn tywynu o'i lygaid.

Felly tithau, Eva anwyl! seren ddisglaer dy drigfod! Yr wyt yn myned heibio; ond ychydig a ŵyr y rhai a'th garant fwyaf.

Torwyd ar yr ymddiddan rhwng Twm ac Eva, gan alwad prysur Miss Ophelia—

"Eva—Eva!—mae'n gwlitho; rhaid i chwi beidio aros allan fan yna!"

Brysiodd Eva a Thwm i mewn. Yr oedd Miss Ophelia yn hen ac yn fedrus yn y gwaith o wylio'r claf. Yr oedd o New England, ac adwaenai yn dda ôl troed lladradaidd y clefyd distaw ac araf sydd yn ysgubo ymaith gynifer o'i blodau tecaf a phrydferthaf, ac yn gosod sêl ddigyfnewid angau arnynt cyn i flodeuyn bywyd ond prin ddechreu agor.

Yr oedd wedi sylwi ar y cnec o beswch bach sych, a'r gwrid ar y foch bob prydnawn; ac nis gallai gloywder y llygad, a phoethyn awyrol y clefyd ddianc rhag ei llygad craff.

Ceisiodd egluro ei hofnau i St. Clare; ond ni fynai hwnw wrando ar ddim darogan, mewn tymher bur wahanol i'w ddull cyffredin.

"Peidiwch â darogan drwg, fy nghares—y mae'n gas genyf ei glywed," meddai; "chwi welwch nad yw'r plentyn ddim ond tyfu. Mae plant bob amser yn wânach wrth dyfu'n fuan."

"Ond y peswch yna!"

"O, nonsens, peswch yn wir. Nid ydyw ddim yn y byd. Mae wedi cael tipyn o anwyd, efallai."

"Wel, dyna fel y dechreuodd Eliza Jane, ac Elen, a Maria Sanders."

"O peidiwch âg adrodd straion hyll hen wragedd! Yr ydych chwi, yr hen ddwylaw, yn tyfu mor ddoeth na fedr plentyn ddim pesychu neu disian, nad ydych yn gweled anobaith ac angau yn eich ymyl. Cymerwch ofal at y plentyn, a chadwch hi rhag bod allan yn hwyr, a pheidiwch â gadael iddi chwareu gormod, ac ni bydd dim harm arni."

Felly dywedodd St. Clare; ond efe a aeth yn ofnus ac yn anesmwyth. Yr oedd yn gwylio Eva yn fanwl ddydd ar ol dydd, fel y gellid gweled yn amlwg yn ei waith yn dweyd yn aml, fod "y plentyn yn eithaf iach,"—nad oedd y peswch ddim yn y byd—dim ond rhyw beth fyddai plant yn arfer gael yn ddigon aml. Ond cadwai yn agos ati yn fwy nag erioed, âi â hi allan i farchogaeth yn amlach, a dygai adref bob dydd ryw gyffyriau i'w chryf han—"nid," meddai, "am fod ar y plentyn *angen* am dano, ond ni wna harm yn y byd iddi."

Rhaid addef mai'r hyn a darawodd yr ergyd dyfnaf i'w feddwl ydoedd heneidd-der cynyddol meddwl a theimlad y plentyn. Er nad oedd ond plentyn yn mhob peth arall, eto, ambell dro, hi a ddywedai ryw air mor ddwfn ei feddwl, ac mor bell goruwch doethineb daearol, fel yr ymddangosai braidd yn ysbrydoliaeth. Teimlai St. Clare iasau sydyn yn myned trwyddo ar y fath achlysuron, a gwasgai hi yn ei freichiau, fel pe buasai y gwasgiad caredig hwnw yn ddigon i'w chadw; a chodai ei galon i fyny i benderfyniad gorwyllt y mynai ei chadw, ac na chai neb ei dwyn oddi arno.

Ymddangosai fod holl galon ac enaid y plentyn wedi eu llyncu i fyny mewn gweithredoedd o gariad a thynerwch. Buasai bob amser yn garedig pan welai gyfleusdra, ond yr oedd yn awr o'i hamgylch rag-feddwl tyner gwraig, yr hwn a dynai sylw pawb o'i deutu. Yr oedd yn parhau yn hoff o chwareu gyda Thopsy a'r plant duon ereill; ond edrychai arnynt yn hytrach na chymeryd rhan yn eu campau, ac eisteddai dros haner awr ar y pryd, yn chwerthin am ben triciau digrif Topsy—yna deuai cwmwl dros ei hwynebpryd, llanwai ei llygaid o niwl, a chwyldrôai ei meddyliau yn mhell.

"Mamma," ebe hi, yn sydyn, wrth ei mam ryw ddiwrnod, "pa'm na ddysgem ni'n gweinidogion i ddarllen?"

"Y fath gwestiwn, blentyn! Ni fydd pobl byth yn gwneud."

"Pa'm na wnant?" eb Eva.

"Am nad yw o les yn y byd iddynt ddarllen. Ni fedrant ddim gweithio yn well, ac ni wnaed mo honynt i ddim yn y byd arall."

"Ond mi ddylent ddarllen y Bibl, mamma, a dysgu ewyllys Duw."

"Oh, mi allant gael darllen hyny iddynt, gymaint sydd arnynt *hwy* eisieu."

"Mae'n ymddangos i mi, mamma, fod y Bibl yn llyfr i bawb ddarllen drosto ei hun. Bydd arnynt ei eisieu yn aml pan na bydd ganddynt neb i'w ddarllen."

"Eva, yr ydych yn blentyn rhyfedd iawn,' ebe ei mam.

"Mae Miss Ophelia wedi dysgu i Topsy ddarllen," ebe Eva, drachefn.

"Ydyw, a chwi welwch faint o les y mae'n wneud iddi. Topsy ydyw'r greadures waethaf a welais erioed."

"Dyna Mammy druan," ebe Eva, "mae mor dda ganddi am ei Bibl, a byddai yn dda ganddi fedru ei ddarllen! A beth a wneiff hi pan na fedraf fi ei ddarllen iddi?"

Yr oedd Marie yn brysur yn troi drosodd gynwysiad rhyw ddrôr, pan atebodd, "Wel, wrth reswm, Eva, bob yn dipyn, fydd genych rywbeth arall i feddwl am dano, heblaw darllen y Bibl i'r gweinidogion o gwmpas. Nid am nad ydyw yn ddigon priodol; mi a'i gwneuthum fy hun pan oeddwn mewn iechyd. Ond pan ddeuwch i ymwisgo a myned allan i gwmpeini, ni bydd genych ddim amser. Dyma i chwi," ebe hi, "chwi gewch y tlysau hyn pan ddeuwch allan i gwmpeini. Mi gwisgais i hwynt yn fy nawns cyntaf; ac nid ychydig oedd y sôn am danaf."

Gafaelodd Eva yn y perl-gêd, a thynodd allan wddf-dorch o ddiamond. Syllodd arni â'i llygaid mawrion, ond yr oedd yn amlwg fod ei meddwl ar ryw beth arall.

"Blentyn," ebe Marie, "mor sobr yr ydych yn edrych!"

"A ydyw y rhai hyn yn werth llawer o arian, mamma?"

"Debyg gen i yn wir. Fe yrodd fy nhad i Ffrainc am danynt. Y maent yn werth cryn ffortiwn."

"F'asai yn dda gen i eu cael i wneud y peth a fŷnwn a hwynt!"

"Beth wnaech chwi â hwynt?"

"Mi a'u gwerthwn, ac a brynwn le yn y Talaethau rhyddion, ac mi a gymerwn ein pobl ni yno i gyd, ac a gyflogwn ysgolfeistr, i'w dysgu i ddarllen ac i ysgrifenu."

Chwarddodd y fam, a thorodd hyny ar chwedl Eva.

"Codi *boarding school!* Wnaech chwi ddim dysgu iddynt chwareu ar y piano a phaentio ar felfed?"

"Mi dysgwn nhw i ddarllen eu Bibl eu hunain, i ysgrifenu eu llythyrau eu hunain, ac i ddarllen llythyrau a 'sgrifenid atynt," ebe Eva, yn benderfynol. "Mi wn i, mamma, bod hi'n galed iawn arnynt, am na fedrant wneud y pethau hyn. Mae Twm yn teimlo, mae Mammy yn teimlo. Nid ydyw'r fath beth ddim yn iawn."

"Dewch, dewch, Eva; nid ydych chwi ddim ond plentyn. Ni wyddoch chwi ddim yn y byd am bethau fel hyn," ebe Marie. "Heblaw hyny, y mae eich siarad yn codi cur yn fy mhen i."

Yr oedd gan Marie gur yn ei phen wrth law bob amser pan ddigwyddai rhyw siarad nad oedd yn hollol wrth ei bodd. Aeth Eva allan; ond, ar ol hyny; gwelid hi yn ddiwyd yn dysgu Mammy i ddarllen.

## PENNOD XXIII.

### HENRIQUE.

Tu a'r amser yma daeth Alfred, brawd St. Clare, a'i fab hynaf, bachgen oddeutu deuddeg oed, i dreulio diwrnod neu ddau gyd â'r teulu wrth y llyn.

Nis gallai un olygfa fod yn fwy nodedig a harddwych na'r ddau frawd, y gefeilliaid. Yr oedd natur, yn lle eu gwneud yr un fath a'u gilydd, wedi eu gwneud yn wahanol yn mhob dim; ac eto yr oedd cadwyn ddirgelaidd yn eu huno mewn cyfeillgarwch mwy mynwesol nag arferol.

Arferent rodiana, fraich yn mraich, ar hyd lwybrau a rhodfeydd yr ardd—Augustine â'i lygaid gleision a'i wallt euraidd, ei ffurf-lun ysgafn, a'i brydwedd bywiog; ac Alfred, gyd â'i lygaid tywyll a'i brydwedd Rhufeinaidd awdurdodol, a'i aelodau ffurfion, a'i osgo penderfynol. Yr oeddynt bob amser yn beio opiniynau ac ymddygiadau eu gilydd, ac eto ddim mymryn yn llai awyddus am gymdeithas y naill y llall; yn wir, yr oedd eu gwahaniaeth yn eu huno, fel gwrthbegynau yr ehedfaen.

Bachgenyn tywysogaidd ydoedd Henrique, mab hynaf Alfred, du ei lygad, mawreddus, a llawn o fywyd ac egni; ac o'r mynyd cyntaf y cyfarfu ei gyfnither Evangeline, ymddangosai fel un wedi ei swyno gan ei thegwch a'i phrydwedd angylaidd.

Yr oedd gan Eva ferlyn bach, mor wyn a'r eira. Yr oedd mor esmwyth a'r cryd, ac mor fwynaidd a'i feistres: ac yn awr daeth Twm âg ef at gefn y verandah, tra'r oedd bachgenyn melynddu, tua thair-ar-ddeg, yn arwain Arabian bach gloywddu, a brynasid am fawr werth i Henrique.

Ac yr oedd Henrique mor falch a hogyn o'i drysor newydd; pan aeth yn mlaen i ymaflyd yn y ffrwyn o law ei was bach, efe a edrychodd yn ofalus drosto, a chrychodd ei dalcen.

"P'beth, Dodo, y cena' diog! ni rwbiaist ti mo ngheffyl i heddyw."

"Do, mas'r," ebe Dodo, yn ostyngedig, "fe gafodd y llwch yna wrth ddyfod allan."

"Cau dy geg, y rascal," ebe Henrique, gan godi ei whip. "Sut yr wyt ti yn meiddio siarad?"

Mulatto llygad-lon oedd y bachgen, bron yr un faint a Henrique, a'i wallt troellog yn hongian o gwmpas ei dalcen uchel a gwrol. Yr oedd ganddo waed gwyn yn ei wythienau, fel y gellid gweled yn ngwridiad fflamiog ei foch, a gwreichioniad tanbaid ei lygad, pan geisiodd siarad.

"Mas'r Henrique"—efe a ddechreuodd. Tarawodd Henrique ef ar draws ei wyneb â'i whip, a gafaelodd yn ei fraich i'w wthio ar ei liniau, lle y curodd ef nes oedd allan o wynt.

"Dyna i ti, y cena' dig'wilydd! Mi ddysga i ti f'ateb pan ddeudaf rywbeth. Cymer y ceffyl yn ol, a glanha fo. Mi ddysga i ti 'nabod dy le!"

"Mas'r Henrique," ebe Twm, "'rydw i'n meddwl fod Dodo'n myn'd i ddeud i'r ceffyl rolio wrth ddyfod o'r stabal; mae mor llawn o



wres, dyna fel cafodd e'r llwch; mi edrychais i at ei rwbio fo."

"Dal di dy dafod nes bo rhywun yn gofyn i ti!" ebe Henrique, gan droi ar ei sawdl, a myned i fyny'r grisiau i siarad âg Eva, lle'r oedd hi yn sefyll yn ei gwisg farchogaeth.

"Nghyfnither anwyl, mae'n ddrwg genyf i'r penglog yna eich cadw i aros am danaf," eb efe. "Gadewch i ni eistedd y fan yma hyd nes denant. Beth yw'r mater, Eva?—yr ydych yn edrych mor sobr."

"Sut y medrech chwi fod mor gâs a chreulon wrth Dodo druan?" ebe Eva.

"Câs—creulon!" ebe'r bachgen, mewn perffaith syndod. "Eva anwyl, beth ydych yn feddwl?"

"Nid oes arnaf eisieu i chwi ngalw i yn Eva anwyl tra b'och chwi'n gwneud y fath beth," ebe Eva.

"Nghyfnither anwyl, wyddoch chi ddim yn y byd am Dodo; dyna'r unig ffordd i wneud âg ef, mae mor llawn o gelwyddau ac esgusodion. Yr unig ffordd ydyw ei roddi i lawr ar unwaith —peidio gadael iddo agor ei enau; dyna fel mae papa yn g'neud."

"Ond y mae F'ewythr Twm yn dweyd mai damwain oedd hi; ac ni bydd e byth yn dweyd anwiredd."

"Mae'n hen nigger anghyffredin, ynte!" ebe Henrique. "Mi ddywed Dodo gelwyddau mor gynted ag y medr siarad."

"Os triniwch ef fel yna, chwi a'i dychrynwch i'ch twyllo."

"Eva, yr ydych wedi cymeryd Dodo gymaint i'ch ffafr, fel ag y byddaf fi yn ddrwg-dybus o honoch."

"Ond fe ddarfuch chwi ei guro heb iddo haeddu."

"O, wel, mi wneiff y tro am ryw amser y bydd yn ei haeddu, ac heb ei chael. Nid yw ambell ergyd yn mènu dim ar Dodo—nid bachgen cyffredin mo hono, gallwch gymeryd fy ngair; ond ni churaf mo hono'n rhagor o'ch blaen chwi, os ydyw yn eich poeni."

Nid oedd Eva yn foddlon, ond gwelodd mai ofer oedd ceisio gwneud i'w chefnder hardd ddeall ei theimladau.

Daeth Dodo yn fuan â'r ceffylau.

"Wel, Dodo, ti wneist yn o lew y tro yma," eb ei feistr ieuanc, braidd yn fwy tyner. "Tyred 'rwan, dal geffyl Miss Eva, tra byddaf fi yn ei helpu i'r cyfrwy."

Daeth Dodo yn mlaen a safodd wrth ben merlyn Eva. Yr oedd yn edrych yn bruddaidd, a'i lygaid yn gochion.

Yr oedd Henrique yn meddwl llawer o hono ei hun mewn materion o foesgarwch tu ag at y rhyw fenywaidd, a gosododd ei gyfnither yn fuan yn y cyfrwy, a'r awenau yn daclus yn ei llaw.

Ond crymodd Eva ei phen i'r ochr arall, lle yr oedd Dodo'n sefyll, a phan oedd yn gollwng y ffrwyn o'i law, hi a ddywedodd, "Da fachgen, Dodo—diolch i ti!" Edrychodd Dodo i fyny mewn syndod i'w gwyneb ieuanc anwyl; ffrydiodd y gwaed i'w wyneb, a'r dagrau i'w lygaid.

"Tyr'd yma, Dodo," eb ei feistr, yn awdurdodol.

Neidiodd Dodo, a daliodd yr awenau i'w feistr fyned i'r cyfrwy.

"Dyna i ti chwe' cheiniog i brynu candi, Dodo," ebe Henrique; "dos i geisio peth."

A charlamodd Henrique i lawr y ffordd ar ol Eva. Safodd Dodo i edrych ar ol y ddau blentyn. Cawsai arian gan un; ond cawsai gan y llall, yr hyn oedd arno lawer mwy o'i eisieu—gair mwyn ar dafod mwyn. Nid oedd ond ychydig fisoedd er pan gymerasid Dodo oddiwrth ei fam. Prynasid ef gan ei feistr i'r mab, o herwydd ei wynebpryd hardd, i gyfartalu â'r pony hardd; ac yr oedd yn awr yn cael ei dori i mewn dan law ei feistr ieuanc.

Gwelwyd y curo gan y ddau frawd, sef y ddau St. Clare, o gŵr arall i'r ardd.

Gwridodd wyneb Augustine; ond ni wnaeth ddim yn rhagor na sylwi, yn ei ffordd ysmala, "Mae'n debyg mai dyna allwn ni alw yn ddygiad i fyny republicanaidd, Alfred?"

"Mae Henrique yn gythraul o fachgen, pan godo ei natur," ebe Alfred, yn ddiofal.

"Mae'n debyg eich bod yn ystyried hwn yn waith pur lesol iddo," ebe Augustine, yn sychlyd.

"Pe na buaswn, nis gallaswn ddim help iddo. Mae Henrique yn dymhestl-wynt—ac y mae ei fam a minau wedi ei roddi i fyny er's llawer dydd. Ond eto, y mae'r Dodo yna yn impin perffaith—nid oes dim whipio fedr wneud harm iddo."

"A dyma'r ffordd i ddysgu Henrique yn y wers gyntaf o'i gatecism republicanaidd,—Mae pob dyn wedi ei eni yn rhydd ac yn gydradd."

"Pw!" ebe Alfred, "un o hen syniadau Ffrengig a hymbygawl Thomas Jefferson. Lol wirion ydyw adrodd hynyna yn ein mysg ni hyd y dyddiau hyn."

"Dyna marn inau," ebe St. Clare, yn llawn arwyddoccad.

"O herwydd," ebe Alfred, "ni allwn weled yn ddigon eglur, *nad* ydyw pob dyn yn cael ei eni yn rhydd, nac yn gydradd ychwaith; genir hwynt yn mhob modd ond hyny. O'm rhan fy hun, yr wyf fi yn meddwl mai nonsens glân gloyw ydyw mwy na haner y bragawthan republicanaidd yma. Pobl ddysgedig, y deallus, y cyfoethog a'r bonedd, ac nid yr *ysgubion*, a ddylai fod yn gydradd mewn breintiau."

"Os gallwch chwi gadw'r *ysgubion* i feddwl felly," ebe Augustine. "Cymerasant *hwythau* eu tro unwaith yn Ffrainc."

"Mae'n siwr, rhaid eu *cadw dan draed*, yn wastad, yn ddibetrus, fel y *gwnawn* i," ebe Alfred, gan daro ei droed yn y llawr, fel pe buasai yn sangu ar ryw un.

"Rhyw slip go arswydus fydd pan godant i fyny," ebe Augustine,—"hi fu felly yn Sant Domingo."

"Pw!" ebe Alfred, "ni gymerwn ni ddigon o ofal am hyny yn y wlad yma. Rhaid i ni osod ein gwynebau yn erbyn yr holl siarad yma am eu dysgu a'u dyrchafu sydd o gwmpas y dyddiau hyn; ni wiw addysgu'r iselradd."

"Mae'n rhy hwyr o lawer," ebe Augustine; "rhaid eu haddysgu, a'r pwnc i ni ydyw, pa fodd yr addysgir hwynt. Mae ein trefn ni yn eu haddysgu mewn barbariaeth ac anifeileidd-der. Yr ydym yn tori pob cyswllt sy'n dynoleiddio, ac yn eu gwneud yn fwystfilod anwar; ac os byth y cânt y llaw uchaf, ni a gawn mai bwystfilod felly ydynt."

"Ni chânt byth mo'r llaw uchaf," ebe Alfred.

"Dyna hi," ebe St. Clare; "gollyngwch yr agerdd i mewn, sicrhewch y drwyddell-ddiangfa, ac eisteddwch arni, ac edrychwch yn mha le y disgynwch."

"Wel," ebe Alfred, "ni *gawn* weled. Nid oes arnaf fi ddim ofn eistedd ar y drwyddell-ddiangfa tra bo'r berwedydd yn ddigon cryf, a'r peiriant yn gweithio'n rheolaidd."

"Felly meddyliodd y mawrion yn amser Louis XVI.; ac felly y meddwl Austria a Pio Nono eto; ac ond odid, ryw fore teg, na chyfarfyddwch eich gilydd yn yr awyr, *pan chwytho y berwedydd i fyny!*"

"*Dies declarabit* (amser a ddengys)," ebe Alfred, dan chwerthin.

"Mi ddywedaf i chwi unpeth," ebe Augustine, "os oes dim â sêl dwyfol ddatguddiad arno yn ein dyddiau ni, y mae hynyma, sef, fod y lluaws i godi, a'r dosbarth isaf i fod yn uchaf."

"Dyna un o'ch mympwyon republicanaidd gwaedlyd chwi, Augustine! Pa'm na b'asech yn troi i ben y stôl? chwi wnaethech areithiwr pen stôl i'r dim! Wel, gobeithio na byddaf fi byw i weled mil blynyddoedd y lluaws seimlyd yn dyfod."

"Seimlyd neu ddiseimlyd, hwy fyddant yn feistriaid arnoch *chwi* pan ddaw eu tro; a byddant y fath feistriaid yn union ag y gwnewch chwi hwynt. Fe ddewisodd mawrion Ffrainc wneud y bobl yn 'isel a bwystfilaidd,' a chawsant feistriaid 'o'r cyfryw' hyd eithaf eu dymuniad. A phobl Hayti—"

"O, dowch Augustine! fel pe na chawsem ddigon o lol am yr Hayti ddirmygedig yna. Nid yr Anglo-Saxon oedd pia Hayti; pe buasai ef yno, clywsid chwedl arall. Hiliogaeth yr Anglo-Saxon ydyw'r hiliogaeth lywodraethol dros y byd, *a hi sydd i fod felly.*"

"Wel, mae cryn lawer o waed yr Anglo-Saxon yn cymysgu â'n caethion ni yn y dyddiau hyn," ebe Augustine. "Mae digonedd o honynt heb ddim rhagor o waed Affrica nag sydd angenrheidiol i roddi gwres a bywyd y gwledydd poethion i'n penderfyniadau gochelgar ni. Os byth y daw awr Sant Domingo arnom, arweinir y fyddin gan waed yr Anglo-Saxon. Ni fyn plant dynion gwynion, a holl falchder eu tadau yn llosgi o'u mewn, eu prynu a'u gwerthu a'u gyru am byth. Hwy a godant, a chyfyd hil eu mamau gyda hwynt."

"Lol—nonsens!"

"Wel," ebe Augustine, "y mae hen air ryw beth yn debyg i hyn: 'Fel yr oedd yn nyddiau Noë, felly bydd eto; yr oeddynt yn bwyta ac yn yfed, yn planu ac yn adeiladu, ac ni wybuant hyd oni ddaeth y diluw a'u cymeryd hwynt oll ymaith.'"

"Ar y cyfan, Augustine, yr wyf fi'n meddwl fod genych dalentau i fod yn bregethwr teithiol," ebe Alfred, gan chwerthin. "Peidiwch â dychrynu yn ein cylch ni! Genym ni y mae'r meddiant, yr hyn yw naw pwynt y gyfraith. Yn ein llaw ni y mae y gallu. Y mae'r bobl ddarostyngedig yma," eb efe, gan daro ei droed yn y llawr, "ar lawr, ac ar lawr y *rhaid* eu cadw. Mae genym ddigon o egni i ofalu am ein pylor ein hunain."

"Bydd bechgyn a ddygir i fyny fel eich Henrique chwi yn warcheidwaid rhagorol i'ch ystôrdai pylor," ebe Augustine, "mor arafaidd a hunan-feddiannol! Dywed y ddihareb, 'Nid cymhwys i lywodraethu, y sawl nis llywodraetho ei hun.'"

"Mae perygl yn y fan yna," ebe Alfred, yn ddifrifol; "nid oes amheuaeth nad yw ein system ni yn un anhawdd i ddwyn plant i fyny dani. Mae'n gollwng eu tymherau yn rhy benrydd, y rhai ydynt hen ddigon tanbaid eisoes yn y fath hinsawdd a hon. Mae Henrique yn gryn boen i mi. Mae'n fachgen hael a glân ei galon, ond fel tân gwyllt pan gynhyrfir ef. Yr wyf yn meddwl y rhaid i mi ei anfon i'r ysgol i'r gogledd, lle mae ufudd-dod yn fwy mewn ffasiwn, a lle y bydd fwy yn nghymdeithas ei gydradd, a llai gyda y rhai dybynol arno."

"Gan mai dwyn plant i fyny ydyw un o brif orchwylion dynoliaeth," ebe Augustine, "yr wyf fi yn tybied fod yn werth ystyriaeth nad yw ein trefn ni yn gweithio yn dda yn hyny."

"Nid yw'n gweithio'n dda mewn rhai pethau," ebe Alfred; "mewn pethau eraill drachefn y mae. Mae yn gwneud bechgyn yn hyf a gwrol; ac y mae anfoesoldeb pobl ddirmygedig yn cryfhau y rhinweddau gwrthwyneb yn y rhai sydd uwchlaw iddynt. Mae'n ymddangos i mi fod Henrique yn gweled dymunoldeb gwirionedd yn amlycach, trwy ganfod y twyll a'r celwydd sydd mor gyffredin yn mysg y caethion."

"Golygiad pur Gristionogol ar y pwnc, yn wir," ebe Augustine.

"Mae yn wir, Cristionogol neu beidio; ac y mae mor Gristionogol hefyd ag odid beth yn y byd yma," ebe Alfred.

"Efallai hyny," ebe St. Clare.

"Wel, ni wiw siarad, Augustine. Yr wyf yn meddwl i ni fod o gylch yr hen lwybr yma, bûm' cant o weithiau, mwy neu lai. Beth ydych yn ddweyd am chware backgammon?"

Rhedodd y ddau frawd i fyny i risiau'r verandah, ac yr oeddynt yn fuan yn eistedd wrth ford ysgafn o bamboo, a'r bwrdd backgammon rhyngddynt. Fel yr oeddynt yn gosod eu dynion, sylwodd Alfred—

"Augustine, pe bawn i yn meddwl fel chwi, mi wnawn i rywbeth."

"Gwnaech mi wrantaf—un o bobl y gwneud ydych; ond pa beth?"

"Fe ddyrchafwn fy nghaethion fy hun, fel esiampl," ebe Alfred, gyda gwên haner ysmala.

"Yr un peth yn union fyddai gosod mynydd Etna yn ei grynswth arnynt, a pheri iddynt sefyll yn syth dano, a cheisio genyf finau ddyrchafu fy nghaethion, pryd y mae holl bwysau cymdeithas yn eu llethu i lawr. Ni fedr un dyn wneud dim yn erbyn holl gyfanwaith gwlad. Rhaid i addysg fod yn addysg yr holl wlad, cyn y gall fod o un lles; neu rhaid i ddigon gyd-weithredu ynddo i'w wneud yn gyffredinol."

"Gwnewch chwi y symudiad cyntaf," ebe Alfred; ac yr oedd y ddau frawd yn fuan dros ben a chlustiau yn y chwareu, ac ni chlywsant ddim yn rhagor hyd oni ddaeth sŵn traed ceffylau tua'r verandah.

"Dyna'r plant," ebe Augustine, gan godi. "Edrychwch yma, Alf! A welsoch chwi ddim harddach golwg erioed?" Ac, yn wir, yr *oedd* yn olwg hardd; Henrique, â'i dalcen uchel, llydan, ei wallt du troellog, a'i fochau gwridog, yn chwerthin yn hoyw, gan blygu tu ag at ei gyfnither dêg, fel yr oeddynt yn dyfod yn mlaen. Gwisgai hi wisg marchogaeth o lâs goleu, a chap o'r un lliw; ac yr oedd yr awyr wedi sirioli ei grudd, a thaflu prydferthwch ychwanegol dros ei chroen claerwyn a'i gwallt euraidd.

"Gwarchod ni! ferch mor hardd!" ebe Alfred. "Mi ddywedaf i chwi beth, Augustine, fe rydd Eva gur mewn llawer calon, ryw ddiwrnod!"

"Gwneiff; rhy wir—Duw ŵyr, mae arnaf ofn," ebe St. Clare, â chalon drom, a rhedodd i lawr i'w helpio i ddisgyn.

"Eva anwyl! ydych ddim wedi blino, a ydych?" eb efe, gan ei derbyn yn ei freichiau.

"Nac ydwyf, papa," ebe'r plentyn; ond dychrynwyd ei thad gan ei hanadliad byr.

"Sut y darfu i chwi yru mor gyflym, 'ngeneth fach i? Chwi wyddoch nad yw'n lles i chwi."

"Yr oeddwn yn teimlo mor iach, papa, ac yn cael y fath bleser nes y gollyngais yn anghof."

Cymerodd St. Clare hi i fyny yn ei freichiau i'r parlwr, a dododd hi ar y soffa.

"Henrique, rhaid i chwi fod yn ofalus gydag Eva," eb efe; "a pheidio gadael iddi yru yn galed."

"Mi gymeraf fi ofal Eva," ebe Henrique, gan eistedd wrth y soffa, a chymeryd llaw Eva.

Daeth ati ei hun yn fuan. Ac ail ddechreuodd ei thad a'i hewythr ar eu chwareu, gan adael y plant gyd â'u gilydd.

"Wyddoch chwi, Eva, mae'n ddrwg genyf nad yw nhad yn myn'd i aros dim ond dau ddiwrnod yma, ac ni chaf eich gweled 'rhawg yn rhagor. Os caf aros yma, mi ymdrechaf fod yn dda, ac ni byddaf yn groes wrth Dodo, a phethau felly. Ni wnaf fi ddim cam â Dodo; ond mae nhymer i yn o wyllt, wyddoch. Serch hyny, fyddaf fi ddim yn gâs wrtho. Mae'n cael ambell i chwechyn, ac mi welwch ei fod yn gwisgo'n dda. Ar y cyfan, yr ydw i'n meddwl fod Dodo yn lled dda arno."

"A feddyliech chwi eich bod yn dda arnoch, heb un creadur byw yn yr holl fyd i hidio am danoch?"

"Fi? Na feddyliwn, yn wir."

"Ac yr ydych wedi cymeryd Dodo oddiwrth yr unig ffrindiau fu ganddo erioed, ac yn awr nid oes ganddo un creadur i'w garu; ni fedr neb fod yn dda felly."

"Wel, ni fedraf fi ddim help iddo, am wn i. Ni fedraf fi ddim cael ei fam, ac ni fedraf fi ddim ei garu fy hunan, na neb arall y gwn i am dano."

"Pa'm na fedrwch?" eb Eva.

"*Caru* Dodo! Ni ddymunech i mi wneud hyny, Eva. Gallwn ei hoffi'n burion; ond nid ydych chwi ddim yn *caru* eich gweinidogion!"

"Ydwyf, yn wir."

"Ni chlywais erioed y fath beth."

"Onid ydyw'r Bibl yn dweyd y dylem garu pawb."

"O, y Bibl! Gwir iawn, y mae'r Bibl yn dweyd llawer o bethau nad oes neb yn meddwl eu gwneud, wyddoch, Eva."

Nid atebodd Eva ddim; yr oedd ei llygaid yn tremio'n feddylgar am fynyd.

"Sut bynag," ebe hi, "fy anwyl gefnder, gwnewch garu Dodo dlawd, a byddwch garedig wrtho, er fy mwyn i!"

"Fy nghyfnither anwyl, mi fedraf garu un peth, er eich mwyn chwi; o herwydd chwi ydyw yr un fwyaf cariadlon ac anwyl a welais erioed!" A siaradodd Henrique fel un yn teimlo, a'i wyneb hardd yn disgleirio. Derbyniodd Eva'r cyfarchiad yn hollol dawel, heb gymaint a symud ei gwefus; ac atebodd, "Mae'n dda genyf eich bod yn teimlo felly, Henrique anwyl! a gobeithio y cofiwch."

Torwyd ar yr ymddiddan gan alwad y gloch i giniaw.

## PENNOD XXIV.

### Y CYSGODAU.

Yn mhen deuddydd ar ol hyn, ymadawodd y ddau frawd, Alfred ac Augustine St. Clare; a dechreuodd Eva golli ei nerth yn fuan iawn, wedi ymdrechu tu hwnt i'w gallu tra bu ei chefnder gyda hi. Cydsyniodd St. Clare o'r diwedd i alw'r meddyg i mewn, yr hyn a safasai yn ei erbyn cyhyd, am ei fod yn anfoddlon i gyfaddef gwirionedd annymunol. Ond bu Eva mor wael, nes gorfod aros yn y tŷ am ddiwrnod neu ddau, yna anfonwyd am y meddyg.

Nid oedd Marie St. Clare wedi cymeryd un sylw o edwiniad parhaus y plentyn, trwy ei bod yn chwilio i mewn i natur dau neu dri o glefydon, y rhai, yn ol ei mympwy hi, oeddynt bron a'i gorddiwes ei hun. Erthygl gyntaf credo Marie oedd, na bu neb erioed, ac nas gallai neb byth fod, yn dioddef cymaint a *hi ei hunan;* ac felly ni fynai, ar un cyfrif, y gallai fod neb yn glaf yn agos ati. Byddai yn eithaf sicr, yn mhob amgylchiad, nad oedd dim yn y byd yn eu blino ond diogi, neu ddigalondid; a phe buasent yn dioddef fel *hi*, y caent allan y gwahaniaeth yn bur fuan.

Ceisiodd Miss Ophelia ddeffroi teimladau Marie ynghylch Eva, lawer gwaith, ond yn ofer.

"Ni welaf fi fod dim byd y mater ar y plentyn," meddai; "mae'n rhedeg o gwmpas ac yn chware'n burion."

"Ond y mae'n pesychu."

"Pesychu! Nid rhaid i chwi ddim sôn wrthyf fi am besychu. Mae pesychu yn nglyn â fi er pan ydw' i'n cofio. Pan oeddwn i yn oed Eva, yr oedd pawb yn meddwl fy mod yn y darfodedigaeth. Byddai Mammy yn eistedd wrth fy ngwely nos ar ol nos. O, nid yw peswch Eva ddim yn y byd!"

"Ond y mae'n gwanhau, a'i hanadl yn fyr."

"Dyn a 'styrio, yr ydw' i felly er's llawer blwyddyn; nid yw ddim ond tipyn o wendid."

"Ond y mae'n chwysu mor arw y nos!"

"Wel, felly finau, er's deng mlynedd. Chwi allech wasgu'r chwys o nillad i lawer noswaith. Ni bydd genyf yr un edef sych o nghwmpas, a bydd raid i Mammy hongian y cynfasau i sychu! Nid yw Eva yn chwysu dim yn debyg i hyna!"

Bu Miss Ophelia yn ddistaw am dymhor. Ond yn awr, pan oedd Eva ar lawr yn lân, a phan alwyd physygwr i mewn, trodd Marie i'r eithafion ereill ar unwaith.

Mi wyddai, meddai, yr oedd yn teimlo hyny bob amser, mai ei thynged oedd bod y fwyaf annedwydd o famau. Dyna lle'r oedd hi, a'i hiechyd gwael, a'i hunig blentyn anwyl yn myn'd i lawr i'r bedd o flaen ei llygaid! Hi alwodd Mammy trwy gydol y nos, gan wneud stŵr a chymhenu pawb, ac ymroi ati i feio pawb â'i holl egni, ar gyfrif y boen newydd yma.

"Marie anwyl, peidiwch â siarad fel yna," meddai St. Clare; "ni ddylech roddi y mater i fyny fel yna ar unwaith."

"Nid oes genych chwi ddim teimladau mam, St. Clare! Ni fedrasoch erioed fy neall i!—nid ydych yn awr."

"Ond peidiwch â siarad fel pe na b'ai dim gobaith!"

"Ni fedraf fi ddim cymeryd pethau mor ddidaro a chwi, St. Clare. Os nad *ydych chwi* yn teimlo pan y mae eich unig blentyn yn y cyflwr peryglus yma, yr *ydwyf fi*. Mae'n fwy nag a fedraf fi gynal, gyda chymaint oeddwn yn ddioddef o'r blaen."

"Mae'n wir," meddai St. Clare, "fod Eva 'n bur wan, mi wyddwn *hyny* bob amser; a'i bod wedi tyfu'n fuan iawn, a threulio ei nerth felly; ac mai amser lled beryglus yw hwn iddi. Ar yr un pryd, mae gwres yr hin, a mwy o ymdrech nag a fedrai ddal, gyd â'i chefnder, wedi ei thaflu yn ol. Mae'r physygwr yn dweyd fod lle i obeithio."

"Wel, os medrwch chwi edrych ar yr ochr oreu, gwnewch, er mwyn pob daioni; mae yn drugaredd i bobl yn y byd yma os na fydd eu teimladau yn dyner. F'asai'n dda gen i, 'rydw i'n siwr, pe b'aswn i heb deimlo fel yr ydw i—nid yw ddim ond fy ngwneud i'n berffaith anhapus. F'asai'n dda gen i pe *gallaswn* fod mor esmwyth ag ydych chwi, bob un."

Ac yr oedd gan "bob un" o honynt reswm da dros anadlu yr un weddi, o herwydd yr oedd poenau newyddion Marie yn esgus ganddi dros boeni yn mhob dull a modd bawb o'i hamgylch. Nid oedd pob gair a ddywedid gan bawb, pob peth a wneid neu na wneid gan bawb yn mhob man, ddim ond profion adnewyddol fod o'i hamgylch bobl ddideimlad ac anystyriol, heb hidio dim am ei phrofedigaethau neillduol hi. Clywodd Eva ambell un o'r achwyniadau hyn, a hi a wylodd ei llygaid bychain allan o'r bron, o wir dosturi dros ei mamma, ac o ofid am ei bod yn gymaint poen iddi.

Yn mhen wythnos neu ddwy yr oedd argoelion llawer gwell—un o'r gwênau têg a ddengys y clefyd twyllodrus hwn, i dwyllo'r galon drallodedig, hyd yn nod ar fin y bedd. Gwelid Eva drachefn yn yr ardd, ac ar y rhodfeydd; chwareuodd a chwarddodd drachefn; a mynai ei thad, yn ei galon hoff, y byddai hi'n fuan mor gryfed a'r cryfaf o honynt. Ond ni welai Miss Ophelia a'r physygwr ddim ond siomedigaeth yn y llygedyn sydyn hwn. Yr oedd un galon arall hefyd, a deimlai sicrwydd am ei thynged, a hono oedd calon fechan Eva. Beth sydd ambell waith yn sisial mor dawel ac mor eglur yn yr enaid, mai byr ei arosfa yma ar y ddaear! Ai anian ddirgelaidd natur wywedig, ynte awgrymiad yr enaid fod anfarwoldeb yn nesau? Boed y peth y bo, yr oedd yn gorwedd yn mynwes Eva yn sicrwydd tawel, melys, prophwydol, fod y nef yn ymyl; dyna lle gorphwysai ei chalon fechan, mor dawel a goleuni machludiad haul, mor heddychol a dystawrwydd heulfron Hydref, a'i hunig ofid oedd gofid am y sawl a'i carent mor anwyl.

O herwydd nid oedd un gofid yn meddwl y plentyn ei hun ei bod yn marw, er mor ofalus y magwyd hi, ac er fod bywyd yn ymagor o'i blaen gyda phob deniadau a fedrai serch a chyfoeth eu rhoddi iddo.

Yn y Llyfr hwnw y byddai hi a'i hen ffrind gonest yn ei ddarllen, yr oedd wedi cymeryd i mewn i'w chalon blentynaidd ddelw yr Hwn sy'n caru'r plentyn bach; ac fel yr oedd yn syllu arno ac yn meddwl am dano, nid oedd yn ddelw neu lun oddiyma draw, ond yr oedd yn sylwedd bywiol o'i hamgylch. Dirwynodd ei gariad o gwmpas ei chalon blentynaidd â thynerwch mwy na dim daearol; ac ato Ef, i'w gartref, y dywedai ei bod yn myned.

Ond hiraethai ei chalon gyda thynerwch dwys am bawb a adawai ar ol—ei thad yn benaf. O herwydd yr oedd Eva yn teimlo yn naturiol, er na feddyliodd hyny erioed yn benderfynol, ei bod yn flaenaf un yn ei galon. Yr oedd yn caru ei mam, am ei bod ei hun yn greadures fach a garai bawb; ac nid oedd yr hunan a welai yn ei mam ddim ond yn ei phoeni a'i dyrysu; canys yr oedd ganddi hyder diffuant plentyn nas gallai ei mam wneud dim ond oedd iawn. Yr oedd rhywbeth o'i hamgylch nas gallodd Eva erioed ei ddeall; a byddai yn myned heibio iddo trwy ddweyd, ar ol y cwbl, mai ei mamma ydoedd, a'i bod yn ei charu yn anwyl iawn.

Teimlai hefyd dros y gweinidogion serchlon a ffyddlon hyny, i ba rai yr ydoedd hi fel goleu dydd a llygad haul. Anaml y mae plant yn tynu casgliadau; ond yr oedd Eva yn blentyn pur synwyrol, ac yr oedd yr hyn a welsai o ddrygau y cyflwr yr oeddynt yn byw ynddo wedi syrthio yn ddwfn, y naill ar ol y llall, i'w chalon feddylgar a myfyriol. Yr oedd ynddi ryw fath o hiraeth am wneud rhyw beth drostynt,—i fendithio a dwyn ymwared, nid yn unig iddynt hwy, ond i bawb yn yr un cyflwr,—hiraeth ag oedd yn cyferbynu yn rhyfeddol â gwendid ac eiddilwch ei chorphyn.

"F'ewythr Twm," ebe hi, un diwrnod, pan oedd yn darllen i'w ffrind, "mi fedraf ddeall paham yr oedd Iesu Grist yn *dewis* marw drosom."

"Pa'm, Miss Eva?"

"O herwydd mi fum inau'n teimlo felly hefyd."

"Beth ydi hyny, Miss Eva? Fedra' i ddim dirnad."

"Ni fedraf fi ddim dweyd i ti; ond pan welais i'r creaduriaid tlodion hyny ar fwrdd y llestr, wyddost, pan ddaethost ti i fyny, a minau, yr oedd rhai wedi colli eu mamau, a rhai eu gwŷr, a rhai mamau yn wylo am eu plant bach; a phan glywais am Prue druan—oh, onid oedd hyny'n ddychrynllyd?—a llawer tro arall, mi deimlais y buasai'n dda genyf farw,

os buasai hyny'n attal yr holl drueni yma. Mi *wnawn farw* drostynt hefyd, Twm, pe gallwn," ebe'r plentyn yn ddifrifol, gan osod ei llaw fach deneu ar ei law yntau.

Edrychodd Twm ar y plentyn mewn syndod! a phan aeth ymaith ar alwad ei thad, efe a sychodd ei lygaid lawer gwaith wrth edrych ar ei hol.

"Dydi ddim iws treio cadw Miss Eva yma," ebe efe wrth Mammy, pan gyfarfu hi y mynyd nesaf. "Mae nôd yr Arglwydd ar ei thalcen hi."

"Ah, ydi, ydi," ebe Mammy, gan godi ei dwylaw. "Mi ddeudas hyny bob amser. Ni bu 'rioed fel plentyn oedd i fyw—fyddai rhyw beth dwfn yn ei llygaid bob amser. Mi ddeudas wrth missis felly lawer gwaith; mae'n troi allan yn wir—mae pawb yn ei weled—yr oenig fach anwyl, fendigedig."

Daeth Eva yn ysgafndroed i fyny'r verandah at ei thad. Yr oedd yn hwyr brydnawn, a phelydrau yr haul o'r tu ol iddi a ffurfient fath o ogoniant, fel yr oedd yn dyfod yn ei gwisg wèn, ei gwallt euraidd, a'i bochau gwridgoch, a'i llygaid yn ddisglaer annaturiol trwy'r dwymyn araf oedd yn llosgi yn ei gwythienau.

Galwasai St. Clare hi i ddangos cerflun hardd a brynasai iddi; ond cafodd ei hymddangosiad effaith sydyn a phoenus arno. Mae math o brydferthwch mor danbaid, ac eto mor frau, fel mai prin y medrwn edrych arno. Cofleidiodd ei thad hi yn ei freichiau, ac anghofiodd bron beth oedd ganddo i'w ddywedyd wrthi.

"Eva, ngeneth i, yr ydych yn well y dyddiau yma, onid ydych?"

"Papa," eb Eva, gyd âg egni annisgwyliadwy, "mae rhai pethau ar fy meddwl i'w dywedyd wrthych er's tro maith. Mi a'u dywedaf yn awr cyn i mi fyned yn wânach."

Crynodd St. Clare drosto, ac eisteddodd Eva ar ei lin. Gollyngodd ei phen ar ei fynwes, a dywedodd—

"Ni wiw celu cyfrinach ddim yn hwy, papa. Mae'r amser yn agos y rhaid i mi eich gadael. Yr wyf yn myned lle ni ddeuaf byth yn ol!" a dechreuodd Eva wylo.

"O, Eva bach, anwyl!" ebe St. Clare, gan grynu, ond yn ymdrechu i siarad yn siriol, "yr ydych yn wàn ac yn isel eich ysbryd; rhaid i chwi beidio cario meddyliau trymaidd fel yna. Edrychwch yma, mi brynais gerflun hardd i chwi."

"Na, na, papa," eb Eva, gan ddodi'r ddelw yn araf o'r neilldu, "peidiwch â thwyllo eich hunan, *nid* wyf fi ddim gwell—mi wn hyny'n dda; ac yr wyf yn myned cyn hir. Nid wyf ddim yn wàn, nac yn isel fy ysbrydoedd. Pe na buasai o'ch rhan chwi fy nhad, a fy ffrindiau, mi fuaswn yn berffaith hapus. Mae arnaf eisieu myned—mae arnaf hiraeth am fyned."

"Fy mhlentyn anwyl i, beth sydd yn gwneud eich calon fach mor drist? Chwi gawsoch bob peth a fedrem gael i'ch gwneud yn hapus."

"Mae'n well genyf fod yn y nefoedd, er hyny—ond dymunwn fyw er mwyn fy nghyfeillion. Mae yma lawer iawn o bethau i'm gwneud yn drist, ac y maent yn arswydus i mi. Mi fyddai yn well genyf fod yno; ond nid oes arnaf eisieu eich gadael chwi,—mae hyny bron a thori fy nghalon i."

"Beth sydd yn eich gwneud yn drist, ac yn peri i chwi edrych yn ofnus, Eva?"

"O, pethau sy'n cael eu gwneud, a'u gwneud o hyd. Yr wyf yn teimlo'n ofidus dros ein pobl ni, druain; maent yn fy ngharu i'n anwyl, a phob un o honynt yn dda ac yn garedig wrthyf. Mi fyddai'n dda genyf, papa, pe baent oll yn *rhyddion*."

"Wel, Eva bach, onid ydych yn meddwl eu bod yn ddigon da eu byd?"

"O, papa, pe b'ai rhywbeth yn digwydd i chwi, beth ddeuai o honynt hwy. Nid oes ond ychydig iawn o bobl fel chwi, papa. Nid yw F'ewythr Alfred ddim fel chwi; na mamma, ychwaith; ac wedi hyny meddyliwch am yr hyn a wnaeth perchenogion yr hen Brue; Bethau mor erchyll mae pobl yn wneud, ac a fedrant wneud!" a chrynodd Eva gan arswyd.

"Fy mhlentyn anwyl, yr ydych yn teimlo'n rhy danbaid. Mae'n ddrwg genyf i mi adael i chwi glywed y fath bethau."

"O, papa, dyna sy'n fy mhoeni fi. Mae arnoch chwi eisieu i mi fyw yn hapus, byth ddim poen, byth ddim dioddef, dim clywed hanes gofidus, tra y mae creaduriaid tlodion ereill heb ddim ond poen a gofid tros eu holl fywyd; mae yn ymddangos mor hunanol! Mi ddylwn wybod y fath bethau—mi ddylwn deimlo drostynt. Yr oedd y fath bethau yn suddo i nghalon i bob amser, yn myned yn ddwfn i lawr; ac yr ydwyf wedi meddwl a meddwl am danynt. Papa, oes dim modd gwneud yr holl gaethion yn rhyddion?"

"Dyna gwestiwn caled iawn, f'anwylyd i. Nid oes dim amheuaeth nad ydyw'r ffordd yma yn un ddrwg iawn; mae llawer o bobl yn meddwl felly, ac yr wyf fi yn meddwl felly fy hunan. Fe fyddai'n dda genyf pe na b'ai gaethwas yn y wlad, ond eto nis gwn i ddim pa beth sydd i'w wneud yn ei gylch."

"Papa, yr ydych chwi yn ddyn mor dda, mor garedig, ac mor foneddigaidd, ac y mae genych ffordd mor gynhesol i ddweyd pethau; oni fedrech chwi fyned o gwmpas a pherswadio pobl i wneud yn iawn mewn peth fel yma? Pan fyddaf fi wedi marw, papa, chwi gofiwch am danaf fi, a chwi a'i gwnewch er fy mwyn i. Mi wnawn i fy hun, pe gallwn."

"Pan f'och wedi marw, Eva?" ebe St. Clare, yn eiddigus. "O fy mhlentyn anwyl, peidiwch

â siarad fel yna! Chwi ydyw'r cwbl sydd genyf ar wyneb y ddaear!"

"Ei phlentyn oedd cymaint a feddai yr hen Brue ar wyneb y ddaear, eto gorfu arni wrando arno'n crio, ac nid oedd ganddi ddim help iddo? Papa, mae'r creaduriaid tlodion yma yn caru eu plant cystal ag yr ydych chwi yn fy ngharu inau. O, gwnewch rywbeth drostynt! Dyna Mammy druan, mae'n caru ei phlant; mi gwelais hi'n wylo'r dagrau wrth siarad am danynt. Ac y mae Twm yn caru ei blant; ac y mae yn arswydus, papa, fod pethau fel hyn yn digwydd yn barhaus?"

"Dyna, dyna, nghariad i," ebe St. Clare, yn fwynaidd, "peidiwch â sôn am farw, yna mi wnaf y peth a fynoch chwi."

"A gwnewch addaw i mi, fy nhad anwyl, y caiff Twm ei ryddid mor fuan ag y"—hi a arosodd, ac a ddywedodd mewn llais distaw, "ag y byddaf fi wedi myn'd!"

"Gwnaf, fy mhlentyn anwyl, unpeth yn y byd—unpeth a fedrwch ei ofyn i mi."

"Papa anwyl," ebe'r plentyn, gan osod ei boch grasboeth ar ei foch yntau, "fe fyddai'n dda genyf pe gallem fyned gyd â'n gilydd!"

"I ba le, Eva bach?"

"I gartre'r Gwaredwr; y mae mor dawel a hapus yno—dim ond cariad yno!" Siaradodd y plentyn mor hyderus, fel am le y buasai ynddo lawer gwaith. "Oes arnoch chwi ddim eisieu myn'd yno, papa?" ebe hi.

Gwasgodd St. Clare hi yn nes ato, heb ddywedyd gair.

"Chwi ddowch ataf fi," ebe'r plentyn, gan siarad mewn iaith dawel a phenderfynol, yr hon a arferai yn fynych, fel heb yn wybod iddi.

"Mi ddeuaf ar eich ol. Nis gollyngaf chwi yn anghof."

Towyd hwynt gan gysgodau'r hwyr yn dywyllach dywyllach, ac eisteddodd St. Clare yn ddistaw, gan ddal y fechan wael yn ei gesail. Nis gallai mwyach weled y llygaid dyfnion, ond daeth ei llais drosto fel llais angel; ac mewn math o weledigaeth barn cyfododd ei holl fywyd o flaen ei olygon mewn moment—gweddïau a hymnau ei fam—ei fwriadau a'i awyddfryd boreol am fod o ryw les yn ei ddydd; a rhwng hyny a'r mynyd yma, blynyddoedd o fydoldeb ac amheuaeth, a'r hyn a elwir gan ddynion yn fywyd parchus. Gallwn feddwl *llawer*, llawer iawn, ar amrantyn. Gwelodd a theimlodd St. Clare lawer o bethau, ond ni ddywedodd ddim; ac fel yr aeth yn dywyllach, efe a gymerodd y plentyn i'w hystafell wely; a phan oedd yn barod i orphwyso, efe a anfonodd ymaith y gweinidogion, ac a'i siglodd i gysgu yn ei freichiau.

———

## PENNOD XXV.

### YR EFENGYLES FECHAN.

Ar brydnawn ddydd Sul, yr oedd St. Clare yn gorweddian ar esmwyth-fainc o bamboo yn y verandah, a Marie yn gorwedd ar soffa ar gyfer ffenestr yn agor i'r verandah, wedi ei gorchuddio o amgylch â rhwydwaith teneu ysgafn i gadw ymaith y gwybed mosquitos; daliai yn ei llaw, yn foeth-flin, lyfr gweddi, mewn rhwymiad euraidd a godidog. Daliai y llyfr felly, am mai dydd Sul ydoedd, a dychymygai iddi ddarllen ynddo, er na wnaeth mewn gwirionedd ddim ond ei agor, a chysgu ambell gyntun, a'r llyfr yn agored yn ei llaw.

Yr oedd Miss Ophelia, ar ol holi ac ymofyn, wedi dyfod o hyd i gapel bychan Methodistaidd yn y gymydogaeth, o fewn cyrhaedd gyriad cyfleus, ac yr oedd wedi cymeryd Twm i yru'r cerbyd yno, ac Eva gyda hi.

"Augustine," ebe Marie, ar ol hepian am dro, "rhaid i mi yru i'r dref am fy hen ddoctor, Posey; o herwydd yr wyf yn sicr fod clefyd y galon yn fy mlino."

"Wel; pwy angen gyru am hwnw? mae'r doctor sydd gydag Eva yn ymddangos yn fedrus."

"Ni chymerwn lawer ac ymddiried iddo mewn mater o bwys," ebe Marie, "ac yr wyf yn meddwl y gallaf ddweyd fod fy nghyflwr i yn un pur beryglus! Mae ar fy meddwl i er's dwy noswaith neu dair; mae rhyw boenau rhyfeddol yn fy ngwasgu, a theimladau mor anarferol."

"O Marie, pruddglwyfus ydych; nid wyf ddim yn credu mai clefyd y galon ydyw."

"Nag ydych *chwi*, mi wrantaf; yr oeddwn yn disgwyl *hynyna*. Chwi allwch gymeryd atoch os bydd piff o beswch, neu'r peth lleiaf yn y byd, ar Eva, ond nid ydych yn hidio dim am danaf fi."

"Os ydych yn chwannog iawn am gael clefyd y galon, mi ymdrechaf eich perswadio mai felly mae," ebe St. Clare; "ni wyddwn i ddim eich bod."

"Wel, gobeithio na byddwch yn edifaru am hyn ar ol iddi fyn'd yn rhy ddiweddar!" ebe Marie; "ond coeliwch chwi neu beidiwch, mae'r boen ydwyf yn gael gydag Eva, a'r ymdrech ydwyf yn wneud gyda mhlentyn anwyl, wedi dyfod a phethau i'r amlwg fum i'n ofni er's hir amser."

At ba *ymdrechion* yr oedd Marie yn cyfeirio, nid hawdd dweyd. Gwnaeth St. Clare ei esponiad yn ddistaw rhyngddo ag ef ei hun, ac aeth yn mlaen i ysmocio, yn adyn o ddyn calongaled fel ag yr oedd, hyd oni yrwyd cerbyd i fyny dan y verandah, ac y disgynodd Miss Ophelia ac Eva.

I ffwrdd a Miss Ophelia rhag ei blaen i'w hystafell ei hun, i gadw ei shawl a'i bonnet, yn

ol eu harfer, cyn tori mo'r gair â neb; ac aeth Eva, ar alwad St. Clare, i eistedd ar ei lin, a dweyd hanes yr hyn a glywsai yn y capel.

Ond clywent leisiau uchel yn fuan o ystafell Miss Ophelia (yr hon a agorai ar y verandah, fel yr un yr oeddynt yn eistedd ynddi), a cherydd llym yn cael ei weinyddu i rywun.

"Pa ddewiniaeth newydd sydd ar law gan Topsy?" ebe St. Clare; "Mi rof fy ngair mai hi ydyw'r achos o'r twrw yna."

Ac mewn moment ar ol hyny, dyma Miss Ophelia, mewn natur pur uchel, yn llusgo'r carcharor yn mlaen.

"Tyr'd yma, 'rwan!" ebe hi, "mi *fynaf* ddweyd wrth dy feistr!"

"Pwy ddrwg yn awr?" ebe Augustine.

"Y drwg ydyw, na fynaf fi mo mhoeni gan y greadures yma ddim yn rhagor! Mae tu hwnt i bob amynedd; ni fedr cnawd ac esgyrn ddim diodde'r fath beth! Dyma hi, mi clois hi mewn, ac mi rois hymn iddi i'w dysgu, a pha beth feddyliech a wnaeth? Hi gafodd hyd i'm hagoriad, ac a agorodd fy nghell-gist, tynodd allan drimming bonnet, a thorodd ef yn ddarnau mân i wneud dillad doli. Ni welais i erioed y fath beth yn fy mywyd!"

"Mi ddywedais i chwi, nghares," ebe Marie, "y caech allan nad oes fodd trin y creaduriaid yma heb eu curo. Pe cawn i fy ffordd *fy hun*, 'rwan," ebe hi, gan edrych yn ddu ar St. Clare, "mi anfonwn yr hogen yna allan i gael ei whipio hyd adref; mi fynwn ei whipio fel na fedrai sefyll ar ei thraed?"

"Nid oes neb yn eich amnau," ebe St. Clare. "Na soniwch wrthyf am lywodraeth anwyl merch! Ni welais i erioed fwy na dwsin o ferched, na haner laddent geffyl, neu was hefyd, ond iddynt gael eu ffordd eu hunain,—heb son am ddyn."

"Nid ydyw'ch ffordd shili-shali chwi, St. Clare, yn werth dim!" ebe Marie.

"Mae nghyfnither yn ddynes o synwyr, ac yn gweled erbyn hyn cystal a minau."

Yr oedd gan Miss Ophelia yr eiddigedd perthynol i dŷ-olyges drwyadl, ac yr oedd dichell a drygioni'r plentyn wedi ei chynhyrfu yn anghyffredin; yn wir, rhaid i lawer gwraig a ddarlleno hyn addef y buasent yn teimlo'n bur debyg dan gyffelyb amgylchiadau; eto yr oedd geiriau Marie yn myned yn rhy bell, a theimlodd Miss Ophelia ei hun yn arafu.

"Ni chymerwn i mo'r byd an drin y plentyn felly," ebe hi; "ond, yn wir, Augustine, nis gwn i ddim beth i'w wneud. Yr wyf wedi dysgu a dysgu, a dweyd nes wyf wedi blino; mi curais hi, mi cospais hi yn mhob ffordd y gallwn feddwl am dani; ac eto mae hi yr un fath ag oedd yn y dechreu.

"Tyr'd yma, Tops, y mwnci!" ebe St. Clare, gan alw'r plentyn ato. Daeth Topsy yn mlaen; a'i llygaid crynion yn rholio ac yn wincio rhwng ofn a'u digrifwch cyffredin.

"Pa'm yr wyt ti mor ddrwg?" ebe St. Clare, yr hwn nis gallai lai na gwenu wrth yr olwg arni.

"Nghalon ddrwg i ydi'r achos," ebe hi yn bur ddiniwed. "Dyna fel mae Miss Pheeli yn deud."

"Onid wyt ti'n gweled faint a wnaeth Miss Ophelia drosot? Mae'n dweyd iddi wneud pob peth a fedr feddwl am dano!"

"Siwr iawn, mas'r! fydda ff'hen fistras yn deud hyny hefyd. Fydda hi yn whipio'n waeth o lawer, ac yn tynu ngwallt i, ac yn curo mhen i yn y post; ond 'nai hyny ddim lles i mi! 'Nai ddim lles, 'ddyliwn i, pe tai nhw'n tynu pob cudyn o wallt o mhen i. 'Rydw i mor ddrwg! Dyn a 'styrio! Nid ydw i ddim ond niggar, fodd yn y byd."

"Wel, rhaid i mi ei rhoi hi i fyny," ebe Miss Ophelia; "ni fedraf fi ddim cymeryd y fath boen ddim yn rhagor."

"Wel, mi fyddai'n dda genyf ofyn un cwestiwn." ebe St. Clare.

"Beth ydyw?"

"Wel, os nad ydyw eich Efengyl chwi yn ddigon effeithiol i achub un plentyn paganaidd, sydd genych wrth eich llaw gartref, pa les ydyw anfon cenhadwr tlawd neu ddau i fysg miloedd o rai fel hon? Mae'n debyg fod y plentyn yma rywbeth yn debyg i filoedd o'ch paganiaid chwi."

Nid atebodd Miss Ophelia ddim ar y pryd; ac Eva, yr hon a wrandawsai ar y cwbl hyd yn hyn heb yngan gair, a wnaeth amnaid ar Topsy i'w chanlyn. Yr oedd ystafell fechan a drws gwydr arni yn nghongl y verandah; yr hon a ddefnyddid gan St. Clare i ddarllen ynddi; ac aeth Eva a Thopsy i mewn yno.

"Beth sy gan Eva mewn llaw yn awr?" ebe St. Clare, "mi fynaf weled."

A chan fyned, ar flaenau ei draed, efe a symudodd y curtan oddi ar wydr y drws, ac a edrychodd i mewn. Mewn moment, a'i fys ar ei wefus, efe a amneidiodd yn ddistaw ar Miss Ophelia i ddyfod a gweled. Dyna lle'r oedd y ddau blentyn yn eistedd ar y llawr, ac ochreu eu hwynebau tua'r drws—Topsy yn ei hen osgo diofal a digrif; ac Eva ar ei chyfer, a'i hwynebpryd yn llawn pryder, a'r dagrau yn llenwi ei llygaid.

"Beth sydd yn dy wneud mor ddrwg, Topsy? Pa'm na bait yn treio bod yn dda? A ydyw yn *dda genyt am neb*, Topsy?"

"Wn i ddim byd am dda a charu; mae'n dda gen i siwgr candi, a phetha felly," ebe Topsy.

"Ond y mae'n dda genyt am dy dad a dy fam?"

"Fu gen i na thad na mam 'rioed; mi ddeudes i chwi, Miss Eva."



"O, mi wn!" eb Eva, yn drist; "ond a fu genyt ti 'run brawd, neu chwaer, neu fodryb, neu—"

"Naddo, 'run o honyn nhw—fu gen i neb na dim byd erioed."

"Ond, Topsy, pe bait yn treio bod yn dda, ti allit—"

"Allwn i fod yn ddim byd ond niggar, pe bawn mor dda ag sy bossibl," ebe Topsy. "Pe bawn i'n cael fy mlingo, a dwad yn wyn, mi dreiwn wedi'yn."

"Ond fe all pobl dy garu, Topsy, er dy fod yn ddu. Pe bait yn dda, fe carai Miss Ophelia di."

Chwarddodd Topsy yn ffrwt, yn ol ei harfer pan fyddai yn amheus.

"Wyt ti ddim yn meddwl hyny?" eb Eva.

"Na, nid eill hi aros mona i, am mod i'n niggar!—Fyddai cystal ganddi hi i lyffant gyffwrdd â hi. Fedr neb garu niggars, a fedr niggars neud dim byd. *Ni waeth gen i*," ebe Topsy, gan ddechreu chwibanu.

"O Topsy, druan oeddat ti, mae'n dda genyf *fi* am danat ti," eb Eva, gyda gwresogrwydd serchlawn, gan osod ei llaw wen, fechan, deneu, ar ysgwydd Topsy;" yr wyf fi yn dy garu am na bu genyt dad, na mam, na ffrindiau—am dy fod yn blentyn tlawd, a phawb a'i law yn dy erbyn! Yr wyf fi yn dy garu, ac y mae arnaf eisiau i ti fod yn dda. Nid ydwyf fi ddim yn iach, Topsy, ac nid wyf yn disgwyl byw yn hir; ac y mae'n boen ar fy meddwl dy fod di mor ddrygionus. Gwna dreio bod yn dda, er fy mwyn i; ni fyddaf yma'n hir gyda thi."

Llanwyd llygaid mawrion treiddgar y plentyn du â dagrau; rholiodd y naill ar ol y llall dros ei gruddiau, a disgynasant ar y llaw wen fechan. Yn y foment hono, pelydrodd gwir ffydd, pelydrodd cariad y nef, i gelloedd tywyll enaid y pagan. Hi a ostyngodd ei phen rhwng ei gliniau, ac a dorodd allan i wylo, tra'r oedd y plentyn anwyl yn crymu uwch ei phen, fel llun angel glân yn ymostwng i euill rhyw bechadur.

"Topsy anwyl," eb Eva, "oni wyddost ti fod Iesu Grist yn caru pawb fel eu gilydd? Mae mor barod i dy garu di a minau. Mae yn dy garu fel yr wyf fi yn dy garu, ond ei fod yn dy garu yn fwy, am ei fod ef yn well. Fe rydd help i ti fod yn dda, chai fyn'd i'r nefoedd yn y diwedd, a bod yn angel am byth, cystal a phe buasit yn wyn. Cofia, Topsy! ti elli *di* fod yn un o'r ysprydion pur y bydd Fewyrth Twm yn canu am danynt."

"O Miss Eva anwyl! Miss Eva anwyl!" ebe'r plentyn, "mi dreiaf! mi dreiaf! Ni ddaru mi erioed hidio am dano o'r blaen."

Gollyngodd St. Clare y sidanlen o'i law. "Mae hynyna yn dwyn ar gof i mi fy mam," eb efe wrth Miss Ophelia. "Mae'n ddigon gwir yr hyn a ddywedodd,—os bydd arnom eisiau rhoddi golwg i'r deillion, rhaid i ni fod yn foddlon i wneud fel y gwnaeth Crist—eu galw atom, a *chyffwrdd â hwynt*."

"Mae genyf ragfarn yn erbyn pobl dduon bob amser," ebe Miss Ophelia; "ac y mae'n ddigon gwir na fedrais erioed ddioddef i'r plentyn yna fy nghyffwrdd; ond ni feddyliais ddim ei bod yn gwybod hyny."

"Gadewch blant yn llonydd i gael allan bethau fel yna," ebe St. Clare; "mae'n amhossibl ei gadw rhagddynt. Ond yr wyf fi'n meddwl na wna un ymgais yn y byd les i blentyn, ac na fedr un gymwynas dynu diolch o'u calon tra bo'r teimlad atgas yna'n aros; mae'n beth pur hynod, ond y mae'n wir."

"Nis gwn i ddim sut i gael gwared o hono," ebe Miss Ophelia; "y *maent* yn atgas i mi—a'r plentyn yma'n neillduol. Sut y medraf gael wared o'r fath deimlad?"

"Mae Eva yn ymddangos yn ddigon rhydd oddi wrtho."

"Wel, mae hi'n beth mor anwyl! Ond, ar ol y cwbl, nid yw ddim ond tebyg i Iesu Grist," ebe Miss Ophelia. "O na bawn yn debyg iddi. Hi all ddysgu gwers i mi."

"Nid dyna fyddai'r tro cyntaf i blentyn fod yn offeryn i ddysgu hen ddisgybl, *pe dygwyddai hyny fod*," ebe St. Clare.

## PENNOD XXVI.

### ANGEU.

"Na wylwch dros y sawl sy 'nghudd
Dan lèni'r bedd y 'more'u hoes."

Yr oedd gwely Eva mewn ystafell eang, yn agor i'r verandah, fel pob ystafell arall yn y tŷ. Ar un ochr iddi yr oedd drws ystafell ei thad a'i mam, ac ar yr ochr arall ystafell Miss Ophelia. Yr oedd St. Clare wedi boddio ei lygad a'i archwaeth ei hun, trwy ddodrefnu'r ystafell hon yn hollol gydweddol â nodweddiad yr hon y bwriedid hi iddi. Ar y ffenestri yr oedd cysgodau o liw rhosynau a muslin gwyn; ar y llawr yr oedd mat a gafwyd o Paris, y gwneuthuriad

yn ol cynllun o ddyfais St. Clare, ei ymylwaith yn ddail a rhosynau, a rhosyn mawr agored ar ei ganol. Bamboo o gerfwaith prydferth ydoedd y pren gwely, y cadeiriau, a'r gorweddfaau. Uwch ben y gwely yr oedd bach o alabaster, yn dal angel o gerfwaith hardd, a'i adenydd yn llaes, a choron o ddail myrtwydd yn ei law. Oddiwrth hyn hongiai math o rwydwaith ysgafn o liw rhosynau, ac edafedd arian drwyddo, i gadw ymaith y gwybed a elwir mosquitos, peth hollol angenrheidiol i bob ystafell wely yn y wlad hono. Ar y gorweddfaau hardd o bamboo, yr oedd pob math o glustogau damasc, o liw rhosynau, a rhwydwaith yn eu gorchuddio o ddwylaw cerfwaith yn gyffelyb i'r gwely. Ar ganol yr ystafell yr oedd bwrdd ysgafn, cywreinwaith o bamboo, a vase o fynor Paria arno, o lun lili a'i blodau, bob amser yn llawn rhosynau. Ar y bwrdd hwn y byddai llyfrau Eva, a'i thelmau bychain, ynghyd ag offer ysgrifeun, o alabaster, yr hwn a brynasid iddi gan ei thad pan y gwelodd hi yn ceisio ysgrifeun. Yr oedd lle tân yn yr ystafell, ac ar y fantel fynor, gerfwaith o lun Crist yn derbyn plant bychain, a dwy vase o fynor o bobtu, ymha rai y dodid pwysïau bob bore gan Twm, yr hyn fyddai hoffwaith ei galon. Ar y muriau gwelid dau neu dri o ddarluniau o blant mewn amryw agweddau. Yn fyr, nis gellid troi golwg i unman heb ganfod delwau o fabandod, o brydferthwch, a thangnefedd. Bryd bynag yr agorai'r llygaid anwyl hyny yn y bore, gorphwysent ar rywbeth a thuedd ynddo i esmwytho'r galon, neu i ddeffroi meddyliau pleserus.

Yr oedd y grym twyllodrus fuasai yn cynal Eva yn myned heibio yn gyflym; ni chlywed ei hysgafn-droed ar y verandah ond anfynych, a cheid hi yn amlach ar yr orweddfa fechan yn ymyl y ffenestr agored, a'i llygaid mawrion, dyfnion, yn tremio ar fân dônau y llyn.

Tua chanol y prydnawn ryw ddiwrnod, yr oedd yn gorwedd felly, a'i Bibl yn agored o'i blaen, a'i bysedd bach meinion yn aros yn esmwyth rhwng y dalenau—hi a glywai lais ei mam, mewn cywair lled uchel, ar y verandah.

"Beth 'nawr, y gorcen! pwy ddrwg newydd sy genyt ti ar droed? Ti fuaist yn tynu blodau, ai do?" a chlywodd Eva swn ergyd lled drwm.

"O missis, i Miss Eva mae nhw," hi a glywai lais yn dweyd, a hi a adnabu lais Topsy.

"Miss Eva! esgus braf; wyt ti'n meddwl fod arni eisieu dy flodau *di*, y nigger ddiddaioni. Dos oddiyna; ffwrdd â thi."

Neidiodd Eva yn y mynyd oddiar ei gorweddle i'r verandah.

"O, peidiwch, mamma! Fyddai'n dda genyf fi gael y blodau; gadewch i mi eu cael; y mae arnaf eu heisieu!"

"Eva, mae eich ystafell yn llawn o flodau."

"Ni fedraf fi ddim cael gormod," eb Eva; tyr'd â nhw yma, Topsy."

Daeth Topsy yn mlaen, ar ol dal ei phen i lawr am ychydig, a chynygiodd ei blodau. Gwnaeth hyny yn wylaidd a gostyngedig, yn dra annhebyg i'r ffordd bresaidd ac elphaidd y byddai yn arfer gwneud.

"Mae'n bwysi clws," eb Eva, gan edrych arno.

Yr oedd yn un hynod, braidd—geranium ysgarlad tanbaid, ac un blodeuyn mawr gwyn, a'i ddail disglaer. Cylymasid ef gyda golwg o osod y naill liw gyferbyn â'r llall, ac yr oedd lle pob deilen wedi ei ddewis yn ofalus.

Edrychodd Topsy wrth ei bodd pan ddywedodd Eva, "Topsy, yr wyt ti yn llaw dda i osod blodau. Dyma vase yn y fan yma nad oes genyf ddim blodau ynddi. Mi fyddai yn dda genyf pe gofalit am rywbeth ynddi bob dydd."

"Wel, dyna beth digrif iawn!" ebe Marie. "Pa beth ar wyneb y ddaear sydd arnoch eisieu gan hwnyna?"

"Na hidiwch, mamma; ni waeth genych i Topsy wneud na pheidio, a ydyw?"

"Na waeth genyf fi; unpeth ydych chwi yn ddewis, mhlentyn i. Topsy, glywi di dy feistres ifanc? bydd di ofalus i wneud."

Gwnaeth Topsy ei hymostyngiad yn barchus, ac edrychodd tu a'r llawr; ac fel yr oedd yn troi i fyned ymaith, gwelodd Eva ddeigryn yn rholio i lawr ei boch ddu.

"Chwi welwch, mamma, mi wyddwn i fod ar Topsy druan eisieu gwneud rhywbeth i mi," eb Eva wrth ei mam.

"O, nonsens! nid oes dim ond ysfa ddrwg ynddi. Hi ŵyr nad ydyw hi ddim i dynu blodau—am hyny mae hi'n gwneud; dyna y cwbl am dani hi. Ond os ydych chwi yn dewis iddi eu tynu, boed felly."

"Mamma, yr wyf fi'n meddwl fod Topsy yn wahanol iawn i'r hyn a fu hi; mae'n ceisio bod yn lodes dda."

"Rhaid iddi geisio cryn lawer cyn byth y bydd *hi* yn lodes dda," ebe Marie, gyda chwerthiniad diofal.

"Wel, chwi wyddoch, mamma, fod pob peth wedi bod yn erbyn Topsy dlawd, bob amser."

"Nid er pan mae hi yma, mi wn i hyny. Y mae wedi cael dweyd wrthi, a phregethu wrthi, a phob peth ar wyneb y ddaear, a fedr pawb ei wneud iddi; ac mae mor hyll ag erioed, ac felly bydd hi; ni fedrwch chwi byth wneud dim yn y byd o'r creadur."

"Ond, mamma, mae mor wahanol i un gael ei magu fel y cefais i, a chymaint o ffrindiau, a chynifer o bethau i'm gwneud yn dda ac yn hapus; rhagor fel y cafodd hi ei dwyn i fyny yr holl amser cyn iddi ddyfod yma."

"Digon tebyg," ebe Marie, gan ymlyfu gên. "Onid ydyw'n boeth iawn?"

"Mamma, yr ydych chwi yn credu, onid ydych, y gall Topsy fod yn angel, cystal ag un o

honom ninnau, pe b'ai hi'n Gristion?"

"Topsy! y fath lol ydych yn siarad. Ni feddyliai neb byth ond chwi am y fath beth. Hwyrach y gallai hi o ran hyny."

"Ond, mamma, onid yw Duw yn dad iddi hi, cystal ag i ninau? Ac onid ydyw Iesu Grist yn Iachawdwr iddi?"

"Wel, f'allai hyny fod. Mae'n debyg mai Duw wnaeth bawb," ebe Marie. "Yn mh'le mae mhottel fach i?"

"O! mae'n drueni—O! y *fath* drueni!" eb Eva, gan edrych allan ar y llyn, a siarad wrthi ei hun.

"Beth sy'n drueni?" ebe Marie.

"Fod neb all fod yn angel pur, a byw gyd âg angyllion, yn mynd i lawr, i lawr, i lawr, a neb i roddi help llaw iddynt! O drueni!"

"Wel, ni fedrwn ni ddim help iddynt; ni wiw blino yn eu cylch, Eva! Nis gwn i ddim beth sydd i'w wneud. Ni a ddylem fod yn ddiolchgar am ein breintiau ein hunain."

"Prin y medraf fi fod," eb Eva, "mae mor ddrwg genyf dros y creaduriaid tlodion sydd heb ddim breintiau."

"Peth rhyfedd ydyw hynyna," ebe Marie; "yr wyf fi'n sicr fod fy nghrefydd yn dysgu i mi fod yn ddiolchgar am fy mreintiau."

"Mamma," eb Eva, "mae arnaf eisieu cael tori fy ngwallt—gryn lawer o hono."

"I ba beth?" ebe Marie.

"Mae arnaf eisieu rhoddi peth o hono i fy ffrindiau, tra byddaf yn ddigon cryf i'w roddi fy hunan. A wnewch chwi ofyn i modryb ddyfod yma i'w dori?"

Galwodd Marie ar Miss Ophelia o'r ystafell nesaf.

Cododd y plentyn ar y glustog pan ddaeth ei modryb i mewn, a chan ysgwyd ei throellau euraidd, hi a ddywedodd, dan wenu, "Deuwch, modryb, cneifiwch y ddafad!"

"Beth sy'n myn'd yn mlaen?" ebe St. Clare, yr hwn a ddaethai i mewn ar y pryd â ffrwythydd iddi.

"Papa, y mae arnaf chwant i modryb dori peth o fy ngwallt i; mae gormod o hono, ac y mae yn gwneud fy mhen yn boeth. Heblaw hyny, mae arnaf eisieu rhoddi peth o hono i fy ffrindiau."

Daeth Miss Ophelia â'i siswrn yn ei llaw.

"Cymerwch ofal rhag anurddo'r olwg arno," eb ei thad; "torwch oddi tanodd, lle nis gellir ei weled. Gwallt modrwyog Eva ydyw fy malchder i."

"O, papa!" eb Eva, yn drist.

"Iê, ac y mae arnaf eisieu eu cadw'n hardd erbyn yr amser y cymeraf chwi i fyny i blanigfa eich ewythr, i weled Henrique," ebe St. Clare, yn llawen.

"Nid âf fi byth yno, papa; yr wyf fi yn myned i well gwlad. O! coeliwch fi! Onid ydych yn gweled, papa, fy mod yn myn'd yn wânach bob dydd?"

"Paham y rhaid i chwi fy ngorfodi i gredu'r fath beth creulon, Eva?" eb ei thad.

"Dim ond am ei fod yn *wir*, papa; a phe baech chwi yn credu yn awr, efallai y deuech i deimlo fel finau am dano."

Gwasgodd St. Clare ei wefusau ynghyd, a safodd yn drist, gan syllu ar y dolenau hirion, prydferth, fel y torid hwynt ac y'i gosodid bob yn un ac un ar ei glin. Hi a'u cododd i fyny, ac a edrychodd yn astud arnynt—dirwynodd hwynt o gylch ei bysedd, a thaflodd olwg drallodus yn awr ac yn y man at ei thad.

"Dyma'n union y peth fum yn ofni," ebe Marie; "mae wedi bod yn difwyno fy iechyd i y naill ddiwrnod ar ol y llall, ac yn fy ngwisgo i lawr i'r bedd, er nad oes neb yn gofalu am hyny. Mi welais hyn er's llawer dydd. St. Clare, gewch chwi weled yn y diwedd mai fi oedd yn fy lle."

"Yr hyn fydd yn llawer o gysur i chwi, heb ddim amheuaeth," ebe St. Clare, yn fŷr ac yn chwerw.

Gorweddodd Marie ar ei chlustogau, a gorchuddiodd ei hwyneb â'i napcyn cambric.

Trodd Eva ei llygaid gleision o'r naill at y llall. Yr oedd yn edrychiad tawel enaid wedi ei haner ryddhau o'i rwymau daearol: ac yr oedd yn ddigon amlwg ei bod yn gweled ac yn teimlo'r gwahaniaeth rhwng y ddau. Hi a gododd ei llaw ar ei thad, yr hwn a ddaeth ac a eisteddodd yn ei hymyl.

"Papa, mae fy nerth i'n darfod bob dydd, ac mi wn y rhaid i mi fyned. Mae rhai pethau y dymunwn eu dweyd a'u gwneud, ac y dylwn eu gwneud; ond yr ydych chwi mor anfoddlon i mi siarad gair ar y mater yma. Eto y mae yn sicr o ddyfod; nid oes dim modd ei ysgoi. Gwnewch fod yn foddlon i mi siarad yn awr!"

"Yr *ydwyf* yn foddlon, fy mhlentyn anwyl," ebe St. Clare, gan guddio ei lygaid âg un law, a dal llaw Eva yn y llall.

"Wel, mae arnaf eisieu gweled ein pobl ni i gyd gyda'u gilydd. Mae genyf rai pethau ag y mae'n *rhaid* i mi eu dweyd wrthynt," eb Eva.

"*Wel!*" ebe St. Clare, mewn llais poenus. Gyrodd Miss Ophelia genad, ac yn fuan yr oedd pawb o'r gweinidogion yn yr ystafell.

Ymollyngodd Eva yn wysg ei chefn ar y clustogau, a'i gwallt yn hongian o gylch ei hwyneb; yr oedd gwrid ei hwyneb yn cyferbynu yn boenus â lliw gwyn ei chroen, a llymder ei haelodau a'i hwynebpryd, a'i llygaid mawrion, llawn o feddwl, yn tremio ar bob un o honynt.

Tarawyd y gweinidogion oll â syndod. Ei hwyneb angylaidd, y cudynau hirion o wallt wedi eu tori ac yn gorwedd o'i deutu, wyneb gorchuddiedig ei thad, a gruddfanau Marie,—

yr oedd y cwbl yn taro ar deimladau tyner y bobl fywiog hyn, fel yr edrychasant ar eu gilydd wrth ddyfod i mewn, gan ruddfan ac ysgwyd eu penau. Yr oedd yno ddistawrwydd fel dydd claddedigaeth.

Ymsythodd Eva, a syllodd yn hir ac yn ddifrifol ar bob un o gwmpas. Ymddangosent oll yn drist ac yn ofnus. Gorchuddiodd llawer o'r merched eu hwynebau â'u harffedogau.

"Mi yrais am danoch bob un, fy anwyl ffrindiau," eb Eva, "am fod yn dda genyf am danoch. Yr wyf yn eich caru bob un; ac y mae arnaf eisieu dywedyd rhywbeth ag y dymunwn i chwi ei gofio. . . . Yr wyf yn myned i'ch gadael. Yn mhen ychydig wythnosau eto, ni welwch ddim o honof fi mwy—"

Yma boddwyd ei llais yn hollol, yn nghanol gruddfanau ac ocheneidiau, a galarnadau, pob un oedd yn yr ystafell. Hi a arosodd am fynyd, ac yna, mewn llais a attaliodd bob sŵn, hi a ddywedodd—

"Os ydych yn fy ngharu i, rhaid i chwi beidio fy rhwystro fel yna. Gwrandewch ar yr hyn yr ydwyf yn ei ddweyd. Mae arnaf eisieu siarad wrthych am fater eich eneidiau. . . . Mae arnaf ofn fod llawer o honoch yn bur esgeulus. Nid ydych yn meddwl am ddim ond y byd yma. Mae arnaf eisieu i chwi gofio fod byd hapus yn bod, lle mae Iesu Grist. Yr wyf fi yn myned yno, a chwi allwch chwithau fyned yno; mae mor barod i chwi ag ydyw i minau. Ond os oes arnoch eisieu myned yno, rhaid i chwi beidio byw yn segur, yn ddifeddwl ac yn anystyriol; rhaid i chwi fod yn Gristionogion. Cofiwch y gall pob un o honoch fod yn angel, a pharhau yn angylion dros byth. . . . Os oes arnoch eisieu bod yn Gristionogion, fe rydd Iesu Grist help i chwi. Rhaid i chwi weddïo arno; rhaid i chwi ddarllen—"

Ymattaliodd y plentyn, ac edrychodd yn dosturiol arnynt, a dywedodd yn drist,

"Och fi! *ni fedrwch chwi ddim* darllen. Y trueiniaid gwirion!" a dododd ei hwyneb ar y glustog i wylo, hyd oni thynwyd ei sylw gan wylofain y rhai oedd yn penlinio o'i hamgylch.

"Na hidiwch," ebe hi, gan wenu yn siriol trwy ei dagrau, "mi weddïais drosoch; ac mi wn y gwna Iesu Grist eich cymhorth, serch na fedroch ddarllen. Ymegnïwch i wneud y goreu ag a alloch; gweddïwch bob dydd; gofynwch iddo Ef eich helpio, a mỳnwch rywun i ddarllen y Bibl mor aml ag y bo modd; a gobeithio y câf eich cyfarfod bob un yn y nefoedd."

"Amen," oedd yr atebiad distaw o enau Twm a Mammy, a rhai o'r hynaf, oedd yn perthyn i gapeli'r Methodistiaid. Ac yr oedd yr ieuainc gwâmal, ar y pryd, wedi eu llwyr orchfygu, yn llefain, a'u hwynebau yn blygedig ar eu gliniau.

"Mi wn," eb Eva, "eich bod oll yn fy ngharu."

"O, ydym, ydym yn wir. Yr Arglwydd a'i bendithio," oedd atebiad parod pawb o honynt.

"Ydych, mi wn eich bod. Nid oes dim un o honoch na buoch yn garedig iawn wrthyf fi, bob amser; ac y mae arnaf eisieu rhoddi rhyw beth i chwi i gofio am danaf, pan edrychoch arno. Yr wyf yn myned i roddi troellen o'm gwallt i bob un o honoch; a phan edrychoch arno, cofiwch fy mod yn eich caru, a fy mod wedi myned i'r nefoedd, a bod arnaf eisieu gweled pob un o honoch yno."

Mae'n anmhosibl darlunio'r olygfa, fel yr oeddynt, trwy lefau a dagrau, yn sefyll o amgylch y plentyn anwyl, ac yn derbyn o'i llaw yr hyn a ymddangosai iddynt fel arwyddion olaf ei chariad. Syrthiasant ar eu gliniau, dan wylo, gweddïo, a chusanu ymyl ei gwisg; a thraethai y rhai hynaf eiriau o serch ac anwyldeb, yn gymysg âg erfyniau a bendithion, yn ol ffordd eu pobl tyner-galon.

Fel ag y derbyniai pob un ei rodd, rhoddai Miss Ophelia iddynt arwydd i fyned allan, o herwydd yr oedd arni ofn fod yr holl ymdrech yma yn ormod i'r fechan wanllyd.

O'r diwedd yr oedd pawb ond Twm a Mammy wedi myned.

"F'ewythr Twm, dyma un braf i ti," eb Eva. "O, Twm, yr ydwyf mor hapus wrth feddwl y caf dy weled yn y nefoedd, o herwydd yr wyf yn sicr y câf; a Mammy hefyd; Mammy dda, garedig, anwyl!" ebe hi, gan daflu ei breichiau am wddf ei hen fammaeth. "Mi wn y byddwch chwithau yno hefyd."

"O, Miss Eva, fedra i ddim gwel'd sut i fyw hebddoch chi, ffordd yn y byd," ebe'r greadures ffyddlon. "Mae'n ymddangos fel myn'd â phobpeth o'r lle ar unwaith!" a syrthiodd Mammy i feichio crïo.

Gwthiodd Miss Ophelia hi a Thwm yn araf allan o'r ystafell, a meddyliodd fod pawb wedi myned; ond, wrth droi o gwmpas, hi a welai Topsy yn sefyll yno.

"O b'le do'ist ti?" ebe hi yn sydyn.

"Yr oeddwn i yma," ebe Topsy, gan sychu'r dagrau o'i llygaid. "O Miss Eva, mi fum yn lodes ddrwg; ond a rowch 'run i *minau* hefyd?"

"Gwnaf, Topsy bach! gwnaf siwr. Dyna—bob tro yr edrychi ar hwnyna, cofia mod i yn dy garu, ac yn dymuno i ti fod yn lodes dda!"

"O, Miss Eva! *'rydw i*'n treio!" ebe Topsy, yn ddifrifol. "Ond mae mor anodd bod yn dda; ni ddaru mi erioed arfer sut yn y byd."

"Mae'r Iesu'n gwybod, Topsy; mae'n teimlo drosot; ac fe rydd help i ti."

Aeth Miss Ophelia â Thopsy allan yn ddistaw, a'i 'ffedog ar ei hwyneb; ond wrth fyned, hi a guddiodd y cudyn anwyl yn ei mynwes.

Ar ol i bawb fyned, cauodd Miss Ophelia y drws. Sychodd y wraig dda yma lawer deigryn o'i heiddo ei hun yn ystod yr ymddiddan

ond ofn am yr effaith a gai yr ymdrech ar y fechan glaf oedd uchaf yn ei meddwl.

Bu St. Clare yn eistedd yn yr un agwedd trwy gydol yr amser, a'i law yn cysgodi ei lygaid. Ac eisteddodd felly ar ol iddynt oll fyned allan.

"Papa!" eb Eva, gan osod ei llaw yn ysgafn ar ei law yntau.

Neidiodd yntau yn sydyn gyda chryndod; ond nid atebodd air.

"Papa anwyl!" eb Eva.

"*Ni fedraf fi ddim,*" ebe St. Clare, gan godi ar ei draed. "*Ni fedraf fi ddim* dioddef hyn! Mae'r Hollalluog wedi ymddwyn *yn chwerw* iawn tu ag ataf fi!" a llefarodd y geiriau hyn gyda phwyslais chwerw, yn wir.

"Augustine! onid oes gan yr Arglwydd hawl i wneud fel y myno â'i eiddo ei hun?" ebe Miss Ophelia.

"Efallai hyny; ond nid yw hyna ddim yn gwneud yr ergyd yn ysgafnach," eb efe, mewn ysbryd caled a grwgnachlyd, gan droi draw.

"Papa, yr ydych yn tori nghalon i!" eb Eva, gan godi a thaflu ei hun i'w freichiau; "rhaid i chwi beidio teimlo fel yna," ac wylodd y plentyn yn y fath ffordd ag i'w dychrynu oll, a throdd meddyliau ei thad ar unwaith i redle gwahanol.

"Dyna, dyna, Eva anwyl! Hust, hust! yr oeddwn ar fai—yn feius iawn. Mi deimlaf fel y mynoch, mi wnaf fel y mynoch,—ond i chwi beidio lladd eich hun fel yna. Mi fyddaf foddlon; yr oeddwn ar fai siarad fel y gwneuthum."

Yn fuan iawn gorweddai Eva fel colomen luddedig ar fynwes ei thad; ac yntau, yn crymu drosti, ac yn ceisio ei thawelu trwy bob geiriau tyner a fedrai ddyfeisio.

Cyfododd Marie, ac aeth i'w hystafell ei hun, lle y bu, dros amser, o'r naill lewyg i'r llall.

"Ni roisoch ddim un cudyn i mi, Eva," eb ei thad, gyda gwên drymaidd.

"Chwi pia'r cwbl, papa," ebe hithau, dan wenu,—"chwi a mamma, a rhoddwch i modryb anwyl gymaint ag a fyno. Mi a'u rhoddais i'n pobl ni fy hunan, o herwydd chwi wyddoch, papa, y gallasent gael eu hanghofio ar ol i mi fyned, ac yr oeddwn yn disgwyl y gall fod yn help iddynt hwythau, druain, gofio. . . . Yr ydych chwi yn Gristion, onid ydych, papa?" eb Eva, yn amheus.

"Pa'm yr ydych yn gofyn?"

"Nis gwn i ddim. Yr ydych mor dda, ni fedraf fi ddim gweled sut y gallwch beidio bod."

"Beth ydyw bod yn Gristion, Eva?"

"Caru Iesu Grist yn fwy na neb arall," eb Eva.

"A ydych chwi yn gwneud felly, Eva?"

"O! ydwyf!"

"Ni welsoch chwi erioed mo hono," ebe St. Clare.

"Nid ydyw hyny ddim gwahaniaeth," eb Eva. "Yr wyf yn credu ynddo; ac yn mhen ychydig ddyddiau mi gaf ei *weled;*" a disgleirodd wyneb y plentyn gan lawenydd.

Aeth St. Clare yn fud. Yr oedd hwn yn deimlad a welsai o'r blaen yn ei fam; ond nid oedd yr un tant yn ateb i'r teimlad yn ei fynwes ef.

Gwanhaodd Eva ar ol hyn yn fuan iawn; ac nid oedd amheuaeth yn meddwl neb am yr hyn oedd wrth law; nis medrai'r gobaith mwyaf hoff gau llygad arno. Yr oedd ei hystafell harddwych yn ystafell claf-wely; ac yr oedd Miss Ophelia ddydd a nos yn llenwi lle'r fammaeth —ni welwyd ei gwerth erioed mor nodedig gan ei ffrindiau. Gyd â'i llaw a'i llygad parod, ei deheurwydd a'i chrynodeb yn mhob dyfais i ddarparu taclusrwydd a chysur, a chadw o'r golwg holl bethau annymunol afiechyd—gyd â'r fath gôf am amser a phrydiau, a'r fath ben goleu clir i gofio i'r fynyd i roddi'r cyffyriau, a chadw cynghorion y meddyg—yr oedd yn bob peth iddo. Ac addefwyd gan y sawl a ysgydwent eu penau ac a godent eu hysgwyddau, wrth weled y peth yma a'r peth arall ynddi mor hollol groes i ffordd ddiofal y deheu, mai hi oedd yr unig un ag oedd eisieu at y fath amgylchiad.

Yr oedd F'ewythr Twm yn aml yn ystafell Eva. Dioddefai y plentyn yn fawr gan wendid a phoen, ac yr oedd yn esmwythyd iddi gael ei chario o gwmpas; a dyma bleser penaf Twm, sef cludo'r fechan ar glustog yn ei freichiau, i fyny ac i lawr ar hyd yr ystafell, ac weithiau allan i'r verandah; a phan chwythai awel adfywiol oddiar y llyn, ac y teimlai'r plentyn yn lled fywiog yn y boreu, cymerai Twm hi yn ei freichiau dan y coed aur-afalau yn yr ardd, neu eisteddai â hi ar ei lin yn rhai o'u hen eisteddleoedd, a chanai iddi ei hymnau mwyaf dewisol.

Gwnai ei thad hefyd yr un peth yn fynych; ond yr oedd ef yn ysgafnach dyn, a phan flinai, dywedai Eva wrtho—

"O, papa, gadewch i Twm fy nghymeryd i. Druan o Twm! mae wrth fodd ei galon, a chwi wyddoch na fedr wneud dim arall i mi yn awr, ac y mae arno eisieu gwneud rhywbeth!"

"Felly mae arnaf finau, Eva," eb ei thad.

"Wel, papa, chwi allwch wneud pob peth, a chwi ydyw pob peth i mi. Yr ydych yn darllen i mi—yn eisiedd gyda mi'r nos—ond nid oes gan Twm ddim ond yr un gwaith yma, a chanu; ac y mae'n fy nghario yn esmwythach na chwi hefyd, o herwydd y mae mor gryf."

Ond nid Twm yn unig oedd yn dymuno bod o ryw wasanaeth iddi. Dangosai pob gweinidog o fewn y lle yr un awydd, a gwnaent gymaint ag a allent, bob un yn ei ffordd ei hun.

Yr oedd calon Mammy druan bron tori am

ei hanwyl blentyn; ond ni chai hamdden ddydd na nos, o herwydd yr oedd Marie yn dweyd fod ei meddwl yn y fath gyflwr fel na fedrai orphwyso, ac, felly, yr oedd yn groes i'w hegwyddorion hi i adael i neb arall orphwyso. Ugain waith mewn noswaith y byddai raid i Mammy godi i rwbio ei thraed, i wlychu ei phen, i estyn ei napcyn poced, i edrych beth oedd y sŵn oedd yn ystafell Eva, i ostwng cysgodlen am ei bod yn rhy oleu, neu i'w chodi am ei bod yn rhy dywyll; ac yn y dydd, pan geisiai gael ychydig fynydau gyd âg Eva, byddai Marie yn ddyfeisgar ryfeddol i'w chadw yn rhyw fan a phob man trwy'r tŷ, neu o'i hamgylch hi ei hun, fel na chai ond cip-olwg lladradaidd arni yn awr ac yn y man.

"Yr wyf yn teimlo ei bod yn ddyledswydd arnaf ofalu am danaf fy hun yn awr," meddai, "mor waeled ydwyf, a holl ofal ymgeleddu fy mhlentyn anwyl ar fy nwylaw."

"Aïe, yn wir!" meddai St. Clare; "Yr oeddwn i yn meddwl fod ein cyfnither wedi cymeryd y gofal hwnw oddi arnoch."

"Yr ydych chwi yn siarad gyda theimlad dyn, St. Clare; fel pe bai'n *bosibl* cymeryd gofal plentyn yn y cyflwr yna o law'r fam; ond, yr un fath ydyw pob peth—ni ŵyr neb faint wyf fi'n ddioddef. Ni fedraf fi ddim taflu pethau ymaith mor esmwyth ag y medrwch chwi."

Fe wênodd St. Clare. Rhaid i chwi ei esgusodi, nis medrai beidio—o herwydd gallai St. Clare edrych yn llawen er pob peth. Yr oedd mordaith olaf yr ysbryd bychan mor dawel a heulog, a'r fath awelon peraidd yn llanw hwyliau'r llestr bach yn ei dynesiad at ororau'r porthladd nefol, fel yr oedd yn anmhosibl teimlo mai angeu oedd yn nesâu. Nid oedd y plentyn mewn poen—dim ond gwendid esmwyth, tawel, yn cynyddu bob dydd bron heb yn wybod i neb; ac yr oedd hi mor brydferth, mor serchlawn, mor llawn o ymddiried ac mor hapus, fel nas gallai un lai na chyfranogi o'r teimlad tangnefeddus, a'r awyr o ddiniweidrwydd a heddwch yn mha un yr oedd yn byw ac yn bod. Teimlodd St. Clare ryw dawelwch annirnadwy yn dyfod trosto. Nid gobaith oedd—yr oedd hyny yn beth anmhosibl; nid ymfoddloniad mo hono ychwaith; ond gorphwysiad tawel yn yr amser presenol, yr hwn oedd mor ddymunol fel na chwennychai feddwl am amser i ddyfod. Yr oedd fel y tawelwch ysbryd a deimlir yn nghanol coedwig ddisglaer euraidd yn yr Hydref, pryd y mae twymyn darfodedigaeth ar y dail ac ar y blodau yn ymyl y nant; ac yr ydym yn ymlòni yn fwy ynddynt, am y gwyddom y byddant yn fuan allan o'n golwg.

Y ffrind a wyddai fwyaf am feddyliau a disgwyliadau Eva, oedd ei chludydd ffyddlon, Twm. Dywedai wrtho ef yr hyn ni fỳnai drallodi ei thad wrth ei ddweyd. Ni chelai rhagddo deimladau dirgelaidd yr enaid, fel yr oedd ei gadwynau wrth y corph yn cael eu dadglymu, ac yntau ar adael y tŷ o glai.

O'r diwedd, ni chysgai Twm yn ei ystafell ei hun, ond gorweddai trwy'r nos ar y verandah, i fod o fewn cyrhaedd pob galwad.

"F'ewythr Twm," ebe Miss Ophelia, "pa beth sydd wedi taro yn dy ben i gysgu yn rhyw fan neu bobman, fel un o'r cŵn? Yr oeddwn i'n meddwl dy fod yn un o'r bobl reolaidd sy'n hoff o gysgu mewn gwely, yr un fath a Christion."

"Felly'r ydwyf, Miss Pheeli," ebe Twm, yn ddistaw. "Yr ydwyf—ond yn awr—"

"Wel, beth sy'n awr?"

"Rhaid i ni beidio siarad yn uchel; ni fŷn Mas'r St. Clare ddim ei glywed; ond, Miss Pheeli, wyddoch rhaid fod rhywun i wylio am y priodfab."

"Beth wyt ti'n feddwl, Twm?"

"Wyddoch fod y gair yn deud, 'Ac ar haner nos y bu gwaedd, Wele, mae'r priodfab yn dyfod.' Dyna beth ydw' i'n ddisgwyl 'rwan, bob nos, Miss Pheeli—ac fedrwn i ddim cysgu allan o glyw, sut yn y byd."

"Beth sy'n peri i ti feddwl hyny, F'ewythr Twm?"

"Mae Miss Eva yn deud i mi. Fydd yr Arglwydd yn anfon cenad at yr enaid! Rhaid i mi fod yno, Miss Pheeli; o herwydd pan elo'r plentyn bendigedig yna i'r deyrnas, fe agorir y drws mor llydan, fel y cawn ni i gyd olwg ar y gogoniant, Miss Pheeli."

"F'ewythr Twm, fu Miss Eva yn dweyd ei bod yn wànach heno nag arferol?"

"Naddo; ond mi ddeudodd bore heddyw fod yr amser yn agos—mae rhywrai yn deud wrth y plentyn, Miss Pheeli. Yr angylion sy'n deud—'llais yr udgorn gyd â'r wawr,'" ebe Twm, yn ngeiriau un o'i hymnau dewisol.

Digwyddodd yr ymddiddan yma rhwng Miss Ophelia a Thwm rhwng deg ac un-ar-ddeg un noswaith, ar ol gorphen pob peth am y nos, pan wrth fyned i folltio'r drws allan y canfu Twm ar ei hyd wrtho yn y verandah.

Nid oedd Miss Ophelia yn wàn nac yn ofnus; ond syrthiodd geiriau Twm, yn ei ddull sobr a theimladwy, yn ddwfn i'w meddwl. Buasai Eva yn hynod o siriol trwy'r prydnawn, ac eisteddasai i fyny yn ei gwely, i edrych dros ei dewisol bethau, ac i nodi allan pwy oedd i'w cael; yr oedd ei dull yn fwy bywiog, a'i llais yn fwy naturiol nag y buasai er's wythnosau. Bu ei thad gyda hi fin nos, a dywedodd ei bod yn debycach iddi ei hun nag y gwelsai hi er dechreuad ei selni; a phan gusanodd hi wrth ganu noswaith dda, efe a ddywedodd wrth Miss Ophelia—"Nghyfnither, hwyrach y gallwn ei chadw, ar ol y cwbl; mae'n sicr yn well;" ac aeth i'w wely gyda chalon ysgafnach yn ei fynwes nag yr aethai er's wythnosau.

Ond ar haner nos—awr ryfeddol a thywyll, yn mha un y mae'r llen rhwng bywyd brau a thragywyddoldeb yn hynod o deneu—yna daeth y genad!

Yr oedd sŵn cerddediad buan yn yr ystafell. Miss Ophelia ydoedd, yr hon a benderfynasai wylio trwy'r nos gyd â'i hanwylyd fechan, ac ar droad yr amser hi a ganfu yr hyn a elwir gan fammaethod cyfarwydd yn "gyfnewidiad." Agorwyd y drws allan yn union, ac yr oedd Twm wrth law mewn moment.

"Dos i alw'r meddyg, Twm! paid â cholli mynyd," ebe Miss Ophelia, a chan groesi'r ystafell hi a gurodd wrth ddrws St. Clare.

"Nghefnder," ebe hi, "dowch yma'n union."

Syrthiodd y geiriau ar ei galon fel tywarchen ar arch. Paham? Yr oedd i fyny ac yn yr ystafell ar amrantyn, ac yn plygu uwch ben Eva, yr hon oedd yn parhau i gysgu.

Pa beth a ganfu i beri i'w galon beidio curo? Paham na siaradodd y ddau? Ti a elli ddweyd, yr hwn a welaist yr un wedd ar y gwyneb anwylaf genyt—yr olygfa annesgrifiadol, ddiobaith, ddi-gamgymeriad, sy'n dweyd wrthyt nad eiddot ti mwyach mo'r un sydd anwylaf gan dy galon.

Ond nid oedd argraph gwelw angeu ar wyneb y plentyn—dim ond golygfa angylaidd—cysgodion presenoldeb bodau ysbrydol, gwawriad bywyd tragywyddol yn enaid y fechan.

Safasant yno mor ddistaw, gan syllu arni, fel yr oedd hyd yn nod tic y watch yn sŵn rhy uchel. Yn mhen ychydig fynydau daeth Twm a'r doctor i mewn. Efe a aeth at y gwely, ac ar ol un cip-olwg, safodd yn fud fel y lleill.

"Pa bryd y cymerodd y cyfnewidiad yma le?" eb efe, yn ddistaw, wrth Miss Ophelia.

"Tua throad y nos," oedd yr atebiad.

Clywodd Marie y doctor yn dyfod i mewn, a rhuthrodd atynt o'r ystafell nesaf.



"Augustine! Nghyfnither! Oh, beth?" hi a ddechreuodd mewn brys a thwrw.

"Hust!" ebe St. Clare, yn gryglais, "*mae yn marw!*"

Clywodd Mammy'r gair, a rhedodd i alw y gweinidogion. Yr oedd yr holl dŷ ar droed yn fuan—gwelid goleu a chlywid sisial, ac ymdyrai wynebau trallodus i'r verandah, i yspio trwy eu dagrau yn nghil y drysau; ond ni chlywodd ac ni ddywedodd St. Clare ddim—ni welodd ddim ond yr *olwg hono* ar wyneb y cysgadur bach.

"O! na b'ai ddim ond deffro, a siarad gair unwaith eto!" eb efe; ac efe a ddywedodd yn ei chlust,—"Eva bach!"

Agorodd y llygaid mawrion gleision—aeth gwên dros ei hwyneb; a cheisiodd godi ei phen a siarad.

"Wyddoch chwi pwy sydd yma, Eva?"

"Papa anwyl," ebe'r plentyn, a chyda'r ymdrech olaf hi a daflodd ei breichiau am ei wddf. Llaciodd ei gafael mewn moment, a phan gododd St. Clare ei ben, efe a welai'r gwyneb yn gwelwi yn nhagfa marwolaeth—hi a daflodd ei breichiau i fyny, gan ymdrechu am anadl.

"O Dduw! mae hyn yn arteithiol!" eb efe, gan droi draw mewn cyfyngder enaid, a gwasgu llaw Twm, heb wybod yn iawn beth oedd yn wneud. "O, Twm, machgen i, mae hyn yn fy lladd i!"

Daliodd Twm afael yn llaw ei feistr; ac, â'r dagrau yn rhedeg dros ei ruddiau duon, efe a edrychodd i fyny am help o'r lle y deuai ei gymhorth bob amser.

"Gweddïa am i hyn gael ei dori yn fyr?" ebe St. Clare, "mae yn dirdynu fy nghalon i!"

"O! diolch i'r Arglwydd—mae drosodd—mae'r cwbl drosodd, mas'r anwyl," ebe Twm; "edrychwch arni."

Gorweddai y plentyn ar ei chlustogau fel un wedi ei gwisgo allan—y llygaid mawrion disglaer yn tremio ar un man. Ah, pa beth oedd llefariad y llygaid hyny a ddywedasant gymaint am y nefoedd? Yr oedd daear a'i phoen wedi myned heibio; ond yr oedd disgleirdeb buddugoliaethus y wynebpryd hwnw mor sobr ac mor annirnadwy, fel ag yr attaliodd ffrydiau galar. Ymdyrasant o'i hamgylch mewn ofn anadlu o'r braidd.

"Eva!" ebe St. Clare, yn ddistaw.

Ni chlywodd ddim.

"O Eva, dywedwch wrthym pa beth a welwch! Beth ydyw?" eb ei thad.

Aeth gwên siriol a gogoneddus dros ei hwyneb, a hi a ddywedodd bob yn air—"O! gariad—gorfoledd—tangnefedd!" a chyd âg un uchenaid, hi aeth trwodd o farwolaeth i fywyd.

"Ffarwel, blentyn anwyl! mae'r drysau disglaer tragwyddol wedi cau o'th ol; ac ni chawn weled dy wyneb hawddgar mwy. O! gwae iddynt hwy a'th welsant yn ehedeg i ogoniant, a phan ddeffrôant na chânt ddim ond awyr oeraidd y bywyd hwn, a thithau wedi eu gadael am byth!"

## PENNOD XXVII.

"DYMA'R OLAF O BETHAU'R DDAEAR."—
*John Q. Adams.*

Yr arluniau a'r cerfwaith yn ystafell Eva a orchuddid â napcynau gwynion, ac ni chlywid yno ddim ond anadliad distaw a cherddediad esmwyth, a thywynai y goleuni yn drymaidd trwy ffenestri haner agored.

Gorchuddid y gwely â llïan gwyn, ac yno, oddi tan lun yr angel, y gorweddai'r un fechan yn nghwsg—cwsg heb iddo ddeffroad!

Dyna lle gorweddai, mewn gwenwisg a wisgid ganddi yn ei bywyd, a'r lliw rhosynaidd a deflid gan lèni'r ffenestri yn adlewyrchu megys gwrid cynhesol ar oerni rhewlyd marwolaeth. Disgynai yr aeliau trymion yn esmwyth ar y grudd claerwyn; a gorweddai ei phen ychydig ar un ochr, megys mewn hûn naturiol, ond yr oedd yn argraphedig ar bob llinell o'i hwynebpryd, yr olygfa nefolaidd, y cymhlethiad o orfoledd a thangnefedd, a ddangosai mai nid cwsg amserol a daearol ydoedd, ond yr hûn faith a chyssegredig, "a rydd Efe i'w anwylyd."

Nid oes farwolaeth i'th fath di, Eva anwyl! na thywyllwch na chysgod angeu; dim ond machludiad tawel, fel y machluda'r seren foreu ar doriad gwawr euraidd y dydd. Cefaist ti'r fuddugoliaeth heb y frwydr—y goron heb y groes.

Felly y meddyliai St. Clare, pan safai yno i syllu arni, â'i freichiau yn mhleth. Ah! pwy all ddweyd pa beth oedd yn ei feddwl? o herwydd o'r awr hòno pan y dywedodd lleisiau yn ystafell y marw, "y mae wedi myned," bu oll yn niwl caddugol iddo, yn llwyth trwm o "ofid anaele." Clywsai bobl yn llefaru o'i amgylch; gofynasid cwestiynau iddo, ac atebodd hwynt; gofynasent iddo pa bryd y mŷnai i'r claddedigaeth fod, a pha le y caent ei chladdu; ac atebodd hwynt yn ofidus, nad oedd wahaniaeth ganddo.

Trefnwyd yr ystafell gan Adolph a Rosa; ac er eu bod yn ysgafn, yn wamal, ac yn blentynaidd yn gyffredin, eto yr oeddynt yn awr yn feddal-galon ac yn deimladwy; a thra yr oedd Miss Ophelia yn arolygu trefn a chrynodeb y cwbl, eu dwylaw hwy a 'chwanegent yr addurniadau cywrain, destlus, a llawn o chwaeth, yr hyn a gymerodd ymaith lawer o'r prudd-der sydd yn rhy fynych i'w weled yn ystafell y marw yn Lloegr Newydd.

Yr oedd eto rosynau ar y shilffoedd—oll yn wynion, yn brydferth, ac yn bêr-aroglaidd, a'u dail yn hongian yn gywrain. Ar fwrdd bychan Eva, â llïan gwyn drosto, gwelid ei vase fwyaf dewisol, ac un rhosyn gwyn ynddi. Yr oedd plygion y cysgod-lèni, a thro ad y gorchuddion, oll wedi eu gwneud a'u dad-wneud, a'u gwneud drachefn, gan Adolph a Rosa, â holl chwaeth gelfydd eu pobl. Ac yn awr, tra'r ydoedd St. Clare yn sefyll yn syn-fyfyriol, daeth Rosa yn ddistaw i'r ystafell â basgedaid o rosynau gwynion. Tynodd yn ol pan welodd St. Clare, a safodd yn ostyngedig; ond pan ganfu nad oedd yn ei gweled, hi a aeth yn mlaen, ac a'i gosododd o amgylch y farw. Gwelodd St. Clare hi megys mewn breuddwyd, tra yr oedd yn gosod yn ei llaw fechan jessamine melynwyn, ac yn trefnu y blodau ereill yn gywrain o gwmpas ei gwely.

Agorwyd y drws drachefn, ac ymddangosodd Topsy, â'i llygaid yn chwyddedig gan wylo, ac yn dal rhywbeth dan ei 'ffedog. Amneidiodd Rosa arni'n sarug am fyned allan; ond hi a ddaeth gam i mewn i'r ystafell.

"Rhaid i ti fyn'd allan," ebe Rosa, mewn llais isel a phenderfynol; "nid oes gen't *ti* ddim busnes yma!"

"O, gadewch i mi! Mae gen' i rosyn—un mor glws!" ebe Topsy, gan ddal i fyny rosyn coch bychan ar haner agor; "Gadewch i mi osod un yna."

"Dos o'na!" ebe Rosa, yn fwy penderfynol.

"Gâd lonydd iddi," ebe St. Clare, gan daro ei droed yn y llawr. "Hi gaiff ddyfod."

Aeth Rosa ymaith ar ffrwst, a daeth Topsy â'i hoffrwm yn mlaen, a gosododd ef wrth draed y corph; yna gyd âg wylofain a gruddfanau, hi a daflodd ei hun ar y llawr wrth ochr y gwely, ac a ddechreuodd feichio crïo.

Brysiodd Miss Ophelia i'r ystafell, a cheisiodd ei chodi a'i distewi; ond yn ofer.

"O Miss Eva! O Miss Eva! Mae arnaf ina' eisio marw! oes y mae!"

Yr oedd math o wylltineb treiddiol yn ei llefau; a rhuthrodd y gwaed i wyneb gwŷn mynoraidd St. Clare, a safodd y deigryn cyntaf yn ei lygad er pan fuasai farw Eva.

"Cwyd i fyny, blentyn," ebe Miss Ophelia, mewn llais tynerach. "Paid â chrïo. Y mae Miss Eva yn y nefoedd; mae hi'n angel."

"Ond ni fedraf fi weled mo'ni," ebe Topsy. "Ni châf byth mo'i gweled!" a thorodd allan drachefn.

Safasant oll yn fud am fynyd.

"Mi ddeudodd *hi* ei bod yn *fy ngharu*," ebe Topsy,—"do, mi ddaru! O dear! nid oes *neb* 'rwan—nac oes *neb!*"

"Mae hyna'n ddigon gwir," ebe St. Clare; "ond ymdrechwch dawelu'r beth wirion," eb efe wrth Miss Ophelia.

"F'asai'n dda gen i pe na b'aswn 'rioed wedi ngeni," ebe Topsy. "Nid oedd arnaf ddim eisio ngeni, ffordd yn y byd, ac ni welaf fi ddim lles ynddo."

Cododd Miss Ophelia hi'n esmwyth, ond yn ddiwegi, ac aeth â hi allan o'r ystafell; eto syrthiodd rhai dagrau o'i llygaid ar y ffordd.

"Topsy, mhlentyn anwyl i," ebe hi, wrth ei

chymeryd i'w hystafell, "paid â thori dy galon, mi fedraf fi dy garu, er nad wyf fel y plentyn anwyl yna. Yr wyf yn gobeithio i mi ddysgu rhywfaint o gariad Crist ganddi. Mi fedraf fi dy garu, ac yr wyf yn dy garu, ac mi ymdrechaf dy ddwyn i fyny yn lodes dda Gristionogol."

Yr oedd llais Miss Ophelia yn fwy na'i geiriau; a mwy na hyny oedd y dagrau gonest a redasant dros ei gruddiau. O'r mynyd hwnw hi a ennillodd ddylanwad ar feddwl y plentyn amddifad na chollodd mo hono byth.

"O fy Eva! yr hon y gwnaeth dy awr fêr ar y ddaear gymaint o ddaioni; pa gyfrif sy genyf fi i'w roddi am fy holl flynyddoedd meithion!" ebe St Clare wrtho ei hun.

Tros ychydig, bu sibrwd distaw a cherddediad ysgafndroed yn yr ystafell, fel yr oedd y naill ar ol y llall yn yspïo i mewn i edrych ar y corph; yna daeth yr arch fechan; ac wedi hyny y cynhebrwng, a cherbydau yn gyru at y porth, a dieithriaid yn dyfod i mewn ac yn eistedd; ac yna scarffs a ribanau gwynion, ysgwyddogau o grâp, a galarwyr mewn crâp du; a darllenwyd adnodau o'r Bibl, ac offrymwyd gweddïau, ac aeth St. Clare trwy y cwbl fel un yn byw, symud, ac yn bod, fel un wedi tywallt pob deigryn a feddai. Hyd y diwedd ni welai ddim ond un peth, y pen euraidd yn yr arch; ond yn awr gwelodd y llïan yn cael ei daenu drosto, a'r caead yn cael ei sicrhau; a cherddodd, pan osodwyd y corphyn yn ymyl rhai ereill mewn llànerch fechan yn ngwaelod yr ardd, ac yno, wrth droed y boncyn mwsoglaidd lle yr eisteddasai Twm a hithau i ymddiddan, a chanu, a darllen mor fynych, yno y cloddiasid ei bedd bychan. Safodd St. Clare ar fin y bedd —ac edrychodd arno megys yn ddiarwybod; gwelodd yr arch fechan yn cael ei gollwng i'r gwaelod, a chlywodd y geiriau sobr, "Myfi yw yr Adgyfodiad a'r Bywyd; yr hwn sy'n credu ynof fi, er iddo farw, a fydd byw;" ac fel yr oeddynt yn taflu'r dyrnaid o bridd i mewn, ac yn llenwi'r bedd, prin y medrai goelio mai ei Eva ef oeddynt yn guddio o'r golwg.

Ac nid hi oeddynt yn guddio—nid Eva, ond hedyn gwàn y corph anfarwol, yn yr hwn y daw allan yn nydd yr Arglwydd Iesu!

Yna aeth pawb i'w fan, a'r galarwyr i'r lle nad adwaenai mo honi mwy; cauwyd y goleuni allan o ystafell Marie, ac yno y gorweddai ar ei gwely, yn cwyno ac yn ochain, mewn galar didor, ac yn galw bob mynyd am wasanaeth yr holl weinidogion. Nid oedd ganddynt hwy amser i wylo, mae'n debyg—pa'm y rhaid iddynt? ei galar *hi* oedd y galar, ac yr oedd yn eithaf sicr yn ei meddwl na ddarfu neb erioed, na fedrai neb, ac na wnai neb byth deimlo fel yr oedd hi'n teimlo.

"Nid oedd St. Clare yn colli deigryn," meddai; "nid oedd ganddo ddim teimlad drosti hi rhyfedd iawn mor ddi-deimlad a chalon-galed ydoedd, ac yntau'n gwybod gymaint oedd hi'n ddioddef."

Ac y mae rhai bobl gymaint slafiaid i'r llygad a'r glust, fel ag yr oedd llawer o'r gweinidogion yn meddwl mai missis oedd yn dioddef fwyaf ar yr achlysur, yn enwedig pan ddechreuodd Marie fyned i'w hysterics, a gyru am y meddyg, a dweyd o'r diwedd ei bod yn marw; ac yn y rhedeg a'r rhowtio, a chludo poteli poethion, a thwymno gwlaneni, a rhwbio, a'r stŵr, yr oedd yno ddigon o amrywiaeth yn yr amgylchiad.

Ond yr oedd teimlad yn nghalon Twm yn ei dynu ar ol ei feistr. Canlynai ef yn ei holl rodfeydd, yn isel a phendrist; a phan welai ef yn eistedd yn ystafell Eva, ac yn dal ei Bibl bach yn agored o'i flaen, er na welai na gair na llythyren o hono, yr oedd dyfnach gofid, yn ngolwg Twm, yn y llygad sych, sŷn, a syml hwnw, nag yn holl floeddio a llefain Marie.

Yn mhen ychydig ddyddiau symudodd teulu St. Clare i'r ddinas; canys yr oedd galar dwfn Augustine yn gofyn am ryw ddeniadau gwahanol i'w feddwl. Felly, gadawsant y tŷ, a'r ardd, a'r bedd bychan, a daethant drachefn i New Orleans; cerddodd St. Clare yn brysur ar hyd yr heolydd, a cheisiodd lenwi'r gwaglo yn ei fynwes trwy ymgymysgu â'r byd, a newidiad lle; ac ni wyddai'r sawl a'i cyfarfyddent yn yr heol neu yn y gwestdy, ddim am ei golled, ond trwy'r crâp ar ei het; o herwydd yno byddai'n siarad yn llawen, yn darllen y papyr: au newyddion, yn ymgomio ynghylch pethau gwladwriaethol, ac yn trin materion masnachol; a phwy allai weled nad oedd yr holl wenau allanol hyn ddim ond crystyn teneu dros galon mor dywyll a distaw a'r bedd?

"Dyn rhyfedd iawn ydyw St. Clare," ebe Marie wrth Miss Ophelia, mewn llais cwynfanus. "Mi fyddwn yn meddwl os oedd dim ar wyneb y ddaear yr oedd yn ei garu, mai ein Heva fach oedd y gwrthddrych; ond ymddengys ei fod yn ei hanghofio yn esmwyth iawn. Ni fedrwn i yn fy myw gael ganddo siarad yn ei chylch. Yn wir yr oeddwn yn meddwl y dangosai fwy o deimlad."

"'Dwfr araf rêd ddyfnaf,'—dyna fel y clywais i," ebe Miss Ophelia, fel oracl.

"O nid wyf fi yn coelio ddim o'r fath beth, lol i gyd. Os bydd gan bobl deimlad, hwy a'i dangosant—ni fedrant mo'r help; ond ar yr un pryd mae'n anffortunus iawn fod gan un deimlad. Fuasai yn well genyf fi fod fel St. Clare. Mae fy nheimladau yn fy ngwisgo allan yn lân!"

"Yn wir, missis, mae mas'r St. Clare mor d'neued a chysgod. Mae nhw'n deud nac ydi yn bytta dim," ebe Mammy. "Mi wn nad ydi yn gollwng Miss Eva yn anghof; mi wn i na

fedrai neb—y gredures fach, anwyl, fendigedig," ebe hi, gan sychu ei llygaid.

"Wel, sut bynag, nid yw yn teimlo dim dros-of fi," ebe Marie; "ni ddywedodd un gair o gyd-ymdeimlad wrthyf, a rhaid ei fod yn gwybod fod mam yn teimlo yn llawer llymach nag y modr unrhyw ddyn."

"Pob calon ŵyr ei dolur ei hun," ebe Miss Ophelia, yn sobr.

"Dyna'n union fy meddwl inau. Mi wn sut yr wyf yn teimlo—nid ymddengys fod neb arall yn gwybod. Byddai Eva yn gwybod—ond y mae hi wedi ein gadael!" a gorweddodd Marie ar y soffa, a dechreuodd wylo yn dòr-calonus.

Yr oedd Marie yn un o'r marwolion anffortunus hyny yn ngolwg pa rai y mae yr hyn a gollir yn ymddangos yn llawer mwy gwerthfawr na'r hyn fo yn eu meddiant. Pa beth bynag oedd ganddi, ei gwaith fyddai nodi beiau ynddo; ond unwaith yr âi o'i dwylaw, nid oedd derfyn ar ei werth.

Tra'r oedd yr ymddiddan yma yn myned yn mlaen yn y parlwr, yr oedd un arall yn myned yn mlaen yn llyfrgell St. Clare.

Yr oedd Twm, yr hwn a ddilynai ei feistr o amgylch, gyda math o anesmwythyd, wedi ei weled yn myned i'w lyfrgell, rai oriau o'r blaen; ac wedi hir ddisgwyl yn ofer am iddo ddyfod allan, penderfynodd wneud neges i fyned i mewn. Agorodd y drws yn ddistaw. Yr oedd St. Clare yn gorwedd ar y soffa yn y pen pellaf. Gorweddai â'i wyneb i lawr, a Bibl Eva yn agored o'i flaen, ychydig oddi wrtho. Cerddodd Twm i fyny, a safodd wrth y soffa. Petrusodd braidd; a thra bu yn petruso, neidiodd St. Clare i fyny. Sylwodd ei feistr ar ei wyneb gonest, mor llawn o ofid, a chyd â'r fath agweddiad ymbiliol o serch a chyd-ymdeimlad. Gafaelodd yn llaw Twm, a phlygodd ei dalcen arni.

"Oh Twm, machgen i, mae'r holl fyd mor wag a phlisgyn ŵy."

"Mi wn ei fod, mas'r—mi wn ei fod," ebe Twm. "Ond, oh, pe b'ai mas'r ddim ond edrych i fyny—i fyny lle mae Miss Eva bach—i fyny at yr Arglwydd Iesu anwyl."

"Ah, Twm! yr wyf yn edrych i fyny; ond y gwaethaf ydyw, ni welaf fi ddim er edrych. Gwyn fyd na fedrwn weled!"

Ocheneidiodd Twm yn drymaidd.

"Ymddengys fod plant, a chreaduriaid tlodion, gonest, fel tydi, Twm, yn gweled yr hyn na fedrwn ni ei weled," ebe St. Clare. "Sut mae hyny yn bod?"

"Ti a'u 'cuddiaist rhag y rhai doethion a'r deallus, ac a'u datguddiaist i rai bychain,'" ebe Twm, yn arafaidd. "'Ie, O Dad, canys felly y rhyngodd bodd yn dy olwg di.'"

"Twm, nid wyf fi ddim yn credu—ni fedraf ddim credu; yr wyf yn arfer ammeu," ebe St. Clare. "Mae arnaf eisieu credu y Bibl yma, ond ni fedraf fi ddim."

"Mas'r anwyl, gweddiwch ar yr Arglwydd,—'Arglwydd, yr wyf yn credu; cymhorth fy anghrediniaeth.'"

"Pwy ŵyr ddim am ddim yn y byd?" ebe St. Clare, drwyddo'i hun, a'i lygaid yn troi yn freuddwydiol. "A oedd yr holl gariad a ffydd hawddgar yna ddim ond un o agweddau cyfnewidiol teimladau daearol, heb ddim sylweddol i orphwys arno, ond yn myned heibio gyd â'r anadliad plentynaidd? Ac a oes 'run Eva—'run nefoedd—na Christ—na dim yn y byd?"

"O mas'r anwyl, oes! Mi wn i fod; yr wyf fi'n sicr fod," ebe Twm, gan syrthio ar ei liniau. "Gwnewch gredu, mas'r, gwnewch!"

"Sut y gwyddost ti fod Crist, Twm? Ni welaist ti erioed mo'r Arglwydd."

"Mi teimlais ef yn f'enaid, mas'r—teimlaf ef 'rwan! O, mas'r, pan werthwyd fi oddiwrth ff'hen wraig a'r plant, fu agos i mi dori i fyny. Mi deimlas fel pe na b'asai dim byd wedi adel; pryd hyny safodd yr Arglwydd o mhlaid i, ac mi ddeudodd, 'Nac ofna, Twm;' ac mi ddaeth goleuni a llawenydd i galon creadur tlawd—yn gneud y cwbl yn dangnefedd: ac yr ydw i mor hapus, mewn cariad â phawb, ac yn fodlon i fod yn eiddo'r Arglwydd, a gneud ewyllys yr Arglwydd, a bod lle bynag y bo yr Arglwydd yn dewis. Mi wn na ddoisa'r fath beth o honof fi, o herwydd creadur tlawd, cwynfanus ydwyf; oddiwrth yr Arglwydd y daeth hyn; ac mi wn ei fod yn barod i neud yr un peth i mas'r."

Rhedai'r dagrau'n hidl dros wyneb Twm wrth siarad. Crymodd St. Clare ei ben ar ei ysgwydd, a gwasgodd ei law galed, ddu, ffyddlon.

"Mae'n dda genyt ti am danaf fi, Twm," eb efe.

"'Rydw i'n fodlon i roi mywyd i lawr, heddyw, i wel'd mas'r yn Gristion."

"Y creadur gwirion," ebe St. Clare, gan haner godi, "nid wyf yn werth cariad un galon dda a gonest fel yr eiddot ti."

"O, mas'r, mae un mwy na fi yn eich caru—mae'r Iesu bendigedig yn eich caru."

"Pa fodd y gwyddost hyny, Twm?"

"Mae f'enaid i'n teimlo hyny. O, mas'r, 'mae cariad Crist uwchlaw pob gwybodaeth.'"

"Peth rhyfedd," ebe St. Clare, gan droi draw, "fod hanes dyn fu byw a marw ddeunaw cant o flynyddoedd yn ol, yn dal hyd heddyw i gael y fath effaith ar bobl! Ond nid dyn oedd," eb efe, yn sydyn. "Ni bu gan un dyn erioed y fath ddylanwad bywiol! O na fedrwn gredu'r hyn a ddysgais gan fy mam, a gweddio fel y gallwn pan yn fachgenyn!"

"Os gwel mas'r fod yn dda," ebe Twm, "fyddai Miss Eva yn darllen hwn mor anwyl. Fyddai'n dda gen i pe b'ai mas'r yn ei ddarllen.

'Does neb yn darllen i mi ar ol colli Miss Eva."

Y bennod oedd yr unfed-ar-ddeg o Ioan—yr hanes effeithiol am godi Lazarus. Darllenodd St. Clare hi yn uchel, ond gyda llawer o ymdrech i gadw i lawr deimladau a gyfodid gan ddylanwad yr hanes. Penliniodd Twm o'i flaen, â'i ddwylaw yn mhleth, a gwedd ei wyneb tawel yn dangos cariad, ymddiried, a defosiwn.

"Twm," eb ei feistr, "y mae hyn oll yn *wir* i ti!"

"Mi fedraf ei *weled* â'm llygad, mas'r," ebe Twm.

"Fuasai'n dda genyf gael dy lygaid di, Twm."

"O na b'ai'r Arglwydd anwyl yn eu rhoddi i mas'r!"

"Ond, Twm, ti wyddost y gwn i fwy o lawer na thydi; a beth pe bawn i yn dweyd nad wyf yn credu'r Bibl yma?"

"O, mas'r," ebe Twm, gan ddal ei ddwylaw i fyny mewn dychryn.

"A wnai hyny ddim siglo tipyn ar dy ffydd di, Twm?"

"Ddim mymryn," ebe Twm.

"Pa'm, Twm? ti wyddost mai fi sy'n gwybod fwyaf!"

"O, mas'r, onid ydych newydd ddarllen, sut y mae Efe yn cuddio rhag y doeth a'r deallus, ac yn datguddio i rai bychain. Ond nid oedd mas'r ddim o ddifrif, oedd e," ebe Twm, yn bryderus.

"Nac oeddwn ddim, Twm. Nid wyf yn anghredu, ac yr wyf yn meddwl fod rheswm dros gredu. Arferiad gâs sy genyf, Twm."

"Pe b'ai mas'r ddim ond gweddïo!"

"Sut y gwyddost ti nad wyf yn gweddïo, Twm?"

"Ydi mas'r?"

"Mi wnawn, pe b'ai yno rywun pan weddiwyf; ond siarad wrth ddim yn y byd ydyw fy ngweddi i. Ond tyred, Twm, gweddïa di, a dangos i mi sut y mae gwneud."

Yr oedd calon Twm yn llawn; a thywalltodd ei weddi fel dyfroedd ar ol hir grôni. Yr oedd un peth yn ddigon eglur, sef fod Twm yn meddwl fod rhywun yn gwrando, pa un a oedd ai peidio. Yn wir, teimlodd St. Clare ei hun yn cael ei gludo ar lanw ffydd a theimlad, bron at byrth y nef a ddychymygid ganddo mor danbeidiol. Ymddangosai ei fod yn cael ei ddwyn yn nês at Eva.

"Diolch i ti, machgen i," ebe St. Clare, pan gododd Twm. "Mae'n dda genyf dy glywed di, Twm; ond dos yn awr, a gâd fi wrthyf fy hun; rywbryd arall mi siaradaf 'chwaneg."

Aeth Twm yn ddistaw allan o'r ystafell.

---

## PENNOD XXVIII.

### AIL-UNDEB.

Llithrodd wythnos ar ol wythnos heibio yn mhalasdy St. Clare, a'r lle y suddasai'r bâd bychan a orchuddiwyd gan donau llifeiriol y bywyd hwn, yn gymhwys fel arferol. Mor awdurdodol, mor oeraidd, y mae gyrfa galed, ddideimlad, annyddorol pethau'r bywyd hwn yn myned yn mlaen, er gwaethaf ein holl deimladau! Eto rhaid i ni fwyta ac yfed, a chysgu, a deffroi drachefn—eto fargenio, prynu, gwerthu, gofyn ac ateb holiadau—yn fyr, dylyn mil o gysgodau, er fod pob difyrwch ynddynt wedi myned heibio; y mae'r arferiad oeraidd, a llafurus o fyw yn aros, wedi i holl ddyddordeb byw ffoi ymaith.

Yr oedd holl ofal a gobaith St. Clare wedi ymddirwyn yn ddiarwybod o amgylch ei blentyn. Er mwyn Eva y triniai ei eiddo; er mwyn Eva y trefnai ei amser; ac i wneuthur hyn a'r llall i Eva—i brynu, i ddiwygio, i gyfnewid, a threfnu erddi hi—a fuasai yn arferiad ganddo cyhyd, nes yn awr, wedi ei cholli, ymddangosai fel pe nad oedd ganddo ddim i feddwl am am dano nac i'w wneuthur.

Gwir, yr oedd bywyd arall—bywyd, os unwaith y credir ynddo, a saif yn ddelw arwyddocaol o flaen pethau diddym yr amser presenol, gan eu troi i ddefnyddiau o werth dirgeledig, annhraethadwy. Gwyddai St. Clare hyn yn dda; ac yn fynych, mewn llawer awr flinderus, clywai y llais dystaw plentynaidd yn ei alw fry, a gwelai y llaw fach hono yn pwyntio iddo ffordd y bywyd; ond yr oedd rhyw hun-glwyf o dristwch trwm yn gorwedd arno—nis gallai gyfodi. Yr oedd ganddo un o'r naturiaethau hyny a allent amgyffred am bethau crefyddol yn well ac yn eglurach oddiwrth ei dirnadaeth a'i greddf ei hun, na llawer Cristion gwirioneddol ac ymarferol. Y mae'r ddawn i werthfawrogi a'r syniad i deimlo perthynasau manylaf a phuraf pethau moesol, yn ymddangos yn aml yn briodoledd o eiddo y bobl hyny, holl fywyd pa rai sy'n dangos diofalwch diystyriol am danynt. Oddiar hyny y mae Moore, Byron, a Goethe, yn fynych yn dywedyd geiriau sydd yn desgrifio gwir deimlad crefyddol yn ddoethach na dyn arall sydd â'i holl fywyd dan lywodraeth y teimlad hwnw. Y mae diystyrwch o grefydd, yn y fath feddyliau, yn fradwriaeth mwy dychrynllyd—yn bechod mwy marwol.

Ni chymerasai St. Clare arno erioed ei fod yn cael ei lywodraethu gan rwymedigaeth crefyddol; a rhyw goethder yn ei anian a roddai iddo fath o olygiad greddfol o helaethder gofynion y grefydd Gristionogol, nes oedd yn cilio, yn mlaen llaw, oddiwrth yr hyn a deimlai a ofynid ganddo yn ei gydwybod ei hun, os penderfynai unwaith eu cymeryd i fyny. Mae'r

natur ddynol mor annghyson, yn enwedig yn y meddwl dychymygol, nes y mae'n ystyried mai gwell peidio cymeryd peth mewn llaw, na'i gymeryd a bod yn fyr yn y cyflawniad.

Eto, yr oedd St. Clare yn awr yn ddyn gwahanol ar amryw gyfrifon. Darllenai Fibl ei Eva anwyl yn sobr ac yn onest; meddyliai yn fwy difrifol ac ymarferol am ei ddyledswyddau tuag at ei weinidogion—digon i'w wneud yn dra anfoddlawn i'w ymddygiad blaenorol a phresenol; ac un peth a wnaeth, yn fuan wedi ei ddychweliad i New Orleans, ydoedd dechreu parotoadau cyfreithlon tuag at roddi ei ryddid i Twm, yr hyn oedd i gael ei berffeithio mor gynted ag y gellid myned trwy'r ffurfiau anghenrheidiol. Yn y cyfamser yr oedd yn hoffi Twm yn fwy-fwy bob dydd. Nid oedd dim yn yr holl fyd a ddygai Eva i'w gof mor fynych; a mynai ei gadw yn wastadol o'i amgylch, ac er mor ochelgar a dyeithrol ydoedd mewn perthynas i'w feddyliau dwyseiddiaf, yr oedd mewn ystyr yn meddwl yn uchel yn nghlyw Twm. Ac ni sỳnai neb wrth hyny, pan welent gyda'r fath serch a ffyddlondeb y gweinyddai Twm yn barhaus i'w feistr ieuanc.

"Wel, Twm," ebe St. Clare, y dydd ar ol dechreu parotoi ei ryddhad; "yr ydwyf fi'n myned i dy wneud di yn ddyn rhydd; felly pacia i fyny dy drwnc, a gwna dy hun yn barod i gychwyn i Kentucky."

Tywynodd llewyrch disymwth yn ngwyneb Twm fel yr oedd yn codi ei ddwylaw tua'r nef, ac yn dywedyd gyda phwyslais, "Bendigedig fyddo yr Arglwydd!" yr hyn a barodd ychydig o gyffro i St. Clare; nid oedd yn gwbl foddlon fod Twm mor barod i ymadael âg ef.

"Ni chefaist y fath amser drwg iawn yma ag y dylit fod mor llawen, Twm," eb efe, yn sychlyd.

"Nage, nage, mas'r! nid hyny ydi'r peth—cael bod yn *ddyn rhydd!* Am hyny'r ydw' i'n llawenychu."

"Onid wyt ti'n meddwl Twm, o'th ran dy hun, dy fod wedi bod yn well allan na phe buasit yn rhydd?"

"*Nac ydw'n wir*, Mas'r St. Clare," ebe Twm, yn danbaid. "Nac ydw'n wirionedd ina!"

"Paham, Twm, ni allasit byth enill y fath ddillad a'r fath fywioliaeth oddiwrth dy waith ag a gefaist genyf fi."

"Yr ydw' i'n gwybod hyny i gyd, Mas'r St. Clare; mae mas'r wedi bod yn rhy dda; ond, mas'r fydda'n well gen i gael y dillad gwaelion, tŷ gwael, pobpeth gwael, a'u cael yn *eiddo fy hun*, na chael y gore, yn perthyn i rywun arall; mi *fydda*, mas'r; yr ydw' i'n meddwl fod hyny yn naturiol, mas'r!"

"Mae'n debyg, mai felly y mae, Twm; ac y byddi yn myn'd ac yn fy ngadael i yn mhen oddeutu mis," ychwanegodd, yn anfoddog. "Ond, dyn a'i gŵyr, nis gwn i pa'm na ddylit," eb efe, mewn tôn ysgafnach; a chan godi i fyny, dechreuodd rodio ar hyd y llawr.

"Nid tra b'o mas'r mewn trwbwl," ebe Twm. "Mi rosaf fi gyda mas'r mor hired ag y byddo arno fy eisio—os gwna hyny ryw dd'ioni iddo."

"Nid tra byddwyf fi mewn trallod, Twm?" ebe St. Clare, gan edrych allan trwy'r ffenestr yn bruddaidd. "A pha bryd bydd fy nhrallod i drosodd?"

"Pan ddaw Mas'r St. Clare yn Gristion," ebe Twm.

"Ac yr ydwyt yn wir yn meddwl aros gyda mi nes y daw y diwrnod hwnw?" ebe St. Clare, gan haner gwenu, fel yr oedd yn troi oddiwrth y ffenestr, ac yn gosod ei law ar ysgwydd Twm. "Ah, Twm, y bachgen gwirion! ni chadwaf mo honot hyd y diwrnod hwnw. Dos adref at dy wraig a'th blant, a chofia fi yn garedig atynt oll."

"Mae gen i ffydd i gredu y daw y diwrnod hwnw," ebe Twm, yn ddifrifol, â dagrau yn ei lygaid; "y mae gan yr Arglwydd waith i mas'r."

"Gwaith, aie!" ebe St. Clare; "wel, Twm, dyro i mi dy olygiadau ar ba waith ydyw; gad i mi glywed."

"Wel, mae gen gradur tlawd fel fi waith oddiwrth yr Arglwydd; a Mas'r St. Clare, yr hwn sydd ganddo ddysgeidiaeth, a chyfoeth, a chyfeillion—gymint a fedra efe wneud dros yr Arglwydd!"

"Twm, yr wyt yn meddwl fod ar yr Arglwydd angen am lawer iawn o waith i gael ei wneud drosto," ebe St. Clare, dan wenu.

"Yr ydym yn gneud dros yr Arglwydd pan f'om yn gneud dros ei greduriaid," ebe Twm.

"Difinyddiaeth dda, Twm; gwell nac y mae Dr. B. yn ei bregethu, mi dyngaf," ebe St. Clare.

Yma torwyd ar yr ymddyddan trwy ddyfodiad rhyw ddyeithriaid.

Yr oedd Marie St. Clare yn teimlo y golled o Eva mor ddwys ag y medrai deimlo unpeth; a chan ei bod yn ddynes a chanddi ddawn mawr i wneuthur pawb yn annedwydd pan fyddai hi felly, yr oedd gan y gweinidogion nesaf ati resymau cryfach fyth i ofidio am y golled o'u meistres ieuanc, ffordd dden-gar ac eiriolaeth hynaws yr hon a'u hachubasant mor aml rhag gormes a hunanolrwydd ei mam. Yn enwedig yr oedd yr hen Fammy dlawd, wedi ei gwahanu oddiwrth bob rhwymyn teuluaidd, a ymgysurai yn yr unig beth prydferth hwn, yn mron tori ei chalon. Wylai nos a dydd, ac o herwydd ei dirfawr dristwch, nid oedd mor fedrus a bywiog ag arferol i weinyddu i'w meistres, yr hyn a dynai i lawr ar ei phen dinodded dymhestl o eiriau câs.

Teimlodd Miss Ophelia hefyd y golled; ond,

yn ei chalon dda gywir hi, dygodd ffrwyth i fywyd tragywyddol. Yr oedd yn fwy tyner, yn fwy addfwyn; ac er ei bod yn llawn mor ddiwyd yn mhob dyledswydd, eto yr oedd yn myned yn mlaen gyda gwedd ddarostyngedig, dawel, fel un wedi cymuno â'i chalon ei hun nid yn ofer. Yr oedd yn fwy diwyd yn ei gwaith o ddysgu Topsy—dysgai hi yn benaf allan o'r Bibl—nid oedd mwyach yn cilio rhag cyffwrdd â hi, nac yn dangos rhyw oerni tuag ati, canys nid oedd yn teimlo felly. Edrychai arni'n awr trwy y cyfrwng esmwyth a ddaliasai llaw Eva gyntaf o flaen ei llygaid, ac ni welai ynddi ond creadur anfarwol, a anfonasid gan Dduw i'w harwain ganddi hi i rinwedd ac i ogoniant. Ni ddaeth Topsy yn sant ar unwaith; ond yr oedd bywyd a marwolaeth Eva wedi gweithio cyfnewidiad amlwg ynddi. Yr oedd y difaterwch caled wedi ei symud; yn awr yr oedd teimlad, gobaith, dymuniad ac ymdrech at ddaioni—ymdrech afreolaidd, attaliedig, ac yn sefyll yn fynych, ond drachefn yn cael ei adnewyddu.

Un diwrnod, pan anfonasai Miss Ophelia am Topsy, daeth dan wthio rhyw beth yn brysur i mewn i'w mynwes.

"Beth wyt ti'n 'neud yna, yr un front? Mi ro 'ngair dy fod wedi dwyn rhyw beth," ebe Rosa fach awdurdodol, yr hon a anfonasid i'w galw, gan ymaflyd ynddi yn ffyrnig gerfydd ei braich.

"Dos di ffwrdd, Miss Rosa!" ebe Topsy, gan ymdynu oddiwrthi; "'dydi o ddim o dy fusnes di!"

"Dim o dy dafod ti!" ebe Rosa. "Mi gwelis i di'n cuddio rhwbeth—mi wn i dy dricia di;" a chymerodd Rosa afael yn ei braich, a cheisiodd wthio ei llaw i'w mynwes, ond Topsy, wedi cyffroi yn ddigllon, a giciodd ac a ymladdodd yn ddewr dros yr hyn a ystyriai yn eiddo iddi. Dygodd y dwndwr a'r terfysg Miss Ophelia a St. Clare i'r fan.

"Mae hi wedi bod yn lladrata," ebe Rosa.

"Nac ydw' i ddim!" crochlefai Topsy, gan grïo o wylltineb.

"Dyro i mi hwnyna, beth bynag ydyw," ebe Miss Ophelia, yn bendant.

Safodd Topsy; ond ar ail orchymyn, tynodd allan o'i mynwes barselyn bychan wedi ei wneud i fyny yn nhroed un o'i hen hosanau.

Troes Miss Ophelia y cynwysiad allan. Yr oedd yno lyfr bychan a roddasid i Topsy gan Eva, âg ynddo adnod o'r Ysgrythyr am bob dydd o'r flwyddyn, ac mewn papyr yr oedd cudyn dolenog o wallt a roddasid iddi y diwrnod hwnw na anghofiai byth, pan ffarweliodd â hi am y tro olaf.

Effeithiodd yr olwg yn ddwys ar St. Clare; yr oedd y llyfr bychan wedi ei lapio mewn llain o grâp du a rwygasid oddiwrth y galarwe angladdol.

"I ba beth y lapiaist ti *hwn* am y llyfr?" ebe St. Clare, gan ddal i fyny y crâp.

"Am—am—am mai crâp ar ol Miss Eva oedd o. O, peidiwch 'i cym'ryd nhw ffwrdd, os gwelwch yn dda!" ebe hi; ac eisteddodd ar y llawr, gan roddi ei 'ffedog dros ei phen, a chrïo yn dost.

Yr oedd hon yn rhyw gymysgfa ryfedd o'r serch gynhyrfiol a'r digrifol—yr hen hosan fechan—y crâp du—y llyfr adnodau—y cudyn crych, teg, esmwyth—a thrallod eithaf Topsy.

Gwenodd St. Clare; ond, â dagrau yn ei lygaid, dywedodd—

"Tyr'd, tyr'd—paid a chrio; ti a'i cei bob un o honynt," a chan eu gosod hwynt yn nghyd, taflodd hwynt ar ei glin, a thynodd Miss Ophelia gydag ef i'r parlwr.

"Yr wyf fi'n meddwl mewn gwirionedd y medrwch wneuthur rhyw beth o'r creadur yna," ebe efe, gan gyfeirio dros ei ysgwydd â'i fawd. "Y mae unrhyw feddwl fo'n agored i *wir dristwch*, yn agored i ddaioni. Mae'n rhaid i chwi ymdrechu gwneud rhyw beth o honi."

"Y mae'r plentyn wedi gwellhau llawer," ebe Miss Ophelia. "Y mae genyf fi obaith go gryf am dani; ond, Augustine," ebe hi, gan osod ei llaw ar ei ysgwydd, "mae arnaf eisiau gofyn un peth; plentyn pwy ydyw hon i fod? yr eiddoch chwi, ynte yr eiddof fi?"

"Pa beth! oni roddais hi i *chwi?*" eb Augustine.

"Ond nid yn ol y gyfraith; yr wyf yn chwenych ei chael yn eiddo i mi fy hun yn gyfreithlon," ebe Miss Ophelia.

"Whiw! fy nghares," ebe Augustine, "pa beth a feddylia'r Gymdeithas i Ryddhau'r Caethion? Hwy-a fynant ddydd o ympryd o herwydd y gwrthgiliad yma, os deuwch yn berchen caethion!"

"O, nonsens! yr ydwyf fi am ei chael i mi fy hun, fel y byddo genyf fi hawl i'w chymeryd i'r Talaethau Rhyddion, a'i dwyn o'i chaethiwed, fel na ddad-wneir y cwbl yr wyf yn ymdrafferthu i'w wneuthur."

"Ofnadwy! fy nghares; 'gwneuthur drwg fel y dêl daioni?' ni fedraf yn fy myw gefnogi hyn."

"Nid cellwair sydd arnaf fi eisiau, ond rhesymu," ebe Miss Ophelia. "Nid yw ond oferedd i mi geisio gwneud y plentyn yma yn Gristion, oddieithr i mi ei thynu yn llwyr o grafangau caeth-wasanaeth; ac os ydych yn wir-ewyllysgar i mi ei chael hi, yr ydwyf yn dymuno arnoch roddi i mi weithred o anrheg, neu ryw bapyr cyfreithlon."

"Wel, wel," ebe St. Clare, "mi wnaf hyny;" a dadblygodd bapyr newydd, ar fedr ei ddarllen.

"Ond mae arnaf eisiau i chwi ei wneud yn awr," meddai Miss Ophelia.

"Beth yw'r brys sydd arnoch?"

"Oblegid mae yr awr hon yw yr unig amser sicr i wneuthur unpeth ynddo," ebe Miss Ophelia. "De'wch, fy nghefnder, dyma bapyr, pin, ac inc; tarewch ati, ac ysgrifenwch."

Yr oedd St. Clare, fel y rhan fwyaf o ddynion o'r cyfryw anian, yn casau o'i galon yr amser presenol o weithredu; gan hyny, yr oedd penderfyniad Miss Ophelia yn peri cryn anesmwythder iddo.

"Beth yw'r blinder sydd arnoch?" eb efe; "onid yw fy ngair yn ddigon? Meddyliai dyn eich bod wedi cael gwers gan yr Iuddewon, yn dyfod ar fy nghefn fel yna!"

"Y mae arnaf fi eisiau gwneud y peth yn sicr," ebe Miss Ophelia. "Dichon i chwi farw, neu syrthio i ryw ddyryswch, ac yna gyrid Topsy i'r ocsiwn, er gwaethaf pob peth a wnelwn i."

"Mewn gwirionedd, yr ydych yn rhag-ddarbodol i'r eithaf. Wel, gan fy mod yn nwylaw Yankee, mae'n debyg nad oes dim i'w wneud am dani ond ufuddhau." Ac ysgrifenodd St. Clare weithred o anrheg, yn gyflym, yr hyn nid oedd ond gwaith digon rhwydd iddo ef, o herwydd ei fod yn dra hyddysg yn ffurfiau y gyfraith; a rhoddodd ei enw wrthi, mewn llaw frâs, a chwafer fawr wrth y gynffon.

"Dyna i chwi! onid yw hyna'n ddu a gwyn, 'rwan, Miss Vermont?" eb ebe, gan roddi'r weithred yn ei llaw.

"Da machgen i," ebe Miss Ophelia, dan wenu. "Ond, oni ddylai gael tyst wrthi?"

"O, plâg arnoch chwi!—dylai. De'wch yma, Marie," eb efe, gan agor drws ystafell ei wraig; "y mae fy nghares eisiau eich llaw-ysgrif; tarewch eich enw i lawr yna."

"Beth yw hwn?" ebe Marie, gan redeg dros y papyr. "Ffolineb! Yr oeddwn i'n tybied fod ein cares yn rhy dduwiol i wneud peth mor erchyll a hwn!" gan ysgrifenu ei henw, yn ddiofal; "ond os ydyw hi'n chwenychu'r fath dlysyn, mae iddi gan' croesaw o hono."

"Dyna hi, yrwan, yn eiddo chwi, gorph ac enaid," ebe St. Clare, gan estyn iddi'r papyr.

"Nid yw hi fwy yn eiddo i mi yn awr nac o'r blaen," ebe Miss Ophelia. "Nid oes gan neb hawl i'w rhoddi i mi ond Duw; ond yn awr, mi fedraf ei hamddiffyn."

"Wel, chwychwi a'i pia trwy ryw ffug-gyfraith, ynte," ebe St. Clare, gan droi ei gefn a myned i'r parlwr; ac eisteddodd i lawr wrth ei bapyr newydd.

Wedi rhoddi y weithred heibio yn ofalus, dylynodd Miss Ophelia ef i'r parlwr, am mai anfynych yr eisteddai yn nghymdeithas Marie.

"Augustine," ebe hi yn ddisymwth, gan eistedd i lawr i weu, "a wnaethoch chwi unrhyw ddarpariaeth gogyfer â'ch gweinidogion, gyda golwg ar eich marwolaeth?"

"Naddo," ebe St. Clare, gan fyned yn mlaen gyda'i ddarllen.

"O ganlyniad dichon y bydd i'ch holl dynerwch tuag atynt hwy brofi yn greulondeb yn y man."

Meddyliasai St. Clare ei hun yr un peth lawer gwaith; ond atebodd yn ysgafn—

"Yr wyf yn bwriadu gwneud darpariaeth, rywbryd."

"*Pa* bryd?" meddai Miss Ophelia.

"O, ryw ddiwrnod."

"Beth pe byddai i chwi farw cyn hyny."

"Fy nghares, beth yw'r mater?" ebe St. Clare, gan roddi ei bapyr i lawr ac edrych arni. "A ydych yn meddwl fod rhywbeth i'w weled ynof fel y clefyd melyn neu'r colera marwol, ag sy'n peri i chwi wneud parotoadau gyda'r fath awyddfryd?"

"'Yn nghanol ein bywyd yr ydym mewn angeu,'" ebe Miss Ophelia.

Cyfododd St. Clare i fyny, rhoddodd ei bapyr o'r neilldu, a cherddodd yn esgeulus tua'r drws oedd yn agor ar y verandah, i roddi pen ar ymddyddan ag oedd yn anhyfryd iddo. Fel yr oedd yn sefyll â'i bwys ar y ganllaw, adroddodd ynddo ei hun y gair olaf—"*Angeu;*" a syllodd ar y dwfr gwreichionog yn pistyllio i fyny o'r ffynon; edrychodd ar y llestri gwychion yn y cyntedd yn llawn o flodau a llysiau; ac ail-adroddodd y gair tywyll hwnw, mor gyffredin yn mhob genau—ond eto o'r fath bwys arswydus —"ANGEU!" "Rhyfedd fod y fath air," eb efe, "a'r fath beth, ac eto yr ydym yn barhaus yn ei annghofio; fod dyn yn fyw, yn gynhes ac yn brydferth, yn llawn gobaith, dymuniadau, ac angenion heddyw, ac yfory wedi myned, wedi myned ymaith yn llwyr, ac am byth!"

Prydnawn claear, euraidd ydoedd; ac fel yr oedd yn rhodio tua phen draw y verandah, gwelai Twm, yn darllen ei Fibl yn fanwl, ac yn cyfeirio â'i fys at air ar ol gair, a'u sisial wrtho ei hun, gyda gwedd sobr.

"Oes arnat ti eisiau i mi ddarllen i ti, Twm?" ebe St. Clare, gan eistedd yn fwynaidd wrth ei ochr.

"Os gwel mas'r yn dda," ebe Twm, yn ddiolchgar; "mae mas'r yn ei wneud gymaint yn eglurach."

Cymerodd St. Clare y llyfr yn ei law, a dechreuodd ddarllen un o'r ymadroddion a nodasai Twm â marciau o'u hamgylch. Rhedai fel hyn:—

"A Mab y dyn, pan ddel yn ei ogoniant, a'i holl angylion sanctaidd gydag ef, yna yr eistedd ar orseddfainc ei ogoniant; a chyd-gesglir ger ei fron ef yr holl genedloedd; ac efe a'u didola hwynt oddiwrth eu gilydd, fel y didola y bugail y defaid oddiwrth y geifr." Darllenodd St.

Clare yn ei flaen yn fywiog hyd nes y daeth at yr adnodau olaf:—

"Yna y dywed y Brenin wrth y rhai ar ei law aswy, Ewch oddiwrthyf rai melldigedig, i'r tân tragywyddol; canys bu'm newynog, ac ni roisoch i mi fwyd: bu arnaf syched, ac ni roisoch i mi ddiod: bu'm ddyeithr, ac ni'm dygasoch gyda chwi: noeth, ac ni'm dilladasoch: yn glaf, ac yn ngharchar, ac nid ymwelsoch â mi. Yna yr atebant iddo, gan ddywedyd, Arglwydd, pa bryd y'th welsom yn newynog, neu yn sychedig, neu yn ddyeithr, neu yn noeth, neu yn glaf, neu yn ngharchar, ac ni weiniasom i ti? Yna yr etyb efe iddynt, gan ddywedyd, Yn gymaint ac nas gwnaethoch i'r rhai lleiaf hyn, nis gwnaethoch i minau."

Ymddangosai St. Clare megys wedi ei bigo gan yr ymadrodd olaf hwn, canys darllenodd ef drosodd ddwywaith—yr ail dro yn arafaidd, fel pe buasai'n troi'r geiriau drosodd yn ei feddwl.

"Twm," eb efe, "ymddengys i mi fod y bobl hyn sy'n ei chael hi mor dost wedi gwneud yn union fel finau—byw yn dda, yn esmwyth, ac yn barchus; heb ymdrafferthu na holi pa nifer o'u brodyr oedd yn newynog, yn sychedig, neu yn glaf, neu yn ngharchar."

Ni atebodd Twm un gair.

Cyfododd St. Clare i fyny, a cherddodd yn ol ac yn mlaen yn fyfyrgar ar hyd y verandah, ac ymddangosai fel wedi annghofio pob peth allanol, ac fod ei feddyliau wedi ymgrynhoi yn hollol ynddo ei hun; yr oedd mor sŷn-fyfyriol nes gorfu ar Twm goffhau iddo ddwywaith ganiad y gloch dê.

Yr oedd St. Clare yn ddystaw, ac megys yn myfyrio'n ddwys trwy'r holl amser y bu wrth ei dê. Wedi darfod, cymerodd ef, a Marie, a Miss Ophelia feddiant yn y parlwr agos mewn dystawrwydd.

Aeth Marie i orwedd ar ei soffa, â llen rwyllog o sidan drosti i'w dyogelu rhag y mosquitos, a chysgodd yn ebrwydd. Aeth Miss Ophelia yn mlaen gyda'i gwaith gweu. Eisteddodd St. Clare wrth y piano, a dechreuodd chware rhyw dôn bruddaidd. Edrychai yn sobr, ac megys yn ymddyddan âg ef ei hun mewn peroriaeth. Yn mhen enyd agorodd drôr, a thynodd allan lyfr miwsig â'i ddalenau wedi melynu gan oedran, a dechreuodd eu troi drosodd.

"Edrychwch," eb efe wrth Miss Ophelia, "un o lyfrau fy mam oedd hwn, a dyma ei llaw-ysgrifen hi. Copïodd a threfnodd y tonau hyn allan o gân-wasanaeth Mozart. Canai hwynt yn fynych; ac yr ydwyf yn dychymygu fy mod yn ei chlywed yn awr."

Tarawodd ar ychydig o dannau ardderchog, a dechreuodd ganu y darn godidog hwnw, y "Dies Iræ,"—Dydd Digofaint.

Nesaodd Twm yn mlaen, yr hwn oedd wedi bod yn gwrando oddiallan, a safodd yn ddifrifol. Ni ddeallai un gair; ond yr oedd y miwsig a'r dull o ganu yn cael effaith ddwys arno, yn enwedig y rhanau mwyaf cynhyrfiol. Teimlasai Twm yn ddwysach fyth pe buasai yn deall meddwl y geiriau prydferth—

"Recordare, Jesu pie,
Quod sum causa tuæ viæ,
Ne me perdas illa die:
Quærens me sedisti lassus
Redemisti crucem passus,
Tantus labor non sit cassus."*

Taflodd St. Clare ryw deimlad tra dwfn a phwysig i mewn i'r geiriau, ac ymddangosai fod lleni tywyll blynyddau meithion yn cael eu symud o'r neilldu, ac fod llais ei fam yn ei arwain. Yr oedd yr offeryn a'r llais yn llawn bywyd, ac yn dwyn allan yn rymus a chyddeimladol y peroriaeth a ddychymygwyd gan y nefolaidd Mozart fel yn farwnad iddo ei hun.

Wedi i St. Clare ddarfod, eisteddodd am fynyd â phwys ei ben ar ei law, ac yna dechreuodd gerdded yn ol ac yn mlaen ar hyd y llawr.

"Y fath ddychymyg gogoneddus yw hwn am ddydd y farn!" ebe St. Clare, "Uniawnu holl gamweddau cenedlaethau!—deongli, gyda doethineb anwrthwynebol, bob amheuon bywyd! Yn wir, mae yn ddychymyg rhyfeddol!"

"Un arswydus i ni ydyw," ebe Miss Ophelia.

"Dylai fod felly i mi, mae'n debyg," ebe St. Clare, gan ymattal, yn fyfyrgar. "Yr oeddwn yn darllen i Twm heddyw y bennod hono sydd yn Matthew sy'n rhoi hanes am hyn, a tharawyd fi â syndod. Gallesid dysgwyl fod rhyw gyhuddiad ofnadwy yn erbyn y rhai a gedwir allan o'r nefoedd, megys rheswm am hyny; ond na, dim o'r fath beth, condemnir hwynt am *beidio* gwneud rhyw ddaioni pendant, fel pe buasai'r holl niwed yn gynwysedig yn hyn."

"Efallai na ddichon i ddyn nad yw yn gwneuthur dim daioni beidio gwneud drwg," ebe Miss Ophelia.

"Ond," ebe St. Clare wrtho ei hun, gyda theimlad dwys, "pa beth a ddywedir am y dyn y galwyd arno, yn ofer, gan ei galon, ei ddysgeidiaeth, ac angenion ei gyd-greaduriaid, i ryw waith defnyddiol; yr hwn sy' wedi bod yn hwylio yn mlaen, yn freuddwydiol, yn edrychwr difater ar ymdrechiadau, poenau, a chamwedd dyn, pan y dylasai fod yn weithiwr?"

"Mi feddyliwn i," ebe Miss Ophelia, "y dylai edifarhau a dechreu yn awr."

"Yn ymarferol ac i'r pwrpas, bob amser!" ebe St. Clare, dan wenu. "Nid ydych byth

* Dyma gyfieithiad, lled drwsgl, o'r llinellau Lladin uchod:—

"Cofia, Iesu, 'r poen a'r gofid
Gefaist yma yn y byd,
Ac yn awr gyfyngaf bywyd,
Rho olwg ar dy angeu drud!
Ceisiaist fi mewn tlodi a lludded,
Ar fy rhan ceist chwerw loes;
Na foed ofer ffrwyth dy gariad,
Na foed ofer gwaed dy groes."

yn gadael i mi hamdden i fyfyrdodau cyffredinol, fy nghares; yr ydych bob amser yn fy nwyn ger bron y presenol a'r gweithredol; y mae genych ryw *yn awr* yn eich meddwl bob amser."

"*Yn awr* ydyw yr holl amser sydd genyf fi i'w wneud âg ef," ebe Miss Ophelia.

"Eva bach anwyl—y plentyn diniwed!" ebe St. Clare; "yr oedd wedi gosod ei henaid bach syml ar waith da i mi."

Dyma'r tro cyntaf, er marwolaeth Eva, y dywedodd gynifer o eiriau am dani, a gwelid yn amlwg ei fod yn ceisio ffrwyno teimladau dwys.

"Y fath yw fy ngolygiadau i am Gristionogaeth," eb efe, "nas gall neb ei phroffesu'n gyson heb daflu holl bwys ei fodoliaeth yn erbyn y gyfundrefn erchyll hon o annghyfiawnder sy'n gorwedd o dan sylfaen ein holl gymdeithas; ac, os bydd angenrhaid colli ei fywyd yn y frwydr. Hyny yw, nis gallwn *i* fod yn Gristion mewn un modd arall, er fy mod wedi ymdrin â llawer iawn o Gristionogion goleuedig, y rhai na wnant ddim o'r fath beth; ac yr wyf yn gorfod cyfaddef fod oerfelgarwch pobl grefyddol ar y mater hwn, a'u diffyg o weled y camweddau, a'm llanwant i â dychryn, wedi creu ynof fwy o anffyddiaeth nac unpeth arall."

"Os oeddych yn gwybod hyn oll," ebe Miss Ophelia, "paham na wnaethoch yn amgen?"

"O, am nad oedd genyf fi ond y fath ewyllys da ag sydd yn gynwysedig mewn gorweddian ar y soffa, a rhegu'r eglwys a'r offeiriaid am nad oeddynt yn ferthyron ac yn gyffeswyr. Mae'n hawdd iawn i ddyn weled, chwi wyddoch, fel y dylai *eraill* fod yn ferthyron."

"Wel, a ydych chwi yn myned i wneud yn well yn awr?" ebe Miss Ophelia.

"Duw yn unig a ŵyr y dyfodol," ebe St. Clare. "Yr ydwyf yn ddewrach nag oeddwn, o herwydd fy mod wedi colli'r cwbl; a'r hwn nid oes ganddo ddim a all fentro pobpeth."

"A pha beth ydych am wneud?"

"Fy nyledswydd, gobeithio, i'r tlawd a'r isel, mor fuan ag y medraf eu cael allan," ebe St. Clare, "gan ddechreu gyda'm gweinidogion fy hunan, dros ba rai ni wnaethum ddim hyd yma; ac fe allai, ryw amser a ddaw, y gallaf wneud rhywbeth dros gymdeithas gyfan; rhyw beth i achub fy ngwlad rhag gwaradwydd y sefyllfa dwyllodrus y mae'n sefyll ynddi ger bron pob cenedl wareiddiedig ar y ddaear."

"A ydych yn tybied y gwna cenedl byth, o'u gwirfodd, ryddhau eu caethion!" ebe Miss Ophelia.

"Yn wir nis gwn i," ebe St. Clare. "Amser rhyfedd yw hwn. Y mae arwriaeth hunan-aberthiad yn tarddu i fyny ymà ac acw ar hyd y ddaear. Mae pendefigion Hungary wedi rhyddhau miliynau o'u caeth-weision, er colled fawr i'r perchenogion; ac fe allai y ceir yn ein plith ninau rai pobl o ysbryd haelionus, nad ydynt yn prisio anrhydedd a chyfiawnder yn ol hyn a hyn o arian."

"Prin yr ydwyf fi'n credu hyny," ebe Miss Ophelia.

"Ond beth pe byddai i ni gyfodi i fyny yfory a rhyddhau, pwy a addysgai y miliynau hyn, a'u hyfforddi i wneud iawn-ddefnydd o'u rhyddid? Ni ddeuent byth i fod o nemawr les yn ein plith ni. Yn wir yr ydym yn rhy ddiog a diymadferth ein hunain i roddi iddynt un math o ddychymyg am y diwydrwydd a'r ymdrech sy'n angenrheidiol i'w gwneud yn ddynion. Bydd raid iddynt fyned i'r gogledd, lle y mae llafur yn ddefod—yn ymarferiad cyffredinol; a dywedwch i mi'n awr, a oes digon o gariad Cristionogol yn mhlith eich talaethau gogleddol i gyd-ymddwyn â'r gwaith o'u haddysgu a'u cyfodi? Yr ydych yn anfon miloedd o ddoleri i genadaethau tramor. Ond a fedrech chwi oddef i'r paganiaid gael eu hanfon i'r dinasoedd a'r pentrefydd, a rhoddi eich amser, eich meddyliau, a'ch arian, i'w cyfodi i fyny yn gyd-wastad â phrawf-reol Cristionogaeth? Dyna'r peth sydd arnaf eisiau ei wybod. Os rhyddhawn ni, a ydych chwi yn foddlon i addysgu? Pa faint o deuluoedd yn eich tref chwi a gymerai ddyn a dynes ddu i mewn, a'u hyfforddi, a chyd-ddwyn â hwynt, a cheisio eu gwneud yn Gristionogion? Pa nifer o farsiandwyr a gymerent Adolph, pe dymunwn ei wneud yn ysgrifenydd; neu law-weithwyr, pe dymunwn iddo ddysgu crefft? Pe ewyllysiwn roddi Jane a Rosa mewn ysgol, pa sawl ysgol sydd yn y talaethau gogleddol a'u cymerent i mewn? pa deuluoedd a'u byrddient? ac eto y maent mor wŷned a llawer dynes yn y De neu'r Gogledd. Chwi welwch, fy nghares, y mae arnaf eisiau i ni gael cyfiawnder. Yr ydym yn sefyll ar dir drŵg. Nyni ydyw gorthrymwyr amlycaf y dyn du; ond y mae rhagfarn annghristionogol y gogledd yn orthrymydd agos mor dosted."

"Wel, fy nghefnder, mi wn mai felly y mae," ebe Miss Ophelia. "Mi wn mai felly yr oedd gyda mi, nes gweled mai fy nyledswydd oedd ei orthrechu; ond yr ydwyf yn credu fy mod wedi ei orthrechu, ac mi wn fod llawer o bobl dda yn y gogledd, y rhai a wnaent eu dyledswydd yn y mater hwn, pe caent ond eu *dysgu*. Mae'n sicr y byddai dwyn paganiaid i'n mysg yn fwy o hunan-ymwadiad nac anfon cenadon atynt; ond yr ydwyf fi'n meddwl y gwnaem hyny."

"Gwnaech *chwi* felly, mi wn, ac ewyllysiwn weled unpeth na wnaech pe ystyriech hyny yn ddyledswydd!"

"Wel, nid wyf fi ddim mor annghyffredin o dda," ebe Miss Ophelia. "Gwnelai eraill pe

gwelent bethau fel yr wyf fi yn eu gweled. Yr ydwyf yn bwriadu cymeryd Topsy gyda mi, pan elwyf adref. Mae'n debyg y rhyfedda ein pobl ni lawer yn y dechreu; ond yr wyf yn credu y deuant i weled fel yr wyf finau. Heblaw hyny, yr wyf yn gwybod fod amryw bobl yn y gogledd yn gwneud yn union fel yr ydych chwi'n dweyd."

"Ië, ond rhyw nifer bychan iawn ydynt; a phe byddai i ni ryddhau cryn luaws o gaethion, caem glywed oddiwrthych yn o fuan."

Ni roddodd Miss Ophelia un atebiad. Bu distawrwydd am rai momentau; ac yr oedd gwynebpryd St. Clare wedi ei orchuddio a chwmwl trist breuddwydiol.

"Ni wn i ar y ddaear beth sy'n peri i mi feddwl cymaint am fy mam heno," eb efe. "Y mae genyf ryw deimlad dyeithrol, megys pe b'ai yn fy ymyl. Yr ydwyf yn meddwl o hyd am bethau a ddywedai wrthyf. Rhyfedd fel y dygir hen bethau fel hyn mor amlwg o'n blaenau, rai prydiau!"

Cerddodd St. Clare i fyny ac i lawr yr ystafell am rai mynydau, ac yna dywedodd—

"Yr ydwyf yn meddwl yr âf i lawr yr heol am ychydig bach, i edrych pa newyddion sydd heno."

Cymerodd ei het, ac aeth allan.

Dilynodd Twm ef ar hyd y fynedfa allan o'r cyntedd, a gofynodd a gai fyned gydag ef.

"Nid oes dim achos, machgen i," ebe St. Clare. "Mi fydda' i'n ol yn mhen yr awr."

Eisteddodd Twm yn y verandah. Noswaith loer-gain hyfryd ydoedd; ac edrychai Twm ar wreichion y dwfr yn esgyn o'r ffynon ac yn disgyn i'r cafn, a gwrandawai ar ei dwrf difyrus. Meddyliodd am ei gartref, ac y byddai yn fuan yn ddyn rhydd, ac y medrai ddychwelyd yno pan y mynai. Meddyliodd fel y gweithiai i brynu ei wraig a'i blant. Teimlai'r gewynau yn ei freichiau breisgion gyda math o lawenydd wrth feddwl y byddent yn fuan yn eiddo ei hun, ac fel y gweithient allan ryddid ei deulu. Yna meddyliodd am ei feistr ieuanc godidog, ac yna daeth y weddi ddiffuant a offrymai drosto yn feunyddiol; ac wedi hyny troes ei feddwl at Eva brydferth, yn mhlith yr angylion; a meddyliodd a meddyliodd nes oedd agos yn dychymygu fod y gwyneb dysglaer a'r gwallt euraidd yn edrych arno trwy'r dwfr ewynog. Ac felly, tra yn myfyrio, syrthiodd i gwsg, a breuddwydiodd ei bod yn dyfod ato, dan neidio, fel yr arferai wneud, â choron-bleth o jessamine yn ei gwallt, ei gruddiau yn siriol, a'i llygaid yn llewyrchu o lawenydd; ond fel yr oedd yn parhau i edrych, ymddangosai megys yn cyfodi oddiar y ddaear; yr oedd ei gruddiau yn llwytach—yr oedd rhyw nefoldeb dwys a dysglaer yn ei llygaid, a chylch euraidd o gwmpas ei phen—a diflanodd o'i olwg; yna deffrowyd Twm gan ryw guro mawr, a lleisiau amryw wrth y porth.

Brysiodd i agor; a daeth nifer o ddynion i mewn gan siarad yn ddystaw ac yn cerdded yn drwm, ac yn dwyn corph ar ystyllen, wedi ei amblygu mewn mantell. Tywynodd y lamp yn llawn oleu ar y gwynebpryd; a rhoddodd Twm fonllef wyllt o frawychdod ac anobaith, a swniodd trwy yr holl rodfeydd, fel yr oedd y dynion yn dwyn eu baich tua drws y parlwr, yr hwn oedd yn agored, lle yr eisteddai Miss Ophelia eto yn gweu.



Troisai St. Clare i westdy cyfagos, i edrych dros y papyr newydd. Fel yr oedd yn darllen, aeth ymrafael rhwng dau ddyn yn yr ystafell, y rhai oeddynt yn lled feddwon. Ymdrechodd St. Clare ac un neu ddau eraill eu gwahanu, a chafodd St. Clare frathiad marwol yn ei ystlys, â chyllell, yr hon a geisiai ei chymeryd o law un o honynt.

Yn awr aeth y tŷ yn llawn o ddolefau a galarnadau, o ocheneidiau a gruddfanau; y gweinidogion yn tynu eu gwallt yn eu gwalltgofrwydd, yn taflu eu hunain ar y llawr, ac yn rhedeg o amgylch gan alaru yn orphwyllog. Twm a Miss Ophelia yn unig a ddangosent rywbeth fel pwyll; canys yr oedd Marie o'r naill ffit i'r llall. Trwy gyfarwyddyd Miss Ophelia trefnwyd un o'r esmwyth-feinciau yn y parlwr, a gosodwyd arni y corph gwaedlyd. Yr oedd St. Clare wedi myned i lewyg, trwy y poen a cholli gwaed; ond wedi i Miss Ophelia roddi iddo rywbeth i'w adgyfnerthu, ymadfywiodd, agorodd ei lygaid, syllodd yn sŷn ar y bobl, edrychodd yn sobr o amgylch yr ystafell, a'i lygaid yn symud yn ddwys-feddylgar dros bob gwrthddrych, ac o'r diwedd gorphwysasant ar ddarlun ei fam.

Yna daeth y physygwr, a chwiliodd y clwyf. Gwelid yn amlwg wrth ei wedd nad oedd dim gobaith; ond aeth i rwymo'r briw, a chynorthwyid ef yn bwyllog gan Miss Ophelia a Thwm, yn nghanol galarnadau, ucheneidiau, ac wylofain y gweinidogion brawychedig, y rhai oeddynt wedi ymgynull at ddrysau a ffenestri'r verandah.

"Yn awr," ebe'r physygwr, "mae'n rhaid i ni droi y creaduriaid hyn i gyd allan; y mae'r cwbl yn dybynu ar ei gadw yn dawel."

Agorodd St. Clare ei lygaid, ac edrychodd yn ddiysgog ar y trueiniaid oedd Miss Ophelia a'r physygwr yn gymhell i fyned o'r ystafell. "Y creaduriaid gwirion!" eb efe, ac aeth tremiant o hunan-gyhuddiad chwerw dros ei wynebpryd. Nacäodd Adolph fyned allan, yn benderfynol. Yr oedd dychryn wedi ei amddifadu o bob meddiant arno ei hun; taflodd ei hun ar y llawr, ac ni ellid ei berswadio i gyfodi. Aeth y lleill ar gymhelliadau taer Miss Ophelia, yr hon a ddangosodd iddynt fod bywyd eu meistr yn ymddybynu ar eu dystawrwydd a'u hufudd-dod.

Ni fedrai St. Clare lefaru ond ychydig; gorweddai â'i lygaid yn nghauad, ac yr oedd yn amlwg ei fod yn ymdrechu â meddyliau chwerwon. Yn mhen enyd, gosododd ei law ar law Twm, yr hwn oedd ar ei ddeulin wrth ei ochr, ac a ddywedodd, "Twm! fy machgen tlawd!"

"Pa beth, meistr?" ebe Twm, yn ddifrifol.

"Dyma fi'n marw!" ebe St. Clare, gan wasgu ei law—"Gweddia!"

"Pe dymunech gael offeiriad—" ebe'r physygwr.

Ysgydwodd St. Clare ei ben yn sydyn, a dywedodd wrth Twm eilwaith, yn ddwysach, "Gweddia!"

Ac fe weddiodd Twm, â'i holl feddwl ac â'i holl nerth, dros yr enaid oedd ar ehedeg ymaith—yr enaid oedd megys yn edrych yn ddiysgog ac yn alarus drwy y llygaid mawrion, gleision, a phrudddaidd. Yr oedd, mewn gwirionedd, yn weddi gyda llefain cryf a dagrau.

Pan dawodd Twm, estynodd St. Clare ei law ac ymaflodd yn llaw Twm, gan edrych arno yn sobr, ond heb ddywedyd dim. Cauodd ei lygaid, ond eto daliodd ei afael; canys y mae y llaw ddu a'r llaw wen yn ngafael yn ngafael, yn mhyrth tragywyddoldeb. Adroddodd yn ddystaw wrtho ei hun, yn awr ac yn y man—

"Recordare Jesu pie—
* * * *
Ne me perdas—illa die
Quærans me sedisti lassus."

Yr oedd yn eglur fod y geiriau a ganasai y noswaith hono yn rhedeg drwy ei feddwl—geiriau o ymbiliad at Dosturi Anfeidrol. Symudai ei wefusau weithiau fel yr oedd darnau o'r hymn yn diferu oddi rhyngddynt.

"Mae ei feddwl yn crwydro," ebe'r meddyg.

"Nac ydyw! y mae'n dyfod ADREF o'r diwedd!" ebe St. Clare, yn rymus; "o'r diwedd! o'r diwedd!"

Yr oedd yr ymdrech i lefaru wedi ei wneud yn llesg. Syrthiodd gwedd welw yr angeu arno; ond gyda hyny syrthiodd, megys oddiwrth adenydd rhyw ysbryd tosturiol, olygfa brydferth o dangnefedd, fel plentyn blinedig yn huno.

Felly y gorweddodd am ychydig fomentau. Gwelsant fod y llaw alluog wedi ei gosod arno. Pan oedd yr ysbryd ar ymadaw, agorodd ei lygaid, gyda goleu disymwth megys o lawenydd ac adnabyddiaeth, a dywedodd, "*Fy mam!*" ac yna diffoddodd.

## PENNOD XXIX.

### Y DI-AMDDIFFYN.

Yr ydym yn clywed yn fynych am drallod y gwas du pan gollo feistr caredig, a digon rhesymol; o herwydd nid oes un creadur ar wyneb daear Duw wedi ei adael mewn cyflwr mwy diamddiffyn ac amddifad na'r caethwas yn y fath amgylchiad.

Mae gan y plentyn a gollo ei dad nawdd ei ffrindiau ac amddiffyniad y gyfraith; mae ef yn rhywbeth, a gall wneud rhywbeth—mae ganddo ei safle a'i hawl-freintiau; ond nid oes gan y caethwas ddim o'r fath beth. Y mae'r gyfraith yn edrych arno, yn mhob dull a modd, mor amddifad o unrhyw hawl ag ydyw pwn o

farsiandiaeth. Yr unig gydnabyddiaeth a fedr yn bosibl gael o'i anghenion a'i ddymuniadau fel creadur dynol ac enaid anfarwol, rhaid iddo ddyfod trwy ewyllys annibynol ac anghyfrifol ei feistr: a phan dorir y meistr hwnw i lawr, nis gadewir iddo ddim.

Ychydig yw nifer y dynion hyny a fedrant arfer awdurdod wrth eu hewyllys yn ddyngarol ac yn haelfrydig. Fe ŵyr pawb hyn; ond fe ŵyr y caethwas yn well na neb; ac felly y mae yn teimlo fod deg siawns iddo gael meistr caled a thrahaus, yn mhen un iddo gael meistr tyner a charedig. Dyma'r achos fod y wylofain ar ol meistr da yn uchel ac yn barhaus, ac nid rhyfedd.

Pan fu farw St. Clare, ymaflodd ofn ac arswyd yn ei holl dylwyth. Torwyd ef i lawr mewn moment, yn mlodau a grym ei ieuenctyd! Yr oedd pob ystafell a neuadd yn y tŷ yn adsain llef galarnad a wylofain.

Nid oedd gan Marie ddim cyfnerthiad gyferbyn a'r fath ergyd, o herwydd yr oedd wedi ei llwyr wanhau gan foethau a chwynfanau, a phan oedd ei gwr yn anadlu'r anadl olaf gwelid hithau o'r naill lewygfa i'r llall; ac aeth yr hwn a unasid â hi yn nghwlwm dirgelaidd priodas ymaith am byth, heb gymaint a gair o ymadawiad.

Safodd Miss Ophelia gyd â'i chefnder hyd y diwedd, trwy hunan-lywodraethiad ac ymroddiad teilwng o'i bywyd blaenorol—yn llygad, yn glust, ac yn barodrwydd bob cymal o honi, yn gwneud pob peth a ellid wneud yn y fath gyfwng, ac yn ymuno â'i holl enaid yn y gweddiau taer a thyner a dywalltodd y caethwas tlawd dros ei feistr ar drancedigaeth.

Pan oeddynt yn ei barotoi i'w orphwysfa olaf, hwy a gawsant ar ei fynwes arlun bychan, mewn cauad celfydd, yn agor â chlicied. Llun merch brydferth, harddwych ydoedd, a than wydr ar y tu cefn iddo, gudyn o wallt du. Dodwyd hwynt yn ol ar ei fynwes ddistaw—lludw i'r lludw—creiriau galarus breuddwydion ieuenctyd, y rhai a wnaethent i'r galon oer hono guro yn gynhes unwaith!

Yr oedd holl enaid Twm wedi ei lenwi â meddyliau am dragywyddoldeb, a thra yr oedd yn brysur o amgylch y corph marw, ni feddyliodd unwaith fod yr ergyd annisgwyliadwy wedi ei daflu ef i gaethiwed anobeithiol. Yr oedd yn teimlo'n dawel ynghylch ei feistr; o herwydd yn yr awr hono pryd y tywalltodd ei weddi i fynwes ei Dad, efe a dderbyniodd atebiad yn y tawelwch a'r sicrwydd a deimlodd yn ei fynwes ei hun. Yn ngwaelodion ei natur serchlawn ei hun, efe a deimlodd ei fod yn cael cyflawnder cariad Duw; o herwydd y mae hen oracl wedi ysgrifenu fel hyn, "Yr hwn sydd yn aros mewn cariad, sydd yn aros yn Nuw, a Duw ynddo yntau." Yr oedd Twm yn gobeithio, ac yn credu, ac yr oedd mewn tangnefedd.

Ond aeth yr angladd drosodd, a'i holl rwysg o grâp du, a gweddiau, a hir-wynebau; rholiodd tònau oerion tomlyd bywyd yn ol; a chyfododd yr hen holiad caled, di-ben-draw—"Pa beth sydd i'w wneud nesaf?"

Cyfododd yn meddwl Marie, fel yr oedd yn eistedd mewn cadair freichiau esmwyth, a'i galar-wisgoedd llaesion am dani, a gweinidogion moesgar yn gwibio o'i chwmpas, a hithau'n dewis siamplau o grâp a bombazin. Cyfododd yn meddwl Miss Ophelia, yr hon a ddechreuodd fyfyrio am ddychwelyd i'w chartref yn y gogledd. Cyfododd, gyd â'i arswyd distaw, yn meddyliau y gweinidogion, y rhai a wyddent yn burion am nodweddiad dideimlad a chreulon y feistres yr oeddynt yn ei llaw. Gwyddai pawb mai nid trwyddi hi, ond trwy ei meistr, y cawsent y fath diriondeb; ac yn awr, ar ol ei golli ef, na byddai unrhyw gysgod rhyngddynt a phob gorthrwm a chreulondeb a fedrai tymherau wedi eu chwerwi gan gystudd eu dyfeisio.

Tua phythefnos ar ol y claddedigaeth, pan oedd Miss Ophelia yn brysur yn ei hystafell, hi glywai guro esmwyth wrth y drws. Agorodd ef, ac yno safai Rosa, y quadroon ifanc brydferth a nodwyd o'r blaen, â'i gwallt yn annhrefnus, a'i llygaid yn chwyddedig gan wylòfain.

"O Miss Pheeli," ebe hi, gan syrthio ar ei gliniau, a gafaelyd y'nghwr ei gwisg, "*gwnewch, gwnewch* fyned at Miss Marie drosof fi, gwnewch eiriol drosof! Mae am fy ngyru allan i'm whipio—edrychwch yma!" A hi a ddododd bapyryn yn llaw Miss Ophelia.

Archiad ydoedd wedi ei ysgrifenu mewn llaw fân Italaidd gan Marie, at feistr y tŷ fflangellu, i beri iddo roddi pymtheg fflangell i'r dygiedydd.

"Pa beth fuost yn wneud?" ebe Miss Ophelia.

"Chwi wyddoch, Miss Pheeli, fod fy nhymher yn bur wyllt; mae'n rhy ddrwg. Yr oeddwn yn cau gown Miss Marie, a hi a roddodd fonclust i mi; mi atebais ina hi, yn ddifeddwl, ac yn gas; yna hi a ddeudodd y tynai hi fi i lawr, ac y gwnai i mi wybod, unwaith am byth, na chawn fod mor uchel fy nghloch ag y bum; wedi'n mi 'sgyrfenodd hwn, ac y mae'n deud y rhaid i mi ei gymeryd yno. Fyddai'n well gen i iddi hi fy lladd i ar unwaith."

Safodd Miss Ophelia yn syn-fyfyriol, a'r papyr yn ei llaw.

"Welwch chwi, Miss Pheeli," ebe Rosa, "nid wyf yn hidio cymaint am y whipio, pe b'ai Miss Marie neu chwi yn gwneud; ond fy ngyru at *ddyn!* a'r fath ddyn ffiaidd! y cywilydd o hono, Miss Pheeli!"

Gwyddai Miss Ophelia yn burion mai dyna'r arfer gyffredin, sef anfon gwragedd, a genethod hefyd i'r tai fflangellu, i ddwylaw y gwaelaf o ddynion—dynion yn ddigon gwael i fyw ar



hyn—i gael eu dynoethi yn gywilyddus a'u curo. *Gwyddai* hyn o'r blaen; ond nis gwelsai y peth yn dyfod o flaen ei llygad, hyd oni chanfu Rosa druan yn sefyll ger ei bron mewn cryndod ac ofn. Daeth holl waed gonest gwraig, gwaed cryf rhyddid New England, yn un ffrwd i'w gruddiau, ac yn genllif tymhestlog o'i chalon eiddigus; ond, yn ol ei harfer gyffredin o hunan-lywodraethiad, hi a'i meistrolodd ei hun, a chan wasgu'r papyryn yn ei llaw, hi a ddywedodd wrth Rosa,

"Eistedd yna, blentyn, tra byddwyf yn siarad â dy feistres."

"Cywilyddus! gwarthus! annynol!" ebe hi wrthi ei hun, pan yn croesi'r parlwr.

Hi a gafodd Marie yn eistedd yn ei chadair esmwyth, a Mammy yn sefyll i drin ei gwallt, a Jane yn eistedd ar lawr i rwbio ei thraed.

"Sut yr ydych yn teimlo heddyw?" ebe Miss Ophelia.

Uchenaid drom a chauad y llygad oedd yr unig atebiad, am fynyd; yna dywedodd,' 'O, nis gwn i, 'nghyfnither; mae'n debyg 'mod i cystal ag y byddaf byth!" A hi a sychodd ei llygaid â napcyn cambric, gyda modfedd o ddu o'i amgylch.

"Mi ddaethum," ebe Miss Ophelia, gyda chnec o beswch sych, fel y bydd pobl yn dechreu cas-waith, "mi ddaethum i siarad yn nghylch Rosa."

Yr oedd llygaid Marie yn ddigon llydan agored, a chododd y gwrid i'w hwyneb, pan y gofynodd yn awdurdodol—

"Wel, beth am dani hi?"

"Mae yn bur edifeiriol am ei bai."

"Y mae, ydyw hi? Hi fydd yn fwy felly cyn y darfyddaf fi â hi; mi ddiodd'ais ddigon o hyd i'r hogen yna; ac yn awr mi a'i tynaf hi'n bur isel—hi gaiff orwedd yn y llwch!"

"Ond a fedrech chwi ddim ei chospi ryw ffordd arall, ryw ffordd lai cywilyddus?"

"Mae arnaf eisieu ei chywilyddio; dyna beth sydd arnaf eisieu. Mae dros ei hoes wedi meddwl llawer iawn am ei golwg dda, a'i hosgo merch foneddig, ac wedi llwyr anghofio pwy ydyw; ond mi ro'f iddi un wers ddaw â hi ati ei hun, feddyliwn i!"

"Ond ystyriwch, Marie, os dinystriwch y teimlad o wylder mewn lodes ieuanc, eich bod yn ei llygru yn fuan iawn."

"Gwylder!" ebe Marie, gyda chwerthiniad dïystyrllyd, "gair braf iawn i'w bath hi! Mi ddysgaf iddi, gyd â'i holl gymeryd ati, nad yw ddim gwell na'r hogen fwyaf carpiog sydd yn cerdded yr heol! Ni ddengys hi ddim rhagor o'i thymherau i mi!"

"Rhaid i chwi ateb i Dduw am y fath greulondeb!" ebe Miss Opnelia, yn eiddigus.

"Creulondeb! Fyddai yn dda genyf wybod beth ydyw creulondeb! Ni 'sgrifenais am ddim ond pymtheg fflangell, ac mi ddywedais wrtho am eu rhoddi'n ysgafn. Yr wyf yn sicr nad oes dim creulondeb yn hynyna!"

"Dim creulondeb!" ebe Miss Ophelia; "yr wyf yn sicr y byddai'n well ganddi gael ei lladd ar unwaith."

"F'allai ymddangos felly i rywun o'ch teimladau chwi, ond y mae'r creaduriaid yma yn cynefino; dyna'r unig ffordd i'w cadw mewn trefn. Unwaith y gadewch iddynt wybod eu bod i sôn am wylder a phethau felly, hwy sangan' chwi dan draed, fel y mae fy ngweinidogion i wedi gwneud. Ond yr wyf wedi dechreu eu tynu i lawr; ac mi wnaf iddynt wybod y caiff y naill ei hanfon allan i'w whipio cystal a'r llall, os nad edrychant ati!" ebe Marie, gan daflu golwg o'i chwmpas.

Edrychodd Jane i lawr yn drist pan glywodd

hyn, o herwydd gwyddai mai ati hi yr oedd yn cyfeirio.

Eisteddodd Miss Ophelia am fynyd fel un wedi llyncu powdr, ac yn barod i chwythu i fyny yn deilchion. Ond cofiodd mai hollol ddifudd oedd ymryson â'r fath natur, cauodd ei gwefusau yn dŷn, gan godi a myned allan o'r ystafell.

Gwaith caled oedd myned yn ol at Rosa, a dweyd nas medrai wneud dim drosti; ac yn mhen ychydig daeth un o'r gweision i mewn i ddweyd fod ei meistres yn gorchymyn iddo gymeryd Rosa gyd âg ef i'r tŷ fflangellu, lle y cymerwyd hi ar frys, er gwaethaf ei dagrau a'i herfyniau.

Yn mhen ychydig ddyddiau yr oedd Twm yn syn-fyfyrio yn un o'r rhodfeydd, a daeth Adolph i fyny ato, yr hwn a fuasai yn hynod o bendrist ac isel ei feddwl er pan fu farw ei feistr. Fe wyddai Adolph fod yn gâs gan Marie ef bob amser, eto nid oedd yn hidio mo'r llawer tra bu ei feistr yn fyw. Ond yn awr, ar ol colli ei feistr, yr oedd yn cerdded o amgylch mewn ofn a dychryn, heb wybod pa beth ddeuai ar ei draws nesaf. Bu Marie yn ymgynghori â'i chyfreithiwr lawer gwaith. Ac ar ol ysgrifenu at frawd St. Clare, penderfynwyd gwerthu'r lle, a'r holl weinidogion oddigerth ei heiddo hi ei hun, o herwydd dewisodd gadw y rhai hyn, a'u cymeryd gyda hi i blanigfa ei thad.

"A wyddost ti, Twm, ein bod ni i gyd i gael ein gwerthu?" ebe Adolph.

"Sut y clywaist ti hyny?" ebe Twm.

"Mi ymguddiais y tu ol i'r llèni, pan oedd missis yn siarad â'r cyfreithiwr. Ni gawn ein gyru bob un i'r gwerthdŷ yn mhen ychydig ddyddiau."

"Ewyllys yr Arglwydd a wneler!" ebe Twm, gan blethu ei freichiau ac ucheneidio'n drwm.

"Ni chawn ni byth y fath feistr," eb Adolph, yn ofidus; "ond mi fyddai'n well genyf fi gael fy ngwerthu na chym'ryd fy siawns dan missis."

Trodd Twm draw; yr oedd ei galon yn llawn. Y gobaith am ryddhad, a'r meddwl am ei wraig a'i blant yn mhell oddi wrtho,—daethant i olwg ei enaid amyneddgar, fel ag y mae'r clochdy a'r criban tai adnabyddus yn ei bentref genedigol yn dyfod i olwg y morwr llong-ddrylliog, fel eu ffarwel olaf, dros gopa ewynawg y dòn sydd yn ei lyncu i fyd arall. Efe a wasgodd ei freichiau ar ei fynwes, ac a ymdrechodd attal y dagrau chwerwon oedd yn dechreu dylifo o'i lygaid, gan geisio gweddio. Yr oedd gan yr hen greadur tlawd y fath ragfarn anghyffredin o blaid rhyddid, fel yr oedd yn ergyd caled iawn iddo; a pho fwyaf y dywedai, "Gwneler dy ewyllys," gwaethaf yn y byd y teimlai.

Aeth i chwilio am Miss Ophelia, yr hon a ddangosai lawer o barch iddo ar ol marw Eva.

"Miss Pheeli," eb efe, "fe addawodd Mas'r St. Clare fy rhyddid i mi. Fe ddywedodd ei fod wedi dechreu ei wneud allan; ac hwyrach, pe b'ai Miss Pheelia mor garedig a siarad wrth missis am hyn, y gwnai hi fyned yn mlaen, am fod Mas'r St. Clare yn 'wyllysio."

"Mi siaradaf drosot, Twm, ac mi wnaf fy ngoreu," ebe Miss Ophelia; "ond os bydd yn ymddibynu ar Mrs. St. Clare, nid oes genyf fawr o obaith am danat; sut bynag, mi a wnaf fy ngoreu."

Digwyddodd hyn yn mhen ychydig ddyddiau ar ol yr ymddiddan ynghylch Rosa, pan oedd Miss Ophelia yn brysur yn parotoi i fyned ymaith.

Hi a feddyliodd yn sobr ynddi ei hun, y gallai ei bod wedi siarad yn rhy bendant yn achos Rosa; a phenderfynodd fod yn fwy arafaidd y tro hwn, ac yr ymdrechai wneud y gorchwyl mor heddychol ag oedd fodd. Felly ymysgydwodd y greadures garedig, a chan ymaflyd yn ei gwaith gweu, hi a wnaeth ei meddwl i fyny am fyned i ystafell Marie, bod mor gyfeillgar ag oedd modd, a dadleu achos Twm gyd â'i holl fedrusrwydd.

Hi a gafodd Marie ar ei lled-orwedd ar y soffa, a phwys un penelin ar y clustogau, tra'r oedd Jane, yr hon fuasai allan yn shopa, yn agor o'i blaen samplau o wisgoedd duon.

"Fe wneiff 'nyna'r tro," ebe Marie, gan ddewis un; "ond nid wyf fi ddim yn sicr ei fod yn alarwisg."

"Dyn anwyl, missis," ebe Jane, yn dafodlithrig, "fe wisgodd Mrs. General Derbonnen yr un peth yr haf diweddaf, ar ol i'r General farw; mae'n gwneud gwisgiad anwyl?"

"Beth ydyw'ch barn chwi?" ebe Marie wrth Miss Ophelia.

"Arferiad ydyw'r cwbl, mae'n debyg," ebe Miss Ophelia. "Chwi wyddoch fwy yn ei gylch na myfi."

"Y gwir yw," ebe Marie, "nid oes genyf un wisg a fedraf osod am danaf; a chan fy mod yn meddwl gwerthu'r cwbl, a myned ymaith yr wythnos nesaf, rhaid i mi benderfynu ar rywbeth."

"A ydych yn myned mor fuan a hyny?"

"Ydwyf. Mae brawd St Clare wedi ysgrifenu, ac y mae ef a'r cyfreithiwr wedi cytuno mai gwell gwerthu'r dodrefn a'r gweinidogion wrth ocsiwn, a gadael y lle yn ngofal y cyfreithiwr."

"Mae un peth ag yr oedd arnaf eisieu siarad â chwi yn ei gylch," ebe Miss Ophelia. "Yr oedd Augustine wedi addaw ei ryddid i Twm, ac wedi dechreu y gweithredoedd. Gobeithio y gwnewch eich goreu i gael eu gorphen."

"Yn wir, ni wnaf fi ddim o'r fath beth," ebe Marie, yn union. "Mae Twm yn un o'r gweision mwyaf ei werth yn y lle; ni fedraf fi ddim 'fforddio hyny sut yn y byd. Heblaw hyny,

beth sydd arno fo eisieu gan ryddid,—mae'n llawer gwell arno fel ag y mae."

"Ond y mae ef yn meddwl llawer iawn am dano, ac yr oedd ei feistr wedi ei addaw iddo,' ebe Miss Ophelia.

"Mi wrantaf fod arno ef ei eisieu," ebe Marie; "mae arnynt oll ei eisieu, am eu bod yn haid anfoddlon, bob amser ag eisieu yr hyn nid oes ganddynt. Y mae fy egwyddorion i yn erbyn rhyddhau, ar un cyfrif. Cadwch y negro dan ofal ei feistr, fe ddaw yn mlaen yn burion, ac y mae'n barchus; ond gollyngwch ef yn rhydd, ac y mae'n ddiog, ni fŷn weithio, trŷ i yfed, a bydd yn fuan yn ddibarch a diddaioni. Mi welais brawf o'r fath, gannoedd o weithiau. Nid yw yn ffafr yn y byd eu gollwng yn rhyddion."

"Ond y mae Twm mor sobr, diwyd, a chrefyddol!"

"O, ni wiw siarad â fi. Mi welais gannoedd o'r fath. Bydd yn burion tra cymerir gofal o hono, dyna'r cwbl."

"Ond ystyriwch," ebe Miss Ophelia, "y siawns iddo gael meistr drwg, pan osodoch ef i fyny ar werth."

"Pw—pw, hymbyg i gyd!" ebe Marie. "Ni bydd gwas da ddim yn cael un o gant yn feistr drwg; y mae'r rhan fwyaf yn feistriaid da, er maint yr holl siarad sydd. Mi gefais i fy ngeni a'm magu yma yn y dehau, ac ni welais i 'run meistr erioed nad oedd yn ymddwyn yn burion tu ag at ei weision,—cystal ag y mae yn werth ymddwyn tu ag atynt. Nid oes arnaf fi ddim ofn ar y pen yna."

"Wel," ebe Miss Ophelia, yn benderfynol, "mi wn i mai un o ddymuniadau olaf eich gwr oedd gwneud Twm yn rhydd; dyma un o'r addewidion a wnaeth i Eva bach pan oedd yn marw, ac mi feddyliwn i nas gallwch deimlo yn rhydd i beidio ei chyflawni."

Gorchuddiodd Marie ei hwyneb dan yr apeliad hwn, a dechreuodd wylo, a defnyddio ei photel fach yn ddibaid.

"Mae pawb yn troi yn fy erbyn!" ebe hi. "Mae pawb mor ddideimlad! Ni fuaswn ddim yn disgwyl i *chwi* adgofio fy holl golledion i mi; mae mor anystyriol! Ond nid oes neb byth yn teimlo drosof fi; ac y mae fy nghroesau mor drymion! Peth caled iawn oedd, pan nad oedd genyf ddim ond un plentyn, i hono gael ei chymeryd ymaith!—a phan oedd genyf wr yn fy ateb i'r dim—a minau mor anhawdd fy moddio!—y rhaid ei gymeryd yntau hefyd! Ac yr ydych chwithau mor ddideimlad a dyfod â phethau fel hyn i fyny yn afreidiol—pryd y gwyddoch na fedraf mo'u cynal! Mae'n debyg fod eich amcan yn dda; ond y mae'n hynod o ddideimlad, yn hynod!" A thorodd Marie allan i wylo nes oedd bron a cholli ei gwynt, a galwodd ar Mammy i agor y ffenestr, a dyfod a'i photel gamphyr, a dodi dwfr oer ar ei thalcen, a dad-fachu ei gwisg; ac yn nghanol y terfysg a'r twrw aeth Miss Ophelia allan ac i'w hystafell ei hun.

Hi a ganfu ar unwaith nad oedd o un dyben dweyd gair yn rhagor, o herwydd yr oedd gan Marie ffitiau wrth ei llaw ar bob achlysur; ac ar ol hyn, pa bryd bynag y sonid am ddymuniad ei gwr neu Eva ynghylch y gweinidogion, yr oedd yn bur gyfleus iddi gymeryd un mewn llaw. Gan hyny, gwnaeth Miss Ophelia y peth nesaf goreu a fedrai dros Twm; hi a ysgrifenodd at Mrs. Shelby, yn hysbysu ei gyfyngder, ac yn taer ddymuno eu cymhorth i roddi ymwared iddo.

Dranoeth, gyrwyd Twm ac Adolph, a thua haner dwsin o weision ereill, i'r ystordy caethion, i aros cyfleustra'r marchnatŵr, yr hwn oedd yn myned i gasglu lluaws erbyn yr arwerthiad.

## PENNOD XXX.

### YSTORDY Y CAETHION.

Ystordy y caethion! Hwyrach fod rhai o'n darllenwyr yn codi drych-feddyliau arswydus am y fath le. Dychymygant, efallai, ryw ffau aflan, ffiaidd,—rhyw fagddu afluniaidd, arswydus. Dim y fath beth, druan oeddit! mae dynion yn y dyddiau hyn wedi dysgu'r gelfyddyd o bechu yn weddus ac yn barchus, rhag tramgwyddo llygad neu deimladau cymdeithas. Y mae eiddo dynol yn uchel yn y farchnad; gan hyny rhaid ei borthi yn dda, ei lanhau, gweinyddu iddo, ac edrych ar ei ol, fel y gallo ddyfod i'r farchnad yn llyfn, yn gryf, ac yn hoyw. Tŷ ydyw ystordy'r caethion yn New Orleans, heb ddim gwahaniaeth rhyngddo a thai ereill oddi allan, ac yn cael ei gadw yn lanwaith a chryno; a lle gwelir rhenciau o feibion a merched, bob dydd, dan gysgod o'r tu allan, y rhai a safant yno fel samplau o'r eiddo sydd ar werth o'r tu fewn.

Yna gofynir i chwi, yn foesgar, i alw i mewn ac edrych dros yr eiddo, lle y cewch lawnder o wŷr, gwragedd, brodyr, chwiorydd, tadau, mamau a phlant bychain, oll ar werth "ar wahan, neu mewn lotiau, fel y bo gyfleus i'r prynwr;" ac am yr enaid anfarwol, a brynwyd unwaith trwy waed a phoenau Mab Duw, pan grynodd y ddaear, y rhwygwyd y creigiau, ac yr agorwyd y beddau, gellir ei werthu, ei logi, ei hurio a'i newid am dê a siwgr neu ddarnau o frethyn, yn ol fel y bo archwaeth y prynwr, neu amgylchiadau masnach.

Yn mhen deuddydd neu dri ar ol yr ymddiddan rhwng Marie a Miss Ophelia y trowyd Twm ac Adolph, a thua haner dwsin ereill o eiddo St. Clare drosodd i dyner drugareddau Mr. Skeggs, ceidwad ystordy yn heol ——, i aros y gwerthiad dranoeth.

Yr oedd gan Twm drwnc canolig o faint yn

llawn dillad, ac felly, yn wir, yr oedd ganddynt oll o'r bron. Cymerwyd hwynt dros y nos i ystafell hir, lle yr oedd nifer mawr o ddynion ereill, o bob oed, maint, a lliwiau, a chan ba rai y clywid chwerthiniad uchel a llawenydd gwàmal.

"Ha! ha! dyna hi! Chwarddwch fechgyn! chwarddwch!" ebe Mr. Skeggs, y ceidwad. "Mae mhobl i bob amser yn llawen, Sambo, mi welaf!" eb efe, gan siarad yn llòn wrth ryw negro cymalog oedd yn gwneud castiau isel, y rhai a achosent y grechwen a glywsai Twm.

Fel y gellir yn hawdd ddychymygu, nid oedd Twm ddim mewn tymher i ymuno yn yr ysgafnder hwn; am hyny efe a osododd ei drwnc i lawr mor bell ag oedd bosibl oddiwrth y tŵr afreolus, ac a eisteddodd arno a'i wyneb tua'r mur.

Y mae marsiandwyr mewn eiddo dynol yn gwneud ymdrech gofalus a rheolaidd, i gadw i fyny drwst digrifwch yn eu mysg, i'r dyben o foddi adfyfyrdod, a'u gwneuthur yn ddi-deimlad o'u cyflwr. Holl amcan triniaeth y negro, o'r amser y prynir ef yn marchnad y gogledd, hyd oni chyrhaeddo'r dehau, ydyw ei wneuthur yn hollol ddi-deimlad, yn ddifeddwl, ac yn anifeilaidd. Mae'r masnachwr yn casglu ei "gang" yn Virginia neu Kentucky, a gŷr hwynt i ryw le cyfleus a iachusol—yn fynych i ryw dref ar làn y môr—i'w pesgu. Yma cânt eu gwala a'u gweddill o borthiant bob dydd; ac o herwydd fod rhai braidd yn bendrist, bydd chwareu'r crwth yn wastad yn eu mysg, a gwneir iddynt ddawnsio a bod yn llawen; ond yr hwn a omeddo fod yn llawen—yn enaid pa un y mae y côf am ei wraig, ei blentyn, neu ei gartref, yn rhy gryf i fod yn llawen—nodir ef allan fel un penglogaidd a pheryglus, a bydd yn wrthddrych pob camwri a fedr dichell dyn caled a phenrydd ei wneud iddo. Dysgir hwynt yn ddibaid i fod yn fywiog, ysgafndroed, a siriol, yn enwedig o flaen pobl, dan obaith o gael felly feistr da, ac o ran ofn hefyd rhag y drygau a ddug y gyrwr arnynt os na fedr eu gwerthu.

"Be mae'r niggar yna'n neud yma!" ebe Sambo, gan ddyfod yn mlaen at Twm, ar ol i Mr. Skeggs adael yr ystafell. Yr oedd Sambo yn berffaith ddu, anferth o faint, yn bur fywiog, siaradus, a llawn o gastiau a mindremiau.

"Be wyt ti'n neud yma!" eb efe, gan ddyfod i fyny a phrocio Twm yn ei asenau. "Myfyrio, aie?"

"Yr ydw' i gael 'ngwerthu yn yr ocsiwn fory," ebe Twm, yn dawel.

"Gwerthu ar ocsiwn—haw! haw! fechgyn! dyna sport! O na baswn ina'n myn'd y ffordd yna!—ddeuda i chi, faswn i yn gyru nhw i chwerthin! Ond sut mae hyn—y lot yma i gyd yn myn'd yfory!" a tharawodd Sambo ei law yn hyf ar ysgwydd Adolph.

"Gad lonydd i mi, os gweli di'n dda," eb Adolph, yn ffyrnig, gan ymsythu, yn llawn di-ystyrwch.

"Dyma i chi, fechgyn! dyma un o'ch niggars gwynion chi—rhyw liw hufen, wyddoch, wedi sentio!" eb efe, gan ddyfod at Adolph, a'i arogli. "Gwarchod ni, fe nai'r tro mewn shop tobacco; allan' ei gadw i sentio'r snyff! Gwarchod ni, mi allai gadw'r holl shop i fyn'd—g'nai mi 'n'ai."

"Sa' draw, 'nei di?" eb Adolph, yn sarug.

"Gwarchod ni, mor groen dene ydan ni—niggars gwnion! Edrychwch arnon ni, 'rwan!" a gwnaeth Sambo ddynwarediad gwatwarus o agwedd Adolph; "dyma faners boneddigions. Fuon ni mewn teulu da, mae'n debyg gen i."

"Do," eb Adolph, "mi fu gen i feistr all'sai eich prynu chwi bob pen fel hen sothach."

"Och a fi!" ebe Sambo, "welwch chi fath f'ddigions ydan ni!"

"'Roeddwn i yn perthyn i deulu St. Clare," eb Adolph, yn ben-uchel.

"Rhyfedd iawn! yr oeddat ti? Grogi neb wado, yr oeddan nhw'n lwcus iawn gael gwared o dy fath di. Debyg gen i bod nhw'n dy werthu di gyda'r len lestri tê wedi cracio, a phethe o'r fath!" ebe Sambo, gyda chrechwen gâs.

Gyrodd hyn Adolph o'i gôf, ac efe a neidiodd at ei boenydiwr, gan dyngu a dyrnodio ar dde ac aswy. Chwarddodd a bloeddiodd y lleill, a dygwyd y ceidwad i mewn gan y twrw.

"Beth 'nawr, fechgyn? Gosteg, gosteg!" eb efe, a daeth yn mlaen a chloben o whip fawr yn ei law.

Diangodd pawb i'w fan ond Sambo, yr hwn a safodd ei dir, gan ymddiried yn ffafr y ceidwad, am ei fod yn ffwl wrth fraint, a gostyngodd ei ben gyda chuchiau cyfrwys-ddrwg bob tro yr ergydiai'r llall tuag ato.

"Dyn anwyl, mas'r—nid ni sy—'rydan ni'n ddigon distaw—y dwylo newyddion yma; mae nhw mor gâs—adawan' nhw ddim llonydd i ni trwy'r amser!"

Trodd y ceidwad at Twm ac Adolph; ac ar ol cicio a bonclustio yn lled hael, heb holi nac ymofyn, a gadael gair am iddynt fod yn blant da a myned i gysgu, efe a aeth allan drachefn.

Tra'r oedd hyn yn myned yn mlaen yn ystafell y meibion, efallai y chwenychai y darllenydd yspïo i mewn i ystafell y merched. Yn blith draphlith bob llun ac ystumiau ar hyd y llawr, gall weled nifer mawr o bob lliw, rhwng hollol ddu a rhai, yn mron, yn hollol wynion; ac o bob oedran, o fabandod hyd henaint, yn gorwedd yn awr yn nghwsg. Dyma lodes landeg, deng-mlwydd oed—gwerthwyd ei mam ddoe, ac y mae wedi crïo ei hun i gysgu heb neb yn edrych arni. Dyma hen negrões fusgrell, a'i breichiau meinion a'i dwylaw celyd

yn dangos effaith llafur blin, yn aros cael ei gwerthu yfory, am yr hyn a geir am dani, fel hen ddodrefnyn diwerth; a thua deugain neu haner cant o rai ereill a'u penau wedi eu gorchuddio â phlancedi neu ryw ddilledyn, yn gorwedd ar eu hyd o amgylch. Ond draw yn y gongl, yn mhell oddiwrth y lleill, daew ddwy ferch rywbeth tu hwnt i'r cyffredin. Mulatto mewn gwisgoedd da ydyw un o honynt, rhwng deugain a haner cant oed, â llygaid esmwyth a phryd a gwedd hawddgar. Ar ei phen yr oedd twrban uchel, wedi ei wneud o napcyn Indiaidd coch, o'r rhyw goreu; yr oedd ei gwisgoedd o ddefnydd da, wedi eu gwneud yn fedrus a phriodol, ac yn dangos fod llaw ofalus wedi darparu iddi. Wrth ei hochr, ac yn ymwthio ati, y mae lodes ifanc tua phymtheg oed—ei merch. Quadroon ydyw, fel y gellir gweled oddiwrth liw ei chroen, er fod ei thebygolrwydd i'w mam yn ddigon amlwg. Mae ganddi yr un llygaid duon tawel, yr un aeliau hirion, a'i rhuddwallt yn droellau euraidd. Y mae hithau hefyd mewn gwisg harddwych, a'i dwylaw gwynion meddal yn dangos nad yw'n gynefin â chaledwaith. Mae'r ddwy yma i'w gwerthu yfory, yn yr un lot a gweision St. Clare; ac am y gwr boneddig a'u pïa, ac i'r hwn y mae arian eu pryniad i gael eu hanfon, mae ef yn aelod o eglwys Gristionogol yn New York; efe a dderbyn yr arian, ac wedi hyny efe a dderbyn Swper eu Harglwydd hwy ac yntau, heb feddwl dim yn rhagor am y mater.

Bu'r ddwy yma, y rhai a alwn yn Susan ac Emmeline, yn gweini i wraig dduwiol yn New Orleans, gan yr hon y dysgwyd hwynt yn ofalus mewn pethau crefyddol. Dysgwyd hwynt i ddarllen ac ysgrifenu, a hyfforddiwyd hwynt yn ngwirioneddau'r Bibl, a bu eu bywyd mor hapus ag y gallai neb fod yn eu cyflwr hwy. Ond yr oedd yr eiddo oll yn nwylaw unig fab eu meistres, a thrwy wastraff ac afradlondeb aeth i ddyryswch, a thorodd. Y gofynwyr mwyaf oedd B. & Co., New York. Ysgrifenodd B. & Co. at eu cyfreithiwr yn New Orleans i gymeryd meddiant o'r gweddill o'r eiddo (y ddwy yma a nifer o weithwyr ar blanigfa oedd y rhan fwyaf gwerthfawr o hono,) ac anfonwyd gair i'r perwyl hwnw i New York. Gan fod y brawd B., fel y dywedasom, yn Gristion, ac yn byw mewn Talaeth rydd, teimlodd beth anesmwythder o'r achos. Nid oedd yn dewis marchnata mewn caethion ac eneidiau dynion —nag oedd, wrth reswm; eto yr oedd yn y mater yma ddeng mil ar hugain o ddoleri, ac yr oedd hyny braidd yn ormod o arian i'w colli ar fater o gydwybod; ac felly, ar ol ystyried, a gofyn cynghor gan y sawl y gwyddai y cai gynghor wrth ei fodd, ysgrifenodd y Brawd B. at ei gyfreithiwr, i ddirwyn y mater i fyny y ffordd oreu ag y medrai, ac anfon iddo ef y cynyrch.

Y diwrnod ar ol derbyn y llythyr yn New Orleans, cymerwyd meddiant o Susan ac Emmeline, ac anfonwyd hwy i'r ystordy i aros y gwerthiad boreu dranoeth; ac fel y cawn gipolwg arnynt yn ngoleuni'r lleuad trwy fàrau'r ffenestr, gallwn wrando ar eu hymddyddan. Mae'r ddwy yn wylo, ond yn ddystaw, rhag i'r naill glywed y llall.

"Mam, rhoddwch eich pen ar fy nglin i, i edrych a fedrwch gysgu rhywfaint," ebe'r eneth, gan ymdrechu ymddangos yn dawel.

"Nid oes genyf ddim calon i gysgu, Em! Ni fedraf fi ddim. Dyma'r noswaith olaf i ni fod gyda'n gilydd!"

"O mam, peidiwch a dweyd hyny! Efallai y cawn ein gwerthu gyda'n gilydd—pwy ŵyr?"

"Pe buasai'n amgylchiad rhyw un arall, mi ddywedaswn inau felly hefyd, Em," ebe'r wraig; "ond y mae arnaf gymaint o ofn eich colli, fel nad wyf yn gweled dim ond y perygl."

"Pa'm, mam? Fe ddywedodd y dyn fod golwg dda arnom, ac y gwerthem yn dda."

Cofiodd Susan olwg a geiriau'r dyn. A'i chalon bron mewn llewygfa, hi a gofiodd fel yr edrychodd ar ddwylaw Emmeline, ac y cododd ei gwallt modrwyog, gan ei galw'n ddarn o eiddo dan gamp. Dygasid Susan i fyny'n Gristion, ac arferai ddarllen ei Bibl bob dydd, ac yr oedd arni gymaint o ofn gweled ei phlentyn yn cael ei gwerthu i fywyd o warth, ag a allai fod ar ryw fam Gristionogol arall; ond nid oedd ganddi ddim gobaith, ddim amddiffyn.

"Mam, ni a wnaem yn gampus pe caech chwi le yn gogyddes, a minau yn forwyn llofftydd, neu wniadyddes mewn rhyw deulu. Mi wrantaf y cawn. Gadewch i ni edrych mor lawen a siriol ag y medrwn, a dweyd y cwbl a fedrwn wneud, a hwyrach y cawn ni," ebe Emmeline.

"Mae arnaf eisiau i chwi frwsio eich gwallt yn ol yn llyfn yfory."

"I ba beth, mam? Nid wyf yn edrych haner cystal felly."

"Ond chwi werthech yn well felly."

"Nis gwn i ddim pa'm," ebe'r eneth.

"Byddai teuluoedd cyfrifol yn debycach o'ch prynu wrth eich gweled yn weddus a diaddurn, fel pe na baech yn ceisio edrych yn wych. Mi wn eu ffordd yn well na chwi," ebe Susan.

"O'r goreu, mam, mi wnaf ynte."

"Gwrandewch Emmeline, os na chawn weled ein gilydd byth yn rhagor ar ol yfory—os gwerthir fi ar blanigfa yn rhywle, a chwithau yn rhywle arall—peidiwch ag anghofio sut y dygwyd chwi i fyny, a phob peth a ddywedodd missis wrthych. Cymerwch eich Bibl gyda chwi, a'ch llyfr hymnau; ac os byddwch chwi yn ffyddlon i'r Arglwydd, fe fydd Ef yn ffyddlon i chwithau."

Dyna eiriau'r enaid tlawd tan groesau chwerwon; o herwydd hi wyddai mai yfory nesaf y gallai unrhyw ddyn, boed mor isel ac anifeiliaidd ag y bo, boed mor ddigrefydd a didrugaredd ag y bo, os byddai ganddo arian i dalu am dani, ddyfod yn berchenog o'i merch, gorph ac enaid; ac yna sut y gall plentyn fyw yn onest! Mae yn meddwl am hyn oll, fel ag y mae'n dal ei phlentyn yn ei breichiau, ac yn dymuno ei bod yn llai hawddgar a dymunol. Ymddangosai braidd yn gwneud pethau yn waeth, pan gofiai mor bur a chrefyddol, a chymaint uwchlaw'r cyffredin y dygasid hi i fyny. Ond nid oedd ganddi ddim i'w wneud ond *gweddio;* a llawer gweddi o'r fath a aeth i fyny ger bron Duw, allan o'r un ystordai glân a thaclus—gweddïau nad yw Duw yn eu hanghofio, fel y dengys dydd sydd i ddyfod; o herwydd ysgrifenwyd, "Pwy bynag a rwystro un o'r rhai bychain hyn, gwell fyddai iddo pe crogid maen melin o amgylch ei wddf, a'i daflu i ddyfnder y môr."

Mae pelydron esmwyth, tawel, difrifol y lloer, yn edrych i mewn yn sobr, ac yn dangos cysgodau'r bàriau ar y cysgaduriaid hyd y llawr. Ac y mae'r fam a'r ferch yn canu gyda'u gilydd alar-dôn drymaidd, a genir yn aml mewn claddedigaeth gan y caethion:—

"Ymh'le mae Mair wylofus?
Ymh'le mae Mair wylofus?
Yn iach yr ochor draw.
Mae wedi marw a myn'd i'r nef,
Mae wedi marw a myn'd i'r nef,
Yn iach yr ochor draw."

Yr oedd y geiriau hyn, mewn lleisiau hynod o fwyn a melus, ac mewn tôn o anobaith daearol yn ymgyrhaedd yn wanaidd at obaith byd arall, yn adsain yn wylofus trwy ystafelloedd tywyll y carchardy, fel y cenid penill ar ol penill:—

"Ymh'le mae Paul a Silas?
Ymh'le mae Paul a Silas?
Yn iach yr ochor draw.
Maent wedi marw a myn'd i'r nef,
Maent wedi marw a myn'd i'r nef,
Yn iach yr ochor draw."

Daliwch ati i ganu, eneidiau truain! Nid yw'r nos ond bèr, yn y bore gwahenir chwi dros byth!

Ond yn awr dyma'r bore, a phawb yn brysur; ac y mae'r teilwng Mr. Skeggs wrthi ar ei oreu glâs, o herwydd y mae amryw benau o eiddo byw i'w parotoi i'r ocsiwn. Edrychir yn fanwl at y gwisgiad, a rhoddir gair allan am i bawb wisgo'r wyneb goreu a llawenaf; a thyma hwynt yn un cylch i sefyll yr adchwiliad olaf, cyn eu cychwyn i'r farchnadfa.

Mae Mr. Skeggs, a'i balmetto ar ei ben, a'i segar yn ei gêg, yn cerdded o gwmpas, i osod pob pìn yn ei le, yn ei ddynol nwyddau.

"Sut y mae hyn yn bod?" eb efe, gan sefyll ar gyfer Susan ac Emmeline, "ymh'le mae dy wallt modrwyog di, lodes?"

Edrychodd y llances yn ofnus ar ei mam, yr hon a atebodd gyda pharodrwydd diarebol ei phobl,—"Mi ddywedais wrthi neithiwr am ei gribo yn ol yn llyfn, yn lle gadael iddo hongian yn droellau—mae'n edrych yn well felly!"

"Twt, lol," ebe'r dyn, gan droi at y ferch. "Dos di a chyrlia dy wallt, mor glysed ag y medri di!" a tharawodd ei ffon yn y llawr, "a phaid a bod yn hir ychwaith! Dos i'w helpu," eb efe wrth y fam. "Gall y cyrls yna wneud can' dolar o wahaniaeth yn ei phris hi."

* * * * *

Odditan gronglwyd gron odidog, yr oedd pobl o bob rhyw genedl yn gynulledig, yn cerdded yn ol ac yn mlaen ar balmant o fynor. O bob tu i'r llawr mawr crwn, yr oedd esgynloriau bychain i areithwyr neu werthwyr. Ar naill ochr a'r llall yr oedd dau ŵr dysgedig, parablus a doniol, yn canmol eu nwyddau yn llithrig mewn cybolfa o Ffrangaeg a Saesneg, ac yn anog eu prynwyr i godi yn eu cynygion. Ar yr ochr arall yr oedd un safle yn wag, a thŵr o bobl o'i amgylch yn aros i'r gwerthiad ddechreu. Yma gallwn weled gweision St. Clare, Twm, Adolph, ac eraill; ac yma hefyd yr oedd Susan ac Emmeline, yn aros eu tro gyda wynebau anesmwyth ac athrist. Ymgasglodd amryw edrychwyr, rhai ar feddwl prynu, ac eraill heb feddwl dim o'r fath beth, yn ol fel y dygwyddai, a dechreuasant deimlo a holi'r nwyddau, a gwneud eu sylwadau ar eu hamrywiol ragoriaethau, eu hwynebau a'u cymalau, fel ag y bydd cynifer o borthmyn wrth brynu ceffylau.

"Holoa, Alph! sut y doist ti yma?" ebe rhyw ysgogyn, gan daro ei law ar ysgwydd dyn ieuanc trwsiadus oedd yn cymeryd golwg ar Adolph trwy wydryn.

"Wel, mae arnaf eisiau valet, a chlywais fod lot St. Clare yn myn'd. Mi feddyliais yr edrychwn ar ei—"

"Mi rof genad i ti fy nal i yn prynu neb o bobl St. Clare! Niggars wedi eu difetha, bob copa o honynt! Mor anfoesgar a'r gŵr drwg!" ebe'r llall.

"Dim perygl," ebe'r cyntaf. "Os prynaf fi hwynt, fe ddaw'r castiau allan o honynt yn lled fuan; hwy gânt weled fod ganddynt feistr pur wahanol i St. Clare i wneud âg ef. Fel yr wyf yn y fan yma, mi brynaf y gwalch acw. Mae ei lun wrth fy modd."

"Ti gei y cymer gymaint sy' genyt i'w gadw—mae'n enbydus o wastraffus!"

"Iê, ie, ond mi geiff mi lord allan na *fedr* fod yn wastraffus hefo *mi*. Nid rhaid dim ond ei yru i'r calabws ychydig weithiau, ac fe'i dygir i ystyriaeth o'i ffyrdd. Fe ddysg hyny iddo ei 'nabod ei hun! O! mi diwygiaf fi ef, i

fyny ac i waered—gei di wel'd! Mi prynaf ef —dim ail air am dano!"

Bu Twm yn edrych o'i amgylch yn bryderus am ryw wyneb dyn y dymunai ei alw yn feistr; a phe baech chwithau, Syr, dan yr angenrheidrwydd o ddewis, allan o ddau gant o bobl, yr un a fyddai yn feddiannwr perffaith o honoch, a'i hawl i wneud â chwi fel y mŷnai, efallai y gallech deimlo yr un fath a Thwm, pa cyn lleied y teimlech yn gysurus gael eich troi drosodd iddynt. Gwelodd Twm ddigonedd o ddynion, —dynion mawrion, geirwon, dideimlad,—dynion bychain, teneu, gwichiog—dynion celyd, trymion, hir-ben, cymalog, a phob amrywiaeth o ddynion, cyffredin, lympaidd, a godant eu cyd-ddynion fel ag y mae pobl yn codi ysglodion, gan eu taflu i'r fasged neu'r tân yr un mor ddidaro. yn ol fel y bo gyfleus; ond ni welodd yr un St. Clare.

Ychydig cyn dechreu'r gwerthiad, daeth dyn byr, ysgwydd-lydan, esgyrnog, yn mlaen, a chrys brith am dano, yn lled agored yn ei frest, a'i lodrau wedi gweled cryn lawer o wisgiad a budreddi. Ysgwyddodd ei ffordd trwy'r lluaws, fel dyn a chanddo fusnes ar law, a chan ddyfod i fyny at yr eiddo, efe a ddechreuodd eu chwilio yn bur reolaidd. O'r moment y gwelodd Twm ef yn agosau, teimlodd ofn arswydus yn syrthio arno, yr hwn a ychwanegodd fel ag y daeth yn nes. Er mai dyn byr ydoedd, yr oedd yn ddigon amlwg fod ganddo nerth cawr. Rhaid cyfaddef mai nodau lled anffafriol oedd ei ben crwn fel bwled, ei lygaid mawr brithion, ei aeliau gwineu fel eithin crinion, a'i wyneb melyn garw o losg haul; o fewn ei geg fawr hyll, yn nghil ei foch, cadwai sypyn mawr o dobacco, a phoerai yn awr ac yn y man fel ergyd o ŵn; yr oedd ei ddwylaw yn fawrion anferth, yn flewog, yn frych, a llosg haul arnynt, yn bur fudron, ac wedi eu haddurno âg ewinedd hirion mewn cyflwr lled ddîymgeledd. Aeth y dyn yma i deimlo a phrofi'r lot bob yn un ac un. Gafaelodd yn ngên Twm, ac agorodd ei safn, i gael gweled ei ddannedd. Fe wnaeth iddo dorchi ei lawes i ddangos ei ewynau; trodd ef o amgylch a pharodd iddo neidio a rhedeg, i gael gweled ei symudiadau.

"Lle ce'st ti dy godi?" eb efe, yn gwta.

"Yn Kentucky, mas'r," ebe Twm, gan daflu ei olwg megys am ddiangfa.

"Beth fuost ti'n wneud!"

"Cym'ryd gofal ffarm, mas'r," ebe Twm.

"Felly'n wir!" ebe'r llall yn ysmala. Wrth fyned heibio, safodd fynyd ar gyfer Adolph, a chan boeri llon'd ei safn o sudd tobacco ar ei fotasau gloywon, a rhoddi math o rwchiad dirmygus, efe a aeth rhagddo. Safodd drachefn ar gyfer Susan ac Emmeline. Estynodd allan ei law drom fudr, a thynodd y llances tu ag ato; teimlodd ei gwddf a'i mynwes, yn nghyd â'i breichiau; edrychodd ar ei dannedd, ac yna gwthiodd hi yn ol erbyn ei mam, gwyneb yr hon a ddangosai'r boenyd y bu ynddi, tra'r oedd yr anghenfil yn moldio ei merch.

Dychrynodd y lodes, a dechreuodd grïo.

"Dim o 'nyna'r groten!" ebe'r gwerthwr; "dim swffian yma, mae'r gwerthiad yn myn'd i ddechreu." Ac felly dechreuwyd y gwerthiad.

Tarawyd Adolph i lawr am bris uchel, i'r boneddwr ieuanc a ddywedasai o'r blaen ei fod yn bwriadu ei brynu; ac aeth y lleill o weision St. Clare i wahanol brynwyr.

"'Nawr, fachgen, fyny â thi! glywi di?" eb y gwerthwr wrth Twm.

Aeth Twm i ben y blocyn, ac edrychodd o'i amgylch yn bryderus unwaith neu ddwy; ymddangosai'r cwbl yn gymysgfa o sŵn cyffredin, annealladwy—parabliad y gwerthwr yn traethu ei ragoriaethau yn Ffrangaeg a Saesneg, a'r cynygion, y naill ar ol y llall, fel ergydion, yn yr ieithoedd hyny; a thyma ergyd olaf y morthwyl bron mewn mynyd, a'r sill olaf o'r gair "*dolars*" yn seinio fel y gloch, pan gyhoeddodd y gwerthwr y pris,—a throwyd Twm drosodd. —Yr oedd ganddo feistr!

Gwthiwyd ef oddiar y blocyn; daeth y dyn pen tarw, a gafaelodd yn dŷn yn ei ysgwydd, gan ei wthio o'r neilldu, a dweyd mewn creglais, "Saf yna, a *wnei di*."

Prin y gwyddai Twm ddim yn y byd; eto aeth y cynygion yn mlaen mewn sŵn a dwndwr, yn awr yn Ffrengaeg, yn awr yn Saesneg. I lawr â'r morthwyl drachefn,—mae Susan wedi ei gwerthu; disgynodd oddiar y blocyn, a safodd i edrych yn bryderus o'i hol; y mae ei merch yn estyn ei dwylaw tu ag ati. Cododd hithau ei llygaid mewn gwasgfa at y dyn a'i prynodd,—dyn parchus, canol-oed, a gwynebpryd teimladwy ganddo.

"O, mas'r, gwnewch brynu fy merch i."

"Fe fuasai'n dda genyf, ond y mae arnaf ofn na fedraf fforddio!" ebe'r dyn, gyda golwg gofidus ar y lodes ifanc yn myned i ben y stôl, ac yn edrych o'i hamgylch yn wylaidd a dychrynedig.

Mae'r gwaed yn rhuthro'n boenus i'w bochau llwydion, a thân y dwymyn yn ei llygad, tra mae ei mam yn gruddfan am ei bod yn edrych yn harddach nag y gwelsai hi erioed o'r blaen. Mae'r gwerthwr wedi gweled ei fantais, ac yn bragaldio'n ddibaid mewn cymysg Ffrengig a Saesneg, a'r cynygion yn codi ar draws eu gilydd.

"Mi wnaf unpeth mewn rheswm," ebe'r dyn â gwynebpryd teimladwy, gan gynyg gyda'r lleill. Mewn ychydig fynydau maent tu hwnt i hyd ei bwrs. Mae yn ddistaw; tŷf y gwerthwr yn fwy gwresog; ond y mae'r cynygion yn arafu. Y mae yr ymryson yn awr rhwng hen




ddinesydd a'r pen-grwn. Cynygiodd y dinesydd ychydig weithiau, gan daflu golwg ddirmygus ar ei wrthwynebwr. Ond y pen-bwled pia hi, am gyndynrwydd yn gystal a dyfnder dychymygol ei bwrs: ni phery'r ymryson ddim ond am fynyd; syrthiodd y morthwyl,—ac efe bia'r lodes, gorph ac enaid, oni ddaw Duw yn help iddi!

Legree ydyw ei meistr, yr hwn sy'n berchen planhigfa gotwm ar y Red River. Gwthiwyd hi rhag ei blaen gyda Thwm a dau ddyn arall, ac ymaith â hi, dan wylo ar hyd y ffordd.

Yr oedd yn ddrwg iawn gan y dyn teimladwy; ond, o ran hyny, y mae'r un peth yn digwydd bob dydd! Gwelir merched a'u mamau yn wylo yn y gwerthiadau yma *bob amser!* nid oes dim help, &c., a cherddodd gyd â'u fargen ffordd arall.

Yn mhen deuddydd ar ol hyn, anfonodd cyfreithiwr y masnachwyr Cristionogol, B. & Co., o New-York, eu harian iddynt. Ar gefn y bil hwnw, a gafwyd fel hyn, byddai'n burion iddynt ysgrifenu y geiriau yma o eiddo'r Prifdalwr, "*Pan ymofyno efe am waed, nid anghofia efe waedd y cystuddiol!*"

## PENNOD XXXI.

### Y "MIDDLE PASSAGE."

"Ydwyt lanach dy lygad nag y gelli edrych ar ddrwg, ac ni elli edrych ar anwiredd; paham yr edrychi ar yr anffyddloniaid, ac y tewi pan lyngco'r anwir un cyfiawnach nag ef ei hun?"—HAB. 1: 13.

Ar ddec isaf agerdd-fad bychan, gwael, ar y Red River, yr eisteddai Twm—cadwyni o haiarn am ei arddyrnau, cadwyni o haiarn am ei draed, a phwysau trymach na'r haiarn yn gorwedd ar ei galon. Yr oedd y cwbl wedi diflanu o'i awyrgylch—y lleuad a'r ser; aethai'r cyfan heibio iddo fel y coed ar lanau'r afon, heb obaith byth eu gweled drachefn. Cartref Kentucky, a gwraig a phlant, a meistriaid caredig; cartref St. Clare, gyda'i holl orwychedd a'i esmwythyd; pen euraidd Eva, a'i llygaid fel golygon sant; St. Clare falch, hoyw, harddwych, bob amser yn ddiofal, bob amser yn garedig; oriau o dawelwch a hamdden—oll, oll, wedi darfod! ac yn eu lle—*pa beth?*

Dyma un o gwpaneidiau chwerwaf cyflwr o gaethiwed, fod y negro, gyda'i natur esmwyth ac ymdebygol, ar ol dysgu moesgarwch, a magu chwaeth a theimladau pobl barchus a chyfrifol, yr un mor ddarostyngedig i ddyfod yn gaethwas i'r dyn mwyaf anifeilaidd—yr un fath yn union ag y mae cadair neu fwrdd, a fuont unwaith yn dodrefnu parlyrau gorwychol, yn dyfod o'r diwedd, wedi eu curo a'u maeddu, i ystafell aflan rhyw ddiotty, neu dwlc aflan y fenyw buteinig. Y gwahaniaeth mawr rhyngddynt ydyw, na fedr y gadair na'r bwrdd ddim teimlo, ond fe all *y dyn*; oherwydd nid oes digon o rym, hyd yn nod mewn cyfraith gwlad, i ddileu ei enaid, ynghyda'i fyd bychan o adgofion, gobaith, cariad, ofnau, a dymuniadau, er ei "gymeryd, ei ystyried, a'i ddyfarnu mewn llys yn '*chattel personal.*'"

Yr oedd Mr. Simon Legree, meistr Twm, wedi prynu wyth o gaethion mewn gwahanol fanau yn New Orleans, ac wedi eu gyru yn gyplau cadwynog o ddau a dau, i lawr ar fwrdd yr agerdd-fad a elwid yn bur briodol y *Pirate*, yr hwn oedd yn gorwedd wrth y clawdd llanw, yn barod i gychwyn i fyny'r Red River.

Ar ol eu cael yn ddiogel ar y bwrdd, ac i'r llestr gychwyn, efe a roes dro o amgylch i edrych arnynt, yn ol ei arfer o wneuthur pob peth yn drwyadl. Safodd ar gyfer Twm, yr hwn a wisgasid erbyn y gwerthiad yn ei ddillad brethyn goreu, ei grys claerwyn, a'i fotasau gloywon, a siaradodd yn fyr fel y canlyn;—

"Sa i fyny."

Safodd Twm ar ei draed.

"Tyn y stock yna oddi am dy wddf;" a phan oedd Twm yn ymdrafferthu dan ei efynau, efe a'i helpiodd, nid â llaw ysgafn ychwaith, ac a'i dododd yn ei boced.

Yna fe drodd Legree at drwnc Twm, yn mha un y buasai yn chwilena o'r blaen, a thynodd allan hen drowsis, a chot y byddai Twm yn arfer ei gwisgo yn y stabl, a chan ryddhau ei ddwylaw, efe a ddangosodd iddo gilfach yn mysg y trynciau, ac a ddywedodd,

"Dos i'r fan yna, a dyro rhai'n am danat."

Ufuddhaodd Twm, a dychwelodd yn mhen ychydig fynydau.

"Tyn dy fotasau," ebe Legree.

Tynodd Twm hwynt.

"Dyna," eb ei feistr, gan daflu ato bâr o esgidiau trymion, afluniaidd, cyffredin yn mysg y caethion, "rho rhei'na am dy draed."

Wrth newid ei ddillad ar frys, nid anghofiodd Twm drosglwyddo ei Fibl anwyl i boced yr hen gôt. A da fu hyny iddo; oherwydd mor fuan ag y gorphenodd Legree sicrhau ei arddyrnau â gefynau, efe a ddechreuodd droi ei bocedi y tu gwrthwyneb allan. Tynodd o un napcin sidan, a dododd ef yn ei boced ei hun. Amryw delmau bychain cywrain, pa rai a werthfawrogid gan Twm, oherwydd iddynt unwaith fod yn ddifyrwch i Eva, efe a edrychodd arnynt gyda rhwchiad dirmygus, a thaflodd hwynt dros ei ysgwydd i'r afon.

Yn ei frys anghofiodd Twm ei lyfr Hymnau Methodistiaidd; daliodd Legree hwnw i fyny, a throdd y dalenau.

"Hych, crefyddol debyg gen i. Wyt ti'n perthyn i'r eglwys, beth ydi d'enw di?"

"Ydw, mas'r," ebe Twm, yn ddifloesgni.

"Wel, mi dyna i *hyny* allan o honot ti yn bur fuan. Cofia di nad oes un o'r niggars bloeddio yma, a chanu a gweddïo, i fod o nghwmpas i. Edrych di ati hi," eb efe, gan daro ei droed i lawr, a melltenu ar Twm â'r llygaid brithion, "*Fi* ydi d'eglwys di 'rwan! Wyt ti'n deall?—rhaid i ti fod o hyn allan fel y deuda *i*."

Atebodd rhywbeth ynghalon y dyn du distaw, *Na byddaf!* ac fel pe buasai ar dafod anweledig, daeth geiriau hen lyfr prophwydol a ddarllenasid yn aml gan Eva i'w feddwl, "Nac ofna, canys myfi a'th waredais. Mi a'th elwais ar fy enw. EIDDOF FI ydwyt."

Ond ni chlywodd Simon Legree ddim. Ni chlyw ef byth mo'r llais hwnw. Hyll-dremiodd yn unig am fynydyn ar wyneb pruddaidd Twm, ac yna cerddodd ymaith. Cymerodd drwnc Twm i'r pen blaen, yr hwn a gynwysai ddillad harddwych, ac ymdyrodd nifer o'r llongwyr o'i amgylch. Gwerthwyd yr holl ddillad yn fuan i hwn a'r llall, yn nghanol chwerthiniad am ben niggars yn ceisio bod yn bobl fawr, ac yn y diwedd gwerthwyd y trwnc gwag. Dywedent oll mai sport braf oedd gweled Twm yn rhythu ei lygaid ar ol ei ddillad, fel yr oeddynt yn myned, dernyn i hwn a dernyn i'r llall; ac yna'r trwnc yn myn'd wrth ocsiwn, yr hyn oedd y digrifaf o'r cwbl, a pharodd hyn ddifyrwch annghyffredin iddynt.

Pan aeth hyn o chware heibio, daeth Simon heibio at ei eiddo drachefn.

"'Nawr Twm," eb efe, "ti weli mod i wedi ysgafnhau dy bwn di o ddillad. Cymer lawer o ofal o'r hyn sy gent ti. Ti fyddi'n hir cyn cael rhagor. Gwneud niggars yn ofalus ydi fy ffordd i; un siwt y flwyddyn, a dim yn rhagor, ar fy lle i."

Aeth Simon yn nesaf i'r fan lle'r oedd Emmeline yn eistedd, wedi ei chadwyno wrth ddynes arall.

"Wel, ngeneth i," eb efe, gan ei goglais dan ei gên, "cadw d'ysprydoedd i fyny."

Edrychodd y llances arno gyda dychryn a ffieidd-dod. Gwgodd yntau yn greulon.

"Dim o d'ysmaldod di, hogen! Rhaid i ti edrych yn siriol pan siarada i—wyt ti'n clywed? A thitha, yr hen wyneb torth surgerch!" eb efe, gan roddi hergwd i'r ddynes felen wrth ba un y cadwynwyd Emmeline, "paid ti a chario hen wep fel yna! Rhaid i ti edrych yn shonc, dyna fi'n deud i ti!"

"'Rwan, bob un o honoch chi," eb efe, gan roi cam neu ddau yn ol—"edrychwch arna i—'drychwch yn myw fy llygad i—yn *syth*, 'rwan!" eb efe, gan daro ei droed wrth bob gorphwysiad.



Trodd pob llygad ar lygad sarphaidd Legree, fel dan effaith rhyw swyn-gyfaredd!

"'Nawr," eb efe, gan gau ei ddwrn mawr trwm, rywbeth yn debyg i ordd gefail gôf, "welwch chi'r dwrn yma? Teimla ei bwysa!" eb efe, gan ei daro yn llaw Twm. "Welwch chi'r esgyrn yma? Wel, mi ddeuda i chi, mae'r dwrn yma mor g'letted a haiarn, *wrth ddyrnu niggars!* Ni welis i 'run niggar erioed na fedrwn i ei daro nes byddai'n rholio ar un ergyd," eb efe, a disgynodd ei ddwrn mor agos i wyneb Twm, fel y neidiodd hwnw yn ei ol. "Ni bydda i byth yn cadw 'ch arolygwyr melldigedig chi, mi fedra i arolygu fy hunan. 'Rydw i yn edrych ar ol petha, coeliwch chi. Rhaid i bob un o honoch chi ei throedio hi mewn pryd, dyna fi'n deud i chi; mewn winciad—ar y gair—pan agora i ngena. Dyna'r ffordd i gadw law yn llaw hefo fi. Ni ffendiwch chi 'run spotyn meddal o nghwmpas i yn unlle. Felly, 'drychwch ati hi; nid oes ynw i ddim tosturi!"

Tynodd y merched eu hanadl atynt mewn dychryn, ac eisteddasant bawb a'u hwynebau tua'r llawr. Yna trodd Simon ar ei sawdl, ac aeth i fyny at y bar i gael diferyn.

"Dyna fel y bydda i yn dechre hefo fy niggars," eb efe wrth wr boneddigaidd oedd wedi bod yn sefyll yn ymyl yn ystod ei araith. "Dechreu 'n llaw uchel ydi fy ffordd i, fel gallon nhw wybod beth i ddisgwyl."

"Aie!" ebe'r dieithrddyn, gan ei fesur o'i ben i'w droed, fel rhyw fwystfil o rywogaeth newydd.

"Iē'n wir. Nid un o'ch planwyr bynddigion chi ydw i, a dwylo merchedaidd, yn gadael i ryw hen overseer y felldith fynd dros mhen i! Teimlwch nghymala i; 'drychwch ar nwrn i. Gwelwch chi, syr, mae'r cnawd arno fel y gareg, wrth guro niggars—teimlwch o."

Dododd y dieithrddyn ei fys ar yr offeryn dan sylw, a dywedodd—

"Mae'n ddigon caled, ac y mae'n debyg fod corn yr un fath wedi tyfu ar eich calon."

"Mi alla fentro deud hyny," ebe Simon, dan chwerthin nerth ei ben, "mae'n debyg fod cyn lleied o le meddal ynw i ag odid o ddyn. Mi ddeuda i chi beth, nid oes neb yn cael mynd dros mhen i. Ni ddaw 'run niggar o nghwmpas i hefo snwffian, na sebon meddal ychwaith—dyna'r gwir i chi."

"Mae genych lot braf fan yna."

"Oes gampus," ebe Simon. "Dacw Twm, maen nhw'n d'eud ei fod o'n rhwbeth annghomon. Mi dalis i yn uchel am dano, oherwydd 'rydw i'n meddwl ei roi i edrych ar ol petha; mi neiff o'r tro i'r dim, ond tynu o'i ben y lol rowd yno trwy ei drin mewn ffordd na ddylai neb drin niggars. Mi ges nghymryd i fewn braidd yn y ddynes felen acw. Mae golwg sâl arni hi; ond mi wnaf iddi fod yn werth ei phris; hi ddeil am flwyddyn neu ddwy. Nid ydw i ddim yn arbed niggars. Gweithio nhw allan, a phrynu rhai erill, dyna fy ffordd i,—llawer llai o drwbwl, ac yr ydw i'n siwr ei fod yn rhatach yn y pen draw," a sipiodd Simon ei wydriad.

"Pwy hyd maent yn dal allan yn gyffredin?" ebe'r dyn dieithr.

"Wel, nis gwn i, dest fel bo'u nerth nhw. Gweilch lled gryfion, mi ddalian chwech neu saith mlynedd; ond y mae rhyw hen gadachau yn gwisgo allan mewn dwy neu dair. Pan ddechreuas i, mi fyddwn yn cymeryd llawer o boen a thrafferth i geisio gwneud iddynt ddal allan—eu doctora pan fyddent yn sâl, a rhoi dillad a phlancedi, ac nis gwn i pa beth iddynt, i'w gwneud rywfodd yn gryno a chysurus. Twt, nid oedd o les yn y byd; mi gollis arian gyda nhw, a chefis wmbredd o drwbwl. 'Nawr, welwch chi, yr wyf yn eu gyru trwodd, allan ac allan, boent glaf neu iach. Pan fo un niggar yn marw, mi brynaf un arall; ac y mae'n rhatach, ac yn llawer mwy didrafferth bob ffordd."

Trodd y dyn dieithr draw, ac eisteddodd yn ymyl gwr bonheddig a fuasai yn gwrando ar yr ymddiddan gyda gwedd anesmwyth.

"Rhaid i chwi beidio cymeryd y creadur yna fel esiampl o blanwyr y dehau," eb efe.

"Gobeithio na raid," ebe'r gwr ifanc, gyda phwyslais.

"Creadur gwael, distadl, ciaidd ydyw!" ebe'r llall.

"Ac eto mae'ch cyfreithiau chwi yn caniatau iddo gael un rhyw nifer o fodau dynol, i fod yn ddarostyngedig i'w ewyllys, heb gymaint a rhith o amddiffyn; ac er mor giaidd ydyw, nis gallwch wadu nad oes llawer o'i fath."

"Wel," ebe'r llall, "y mae hefyd lawer o blanwyr tosturiol a theimladwy."

"Yr wyf yn addef hyny," ebe'r gwr ifanc; "ond, yn fy marn i, chwi, y tosturiol ar teimladwy, sydd yn gyfrifol am yr holl drawsder a gorthrwm a gyflawnir gan y bleiddiaid hyn; oherwydd heb eich dylanwad a'ch cymeradwyaeth chwi, ni safai'r gyfundraeth am un awr. Pe na ba'i ddim planwyr ond fel hwnyna," eb efe, gan gyfeirio ei fys at Legree, yr hwn oedd yn sefyll â'i gefn atynt, "fe syrthiai'r cwbl fel maen melin. Eich cyfrifoldeb a'ch teimladrwydd chwi sy'n cadw'r ffordd yn agored i'w greulondeb ef."

"Mae genych feddwl mawr am fy natur dda i," ebe'r planwr, dan wenu; ond mi a'ch cynghorwn i beidio siarad mor uchel, oherwydd y mae yma bobl ar y bwrdd nad ydynt mor barod a mi i gyd-ddwyn â chwi. Gwell i chwi aros nes y cyrhaeddwn fy mhlanigfa i, yno cewch ein ceryddu bob copa, wrth eich pwys."

Gwridodd y gwr ifanc, a gwenodd, ac yr

oedd y ddau yn fuan yn chware backgammon. Yn y cyfamser yr oedd ymddiddan arall yn myned yn mlaen mewn rhan arall o'r llestr, rhwng Emmeline a'r ddynes felen wrth ba un yr oedd yn rhwym. Fel yr oedd yn ddigon naturiol, adrodd ychydig o'u hanes, y naill i'r llall, yr oeddynt.

"Pwy oedd pia chwi?" meddai Emmeline.

"Mr. Ellis oedd enw fy meistr, yr oedd yn byw yn stryt y Levee. Fe allai i chwi weled y tŷ."

"Fyddai fe'n dda wrthych?" eb Emmeline.

"Yn gyffredin, hyd nes aeth yn sâl. Mae wedi bod yn cwyno, i fyny ac i lawr, er's chwe' mis, ac yn anesmwyth ryfeddol. Nī chai neb orphwys ganddo ddydd na nos, ac fe aeth mor giwriws nad allai neb ei blesio. Mi aeth yn groesach groesach bob dydd; ac mi cadwodd fi ar fy nhraed y nos, nes 'ngwisgo i allan yn lân, a fedrwn i ddim dal fy llygid yn agored; ac un noswaith mi gysgais, ac fe aeth ynte o'i go lâs, ac mi siaradodd mor ddychrynllyd, ac mi ddeudodd y gwerthai fi i'r meistr caleta fedrai gael; yr oedd wedi addo ngneud i'n rhydd hefyd, pan fyddai farw."

"Oedd genych ddim ffrindiau?" eb Emmeline.

"Oedd, fy ngwr; gôf ydyw. Fyddai mas'r, yn gyffredin, yn ei logi allan. Nhw nghymson i ffwrdd mor sydyn, fel na ches i ddim ei weled; ac y mae gen i bedwar o blant. O, beth wnaf fi?" ebe'r wraig, gan godi ei dwylaw at ei gwyneb.

Mae'n bur naturiol i bawb feddwl am ryw air o gysur pan glywo hanes galarus; a theimlodd Emmeline chwant dweyd rhywbeth, ond nid oedd ganddi ddim i'w ddweyd. Pa beth a allai ddweyd? Ymgadwasant, fel trwy gydsyniad unfrydol, mewn ofn a dychryn, rhag yngan gair am y dyn atgas oedd yn awr yn feistr iddynt.

Ond fe all y Cristion obeithio yn yr awr dywyllaf. Yr oedd y ddynes felen yn aelod gyda'r Wesleyaid, ac ynddi yspryd crefyddol diffuant, er cymaint ei hanwybodaeth. Dygasid Emmeline i fyny i wybod llawer mwy—medrai ddarllen ac ysgrifenu, ac yr oedd ei meistres ffyddlon duwiol wedi ei dysgu yn fanwl yn yr Ysgrythyrau; eto, onid yw'n ddigon i siglo ffydd y Cristion cadarnaf, pan welo ei hun yn ngafael blaidd o ddyn, ac, yn ol pob ymddangosiad, wedi ei lwyr anghofio gan Dduw? A pha faint mwy y rhaid iddo siglo ffydd rhai bychain Crist, eiddil mewn gwybodaeth, ac ieuanc o ran dyddiau!

Aeth yr agerdd-lestr rhagddo—yn llwythog o wae—i fyny'r afon goch, domlyd, a thrwy ddolenau camog a dyrys y Red River; tremiodd y llygaid galarus yn flinedig ar y ceulenydd cleiog, cochion, fel y llithrent heibio yn un gadwen anial, yr un fath y naill ddydd ar ol y llall.

O'r diwedd arosodd y llestr wrth dref fechan, a glaniodd Legree a'i eiddo.

## PENNOD XXXII.

### TYWYLL LEOEDD.

"Llawn yw tywyll leoedd y ddaear o drigfanau trawster."

Trodd Twm a'i gymdeithion eu hwynebau yn mlaen, gan ymlusgo tu ol i wagen annghelfydd, yr hyd ffordd mwy annghelfydd fyth.

Yn y wagen eisteddai Simon Legree, a'r ddwy ddynes yn y pen ol iddi, yn mysg rhyw fwndeli, wedi eu cadwyno yn nghyd; yr oeddynt oll yn tynu tua phlanigfa Legree, i'r hon yr oedd cryn ffordd.

Ffordd wyllt annghysbell ydoedd, yn dirwyn weithiau trwy goed ffawydd haner crinion, a'r gwynt yn chwibanu yn alarus yn eu brigau, a thro arall tros gefn-ffordd o goed ar draws corsydd meithion, ac ambell i goeden yma a thraw yn tyfu o'r llaid, a thorchau o fwswgl marwaidd yn hongian o'i deutu; ac yn awr ac yn y man gwelid neidr yn ymrwyfo rhwng y boncyffion a orweddent ar draws ac ar hyd yn pydru yn y dwfr.

Ffordd ddigon annifyr ydyw ffordd fel hon i estron â'i bwrs yn llawn a'i anifail yn gryf, yn myned wrtho ei hun ar neges fasnachol; ond llawer mwy anial ac annifyr yn ngolwg y trwm-lwythog ag y mae pob cam blinedig yn ei ddwyn yn mhellach oddiwrth bob peth a gâr ac y gweddīa drosto.

Gallasai un feddwl felly wrth edrych ar y gwynebau duon tristion, a'r llygaid blinedig â pha rai yr edrychent ar hyn a'r llall yn eu taith ddi-gysur.

Ond aeth Simon rhag ei flaen yn ddigon ysgafn ei galon, yn ol pob ymddangosiad, gan godi potel o wirod at ei ben yn lled fynych.

"A glywch chi!" eb efe, pan drodd yn ol a chanfod y gweflau llaesion o'r tu cefn iddo, "t'rewch allan un o'ch caniadau—dowch!"

Edrychodd y dynion y naill ar y llall, ac ail-ddywedwyd y "*dowch*" gyda chlec uchel i'r whip oedd gan y gyrwr yn ei law. Dechreuodd Twm un o hymnau'r Methodistiaid:—

"Pererin wyf mewn anial dir
Yn crwydro yma a thraw;
A dysgwyl 'rwyf o awr i awr
Fod tŷ fy Nhad—"

"Cau dy gêg, hen Satan y felldith," ebe Legree, nerth ei ben; "oeddit ti'n meddwl fod arna' i eisiau dy hen Fethodistiaeth 'ffernol di? Dowch o'na—rhwbeth sionc—ffwr' a hi!"

Yna dechreuodd un o'r lleill ryw rigwm disynwyr, fel y bydd yn mysg y caethion:—

"Mas'r see'd me cotch a coon
High, boys, high!
He laugh'd to split—d'ye see the moon,
Ho! ho! ho! lads, ho!
Ho, yo! hi—e! oh!"



Ymddangosai'r cantwr fel yn gwneud y gân i fyny wrth ei bleser, weithiau'n rhigwm, heb lawer o ymgais am synwyr, a'i holl gwmpeini ar dro yn cyd-ganu rhan o'r byrdwn:—

"Ho! bo! bo! lads, bo!
Hi—e—oh! hi—e—oh!"

Canasant yn uchel, a chyda rhyw ymgais trwsgl am fod yn ddigrif; ond nis gallai un ddolef o anobaith, un gair o weddi'r truan, fod â mwy o ddyfnder ing ynddynt nag oedd yn lleisiau gorwyllt y gydgerdd. Fel pe buasai'r galon dlawd, fud, fygythiol—yn ei charchar—yn cymeryd noddfa yn nghafell sanctaidd miwsig, ac yno yn cael iaith yn mha un i anadlu eu gweddi at Dduw! Yr oedd ynddi weddi na chlywodd Simon ddim o honi. Ni chlywodd ef ddim ond y bechgyn yn bloeddio canu, ac yr oedd wrth ei fodd; yr oedd yn gwneud iddynt "gadw eu hysbrydoedd i fyny."

"Wel, mechan i," eb efe, gan droi at Emmeline, a dodi ei law ar eu hysgwydd, "yr ydan ni bron gartre'!"

Pan fyddai Legree yn trin ei dafod, fel peth o'i go, codai ofn ar Emmeline; ond pan siaradai â hi, a dodi ei law arni, fel y gwnaeth yn awr, buasai yn llawer gwell ganddi iddo ei tharo. Yr oedd ei edrychiad yn ei gwneud yn sâl, ac yn peri i'w chnawd grynu. Ymwthiodd yn awr at y ddynes felen oedd yn ei hymyl, fel pe buasai yn fam iddi.

"Fuoch chwi erioed yn gwisgo clust-dlysau?" eb efe, gan ymaflyd yn ei chlust fechan â'i hen dywarchen o law.

"Naddo, mas'r," eb Emmeline, mewn cryndod, a'i llygaid tua'r llawr.

"Wel, chwi gewch bâr pan awn ni adre', os byddwch yn lodes dda. Nid rhaid i chi ddim ofni; ni chewch ddim gwaith caled. Cewch fyd brâf, a byw fel ladi—ond i chi fod yn lodes dda."

Yr oedd Legree wedi yfed i'r graddau hyny sydd yn gwneud dyn yn galon rydd; a thua'r amser yma, daethant i olwg *ffenses* y blanigfa. Buasai'r ystât unwaith yn eiddo gŵr cyfoethog, llawn o chwaeth, yr hwn a dreuliodd lawer i addurno'r amgylchoedd. Bu hwnw farw mewn dyryswch, a phrynodd Legree hi am yr haner a dalai, a defnyddiodd hi, fel y gwnai bob peth arall, megys offeryn i wneud arian. Gwelid arwyddion ar bob llaw, yn y golygfeydd carpiog, llymllyd, ac adfeiliedig, fod gofal y perchenog o'r blaen wedi ei adael i lwyr adfeilio.

Yr hyn fuasai gynt yn llanerch o welltglas llyfn, a choeden addurnol yma a thraw ar hyd'ddo, oedd yn awr yn orchuddiedig â llafrwyn hirion, a pholyn yn y fan yma a'r fan draw i rwymo pen ceffyl wrtho, a'r glaswellt wedi ei fathru yn glai o'u cwmpas; a bwcedi, potiau, basgedi, a gwrisg yn blith-draphlith ar draws ac ar hyd iddo. Mewn ambell fan gwelid coeden rhosynau wedi ei phlygu i'r ddaear, trwy fod yn rhwym wrth bolyn syrthiedig. A'r hyn fuasai unwaith yn ardd fawr doreithiog, oedd yn llawn chwŷn, ac ambell lysieuyn tàl yn codi ei ben amddifad trwyddynt. Yn y deildy nid oedd un ffenestr gyfan, a gwelid llestri llysiau ar y shilffoedd pwdr, a phrenau yn aros ynddynt, gydag ychydig weddillion gwywedig o'r hyn fuasai unwaith yn blanigion.

Rholiodd y wagen ar hyd llwybr o raian, llawn o wydd a chwŷn, dan gysgodfa ardderchog o goed, cyffion mawreddus pa rai, yn nghyd a'r cangau deiliog, oeddynt yr unig weddillion

na fedrai esgeulusdod effeithio arnynt—fel eneidiau gwrol, a daioni wedi gwreiddio mor ddwfn ynddynt, fel y tyfant yn gryfach yn nghanol rhwystrau a llygredigaeth.

Yr oedd y tŷ wedi bod yn un helaeth a hardd. Adeiladesid ef mewn dull pur gyffredin yn y dehau; verandah lydan, o ddau uchdwr, yn rhedeg o'i amgylch, i ba un yr agorai pob drws allan ar y tŷ; a'r gwaelod yn gorphwys ar golofnau o briddfeini.

Ond yr oedd golwg adfeiliedig a di-gysur arno; rhai ffenestri wedi eu cau â byrddau, rhai â'r gwydr yn ddrylliau, a chauadau'r ffenestri yn hongian ar un colyn—y cwbl oll yn dangos esgeulusdod mochynaidd ac annhrefnus.

Yn mhob man o gwmpas, gwelid darnau o goed, tyrau o wellt, hen farilau a chistiau; a daeth tri neu bedwar o gŵn afreolus, gan gyfarth a gwneud twrw, pan glywsant sŵn y wagen, a phrin y gallodd tŵr o weision carpiog eu hattal rhag llarpio Twm a'i gyd-drafaelwyr.

"Welwch chi be' gaech chi!" ebe Legree, gan ganmol y cŵn gyda chrechwen foddhaol, a throi at Twm a'i gymdeithion. "Welwch chi be' gaech chi, pe byddech yn treio d'engyd. Mae'r cŵn yma wedi eu magu i hela niggars; ac mi larpian un o honoch chi, 'run fath a byta'u swpper. Felly, 'drychwch ati hi! Wel, Sambo, sut mae hi?" eb efe wrth gimmwch carpiog, heb un cantel wrth ei het, yr hwn oedd yn troi oddeutu yn brysur. "Sut y mae petha'n myn'd y'mlaen?"

"Campus, mas'r!"

"Cwimbo," ebe Legree wrth un arall, yr hwn oedd yn bur selog i dynu ei sylw, "ddaru ti gofio'r peth ddeudas i?"

"Debyg gen' i'n wir!"

Y ddau ddyn du yma oedd y pen-gweision ar y blanigfa. Yr oedd Legree wedi eu dysgu mewn creidd-der a chreulondeb yr un fath ag y dysgasai ei dri neu bedwar mastiff; a thrwy hir ymarferiad mewn dideimladrwydd a chreulondeb, nid oedd braidd ddim gwahaniaeth rhyngddynt a'r cŵn o ran eu natur. Mae yn sylw cyffredinol, ac yn un a gymerir fel prawf o ddiffygion naturiol y bobl dduon, eu bod yn waeth meistriaid na phobl wynion. Ond nid yw hyn ddim mwy na dweyd fod meddwl y dyn du wedi ei ddarostwng a'i lethu yn fwy na'r dyn gwyn. Nid yw ddim mwy cymhwysiadol at y bobl hyn na phob pobl orthrymedig ar wyneb y ddaear. Traws ydyw'r caethwas bob amser, os caiff gyfle i fod felly.

Yr oedd Legree, fel rhyw freninoedd y darllenwn am danynt, yn llywodraethu ei blanigfa trwy osod y naill i wrth-bwyso'r llall. Yr oedd Sambo a Cwimbo yn casau eu gilydd o wirfodd calon; a chaseid y ddau yn drwyadl gan bob llaw ar y blanigfa; a thrwy eu gosod fel hyn yn erbyn eu gilydd, byddai Simon yn bur debyg o gael gwybod pob peth fyddai ar droed, trwy un o'r teirplaid.

Ni fedr neb fyw yn hollol ar ei ben ei hun; a gollyngodd Legree ei ddau brif-weinidog i ryw fath o fudr-gyfrinach âg ef; ond cyfrinach a ddygai'r naill neu'r llall i berygl bob mynyd o syrthio dan ei ddigofaint; o herwydd, ar yr amnaid lleiaf, byddai un yn barod i weinyddu ei ddialedd ar y llall.

Fel yr oeddynt yn sefyll o flaen Legree, rhoddent esboniad amlwg o'r ffaith fod dyn bwystfilaidd yn llawer is na'r bwystfil. Yr oedd eu hwynebpryd geirwon, tywyll, trymaidd; eu llygaid mawrion yn rholio yn llawn eiddigedd i'w gilydd; eu bonllefau crŷg, barbaraidd, haner anifeilaidd; eu dillad budron, carpiog, yn hofran yn y gwynt—oll yn cydweddu yn berffaith â'r olygfa slyfenllyd a ffiaidd oedd ar bob peth yn y lle.

"Tyr'd yma, Sambo," ebe Legree, "cymer y bechgyn yma i lawr i'r tai allan; a thyma i ti lodes a brynis i *ti*," eb efe, gan ryddhau y ddynes felen oddiwrth Emmeline, a'i gwthio tuag ato; "mi addawais i ti ddynes, wyddost."

Neidiodd y ddynes yn ei hol yn ddychrynedig—

"O, mas'r! mi adawais fy ngŵr yn New Orleans!"

"Beth am hyny, tydi ——; oni fydd arnat eisia un yma? Dim o dy lol di—dos o'na!" ebe Legree, gan godi ei chwip.

"Dowch, miss," eb efe wrth Emmeline, "dowch hefo fi i mewn yma."

Gwelwyd wyneb tywyll, llym, am foment, yn un o ffenestri'r tŷ; a phan agorodd Legree y drws, clywid llais merch yn lled uchel ac awdurdodol. Clywodd Twm hyn, wrth edrych yn bryderus ar ol Emmeline, fel yr oedd yn myned i mewn, a chlywai Legree yn ateb mewn natur ddrwg, "Dal di dy dafod! mi wnaf fel y fynwyf, er dim a elli di wneud!"

Dyna'r cwbl a glywodd Twm, o herwydd gorfu arno fyned ar frys gyda Sambo i'r tai allan. Rhyw res o gutiau oedd y tai allan, gryn ffordd oddiwrth y tŷ anedd. Yr oedd yr olwg arnynt yn isel, gwael, a thlawd. Syrthiodd calon Twm o'i fewn pan welodd hwynt. Buasai yn meddwl am gaban bach cysurus iddo ei hun, diaddurn mae'n wir, ond un ag y medrai ei wneud yn lân ac yn daclus, ac y gallai osod shilff i ddal ei Fibl, a bod wrtho ei hun ar ol oriau gweithio. Edrychodd i mewn i amryw; nid oeddynt ddim ond y muriau moelion, heb ddim dodrefn o fath yn y byd—dim ond tŵr o wellt, yn llawn budreddi, wedi ei chwalu ar hyd y llawr, yr hwn nid oedd ond llawr pridd, wedi ei fathru yn galed gan draed mwy na rhif.

"P'run o rhai'n gaf fi?" ebe Twm wrth Sambo, yn ostyngedig.

"Nis gwn i; elli droi mewn yma, 'ddyliwn

i," ebe Sambo; "debyg fod yma le i un arall; mae twr brâf o niggars i bob un o honyn' nhw 'rwan; nis gwn i ddim beth i 'neud hefo dim rhagor."

* * * * *

Yr oedd yn lled hwyr cyn i denant'aid blinedig y cutiau ddyfod i mewn—dynion a merched, mewn gwisgoedd budron carpiog, yn sarug a digysur, ac nid mewn tymher i roddi croesawiad i ddyeithriaid. Nid crechwen llawenydd oedd yn adsain trwy'r pentref; ond crŷgleisiau anfoddog, yn ymryson am y melinau, lle y melid eu dyrnaid o ŷd caled i wneud teisen i'w swper. Buasent yn y maes er toriad y wawr, yn gweithio dan ffrewyll y gyrwr; o herwydd yr oedd yn awr yn ganol y tymhor, a phawb yn cael eu gyru hyd eithaf eu gallu. "Gwir," meddai'r esmwyth diofal, "ond nid yw pigo cotwm yn waith caled." Aïe, yn wir! Nid llawer o boen ychwaith ydyw cael un diferyn o ddwfr i ddiferu ar ben dyn; eto penyd galetaf y chwil-lŷs ydyw diferyn ar ol diferyn, yn syrthio yn barhaus ac yn ddibaid yn yr un fan; a gwaith nad yw galed ynddo ei hun, bydd yn sicr o ddyfod felly pan wesgir ef, awr ar ol awr, yn yr un dull a modd, heb gymaint a theimlad o ewyllys rydd i dynu ymaith ei flinder. Edrychodd Twm, ond yn ofer, am un wyneb cydymaith yn mysg y lluaws, fel yr oeddynt yn dyfod i mewn. Ni chanfu ddim ond dynion cuchiog, anfoddog, a bwystfilaidd; a merched llesg, digalon, neu ferched nad oeddynt ferched—y gref yn gwthio'r wan draw—a'r duedd anifeilaidd o ofalu drosti ei hun yn unig yn llywodraethu pob ysgogiad; nis gallent ddysgwyl na dymuno dim da y naill oddiwrth y llall, ac yr oeddynt wedi eu trin fel anifeiliaid, hyd nes oeddynt mor gydwastad â'r anifail ag oedd bosibl i greaduriaid rhesymol fod. Parhaodd sŵn y malu hyd nes oedd yn hwyr y nos; o herwydd nid oedd ond ychydig o felinau ar gyfer angen cynifer, a chan mai'r trechaf treisied a'r gwanaf gwaedded oedd, yn olaf y daeth tro'r gwan.

"Ho yo!" ebe Sambo, pan ddaeth at y ddynes felen, a thaflu cydaid o ŷd iddi, "beth felldith y gelwir di?"

"Lucy," ebe'r ddynes.

"Wel, Lucy, fi pia di 'rwan. Mala di'r ŷd yma, a gwna fy swper *i;* wyt ti'n clywad?"

"Nid ti pia fi, a chei di mona i chwaith!" ebe'r ddynes, gyda math o wroldeb mewn anobaith, "dos o'na!"

"Mi cicia inau di, ynte!" ebe Sambo, gan godi ei droed yn fygythiol.

"Mi gei fy lladd i os wyt ti'n dewis—a goreu po gynta'! O na bawn i wedi marw!" ebe hi.

"Sambo! os ei di i spwylio'r dwylo, mi ddeuda' i wrth mistar!" ebe Cwimbo, yr hwn oedd yn brysur wrth y felin, o ba le y gwthiasai ddwy neu dair o ferched blinedig, y rhai oedd yn ceisio malu eu dyrnaid ŷd.

"Mi ddeuda ina dy fod di'n rhwystro i'r merched falu, yr hen niggar," ebe Sambo. "Meindia dy fusnes dy hun, nei di?"

Yr oedd Twm ag eisiau bwyd ar ei galon, a bron a llewygu ar ol ei hirdaith flin.

"Dyna di," ebe Cwimbo, gan daflu cwdyn bras o'i flaen, a phecaid o ŷd ynddo; "gafael yn hwna, niggar, a gwna yn fawr o hono, o herwydd dyna gei di'r wythnos yma."

Arosodd Twm yn hwyr iawn cyn cael cyfle i fyned at y felin; a phan gafodd, gwelai ddwy ddynes yn rhy lesg i fedru malu eu hychydig, a helpiodd hwynt, a chrynhôdd yr ychydig bennewynion a adawsai'r lleill, i grasu eu teisenau, yna aeth o gylch ei swper ei hun. Peth hollol newydd oedd hyn iddynt—gweithred o gariad, er mai un fechan—eto cyffyrddodd a thannau euraidd tynerwch yn eu calonau, a gwawriodd teimladau serchlawn gwraig ar eu gwynebau hagr. Cymysgasant ei deisen iddo, ac edrychasant ar ol ei chrasu. Eisteddodd Twm wrth y tân, a thynodd allan ei Fibl—o herwydd yr oedd arno angen cysur.

"Beth ydi 'nyna?" ebe un o'r merched.

"Bibl," ebe Twm.

"Dyn anwyl! welas i 'run erioed er pan oeddwn yn Kentucky."

"Ai yn Kentucky y magwyd chwi?" ebe Twm, yn awyddus.

"Iē, a magu'n dda gefis i hefyd; feddylis i 'rioed y down i'r byd sy' yma," ebe'r ddynes, gydag uchenaid.

"Be' ydi'r llyfr, wedi'r cwbwl?" ebe'r ddynes arall.

"Ond y Bibil!"

"Dyn anwyl! be' ydi hwnw?" ebe hithau.

"Ai tybed na chlywist ti erioed son am dano?" ebe'r llall. "Mi fydda missis yn ei ddarllen yn Kentucky; ond, dyn a styrio! nid oes yma ddim byd ond tyngu a rhegu."

"Darllen tipyn sut bynag," ebe'r ddynes a siaradasai gyntaf, wrth weled Twm yn edrych yn ddyfal arno.

Darllenodd Twm, "Deuwch ataf Fi, bawb sydd yn flinderog ac yn llwythog, ac mi a esmwythaf arnoch."

"Dyna eiria da iawn," ebe'r ddynes, "pwy sy'n eu deud nhw?"

"Yr Arglwydd," ebe Twm.

"Fasa'n dda gen i wybod ymh'le i ddyfod o hyd iddo," ebe'r ddynes. "Mi awn ato; nid oes dim tebyg i orphwyso fan yma byth ond hyny. Mae nghawd i gyd yn ddolurus, ac yr ydw i'n crynu drosta bob dydd; a thyna Sambo, mae yn dondio bob amser, am na fedraf bigo'n gynt; ac wedi hyny mae yn agos haner nos cyn y caf swper; yna prin y caf roi tro a chau fy llygad, cyn y bydd y corn yn galw ni i

gedi, ac ati hi drachefn ben bore. Pe cawn i wybod lle mae'r Arglwydd, mi ddeudwn wrtho."

"Mae yma, mae yn mhob man," ebe Twm.

"Taw, taw! nid wyt ti ddim am wneud i mi goelio hyna! Mi wn i nad ydi'r Arglwydd ddim yma," ebe'r ddynes; "ond ni wiw siarad, rhaid i mi fyn'd i dreio cysgu tra gallaf fi."

Aeth y ddwy ddynes tua'u cwt, ac eisteddodd Twm wrtho ei hun, yn ymyl y mymryn tân oedd yn adlewyrchu yn ei wyneb.

Cododd y lleuad arianaidd, a'i hwynebpryd tawel, yn yr awyr uwch ben, ac edrychodd i lawr yn ddystaw a llonydd, fel ag y mae Duw yn edrych ar drais a gorthrwm—edrychodd yn dawel ar y dyn du wrtho ei hun, fel yr oedd yn eistedd, â'i freichiau yn mhleth, a'i Fibl ar ei ddeulin.

"A ydyw Duw YMA?" Sut y mae'n bosibl i'r galon ddiddysg gadw ei ffydd yn ddisigl yn ngwyneb annghyfiawnder anferth, diogchudd, a digerydd. Yr oedd ymgyrch caled yn y galon ddidwyll hono; teimlad o drawsder anaele, a phob arwydd o fywyd anhapus,—llongddrylliad am ei holl obaith, a'i enaid yn nghanol tònau ewynawg, lle y gwelai gyrph meirwon ei wraig, a'i blant, a'i ffrindiau, yn rholio fel yn ngolwg dyn ar haner boddi! Ah, ai hawdd credu yn y *fan yma*, a gafaelyd yn nghyfrin-air mawr y ffydd Gristionogol—"Duw *sydd*, ac y mae'n WOBRWYWR i'r sawl a'i ceisiant â'i holl galon?"

Cyfododd Twm, ac ymlusgodd â chalon drom i'r caban a nodasid allan iddo. Yr oedd yno amryw eisoes yn cysgu ar y llawr, a bu agos i'r damchwa ffiaidd ei yru yn ei ol; ond yr oedd gwlith y nos yn rhynllyd, a'i aelodau yntau'n flin, a chan ymdroi mewn planced garpiog, yr hon oedd ei unig orchudd, efe a ymestynodd ar y gwellt, ac a gysgodd.

Yn ei gwsg, daeth llais dystaw dros ei glustiau; yr oedd yn eistedd ar y boncyn mwsyglyd yn yr ardd wrth Lyn Pontchartrain, Eva gyda'i golygon treiddgar yn edrych i lawr, ac yn darllen o'i Bibl bychan; clywai hi'n dywedyd—

"Pan elych trwy'r dyfroedd, myfi a fyddaf gyda thi; a thrwy yr afonydd, fel na lifant drosot: pan rodiech trwy'r tân, ni'th losgir; ac ni enyn y fflam arnat. Canys myfi yw yr Arglwydd dy Dduw, Sanct Israel dy Waredydd."

Bob yn dipyn boddwyd y geiriau mewn math o fiwsig nefolaidd; cododd y plentyn ei llygaid, a syllodd yn serchlawn arno; teimlai belydrau o wres yn cyrhaedd o honynt hyd at ei galon; ac, fel yn swn y miwsig, ymddangosai yn esgyn ar edyn dysglaer, oddiwrth ba rai y syrthiai gwreichion euraidd fel y sêr, yna hi a ddiflanodd o'r golwg.

Deffrodd Twm. Ai breuddwyd ydoedd? Gadewch iddo fod yn freuddwyd. Ond pwy all ddweyd fod yr ysbryd ieuanc anwyl hwnw, a ddangosai'r fath awydd yn y byd yma i gysuro a chalonogi'r trallodedig, wedi ei attal gan Dduw i weinyddu i'r sawl a adawsai ar ol!

"Hyfryd meddwl ar y daith
Trwy anial maith y byd,
Fod engyl glân y nefoedd wen,
Yn gwylio'r ffordd i gyd."

## PENNOD XXXIII.

### CASSY.

"Ac wele ddagrau'r rhai gorthrymedig heb neb i'w cysuro; ac ar law eu treiswyr yr oedd *gallu*, a hwythau heb neb i'w cysuro."—PREG 4: 1.

Ni bu Twm ond tymhor byr cyn dyfod yn gynefin â phob peth oedd i'w ddisgwyl neu i'w ofni yn ei fyd newydd. Yr oedd yn weithiwr medrus a thrwyadl yn mhob dim a gymerai mewn llaw; ac yn onest a diragrith trwy arferiad yn gystal ag o egwyddor. Disgwyliai osgoi rhywfaint o anhunedd ei gyflwr, trwy fod yn ddiwyd ac yn ddichlynaidd, o herwydd yr oedd o dymher addfwyn a heddychol. Gwelodd ddigon o orthrwm a thrueni i'w wneud yn isel ysbryd a di-galon; ond penderfynodd ddal ati mewn amynedd ysprydol, gan ymddiried yn yr Hwn sy'n barnu'n gyfiawn, nid heb obaith y trefnid iddo eto ryw ffordd o ddiangfa.

Gwelodd Legree yn fuan werth Twm. Ystyriai ef yn un o'i ben dynion; eto yr oedd yn ei gasau yn ei galon—atgasrwydd naturiol y drwg at y da. Canfu yn ddigon eglur fod Twm yn cymeryd sylw o hono, pan faeddai'r gwan, yr hyn a ddigwyddai yn fynych; o herwydd nid oes angen am eiriau i hysbysu barn, ac y mae hyd yn nod barn y caethwas yn cael effaith ar ei feistr. Dangosodd Twm, mewn llawer dull a modd, galon dyner, a chydymdeimlad â'i gydgaethion—peth hollol newydd iddynt hwy—a gwyliodd Legree ef â llygad eiddigus. Ei fwriad oedd gwneud Twm yn fath o arolygwr, pan brynodd ef, fel y gallai ymddiried pethau iddo pan âi oddi cartref yn awr ac yn y man; ac, yn ei olwg ef, *calon galed* oedd yr angenrhaid cyntaf, a'r ail, a'r trydydd, i'r sefyllfa hono. A phenderfynodd Legree, gan nad oedd Twm wedi ei galedu yn barod i'w law, mai gwell oedd ei galedu rhag blaen; ac yn mhen ychydig wythnosau ar ol i Twm ddyfod yno, penderfynodd ddechreu ar y gwaith o'i galedu.

Un bore, pan oedd y dwylo yn cychwyn i'r maes, sylwodd Twm, mewn cryn syndod, fod yno law newydd yn eu mysg, a thynodd ei hymddangosiad ei sylw yn fwy neillduol. Dynes dâl, deneu ydoedd, a chanddi draed a dwylaw bychain ryfeddol, a'i gwisgiad yn daclus ac yn gyfrifol. Wrth ei hwynebpryd, gallesid meddwl ei bod rhwng pymtheg ar hugain a deugain oed; ac yr oedd ei hwyneb yn un nas gellid byth ei annghofio ar ol unwaith ei weled—un ag yr oedd cipolwg arno yn dangos hanes bywyd

nwydwyllt o boenau a dioddefiadau. Yr oedd ganddi dalcen uchel, a'i haeliau yn hynod o hardd. Trwyn syth, perffaith ei ffurf, gwefusau prydferth a lliwgar, a ffurfiad harddwych, ei phen a'i gwddf,—yr oeddynt oll yn profi ei bod unwaith yn ddynes gyda'r harddaf; ond yn awr yr oedd crychni yn ei gwyneb, a nodau yspryd balch yn dioddef camwri a thrawsder.

Troisid ei lliw yn felyn afiach, ei bochau yn deneuon, ei chernau yn llymion, a'i holl agwedd yn edwinol. Ond ei llygaid oedd y pethau hynotaf o'r cwbl—mor fawrion, mor ddu drymaidd, ac aeliau duon trymion yn eu cysgodi, mor nwydwyllt, yn llawn o alar anobeithiol. Gwelid balchder na phlygai neb byth mo hono yn mhob llinell ar ei gwedd, yn mhob symudiad o'i gwefus ystwyth, ac yn mhob ysgogiad o'i chorph; ond yn ei llygad gwelid nos o ing—byd o anobaith digyfnewid, yn cyferbynu yn arswydus â'r balchder anmhlygedig oedd i'w weled yn ei holl symudiadau.

Nis gwyddai Twm pwy oedd, nac o ba le y daethai. Y peth cyntaf a wybu oedd ei bod yn cerdded wrth ei ochr, yn dalgryf a balch, yn ngoleu llwyd y bore cyntaf. Ond yr oedd yr hen ddwylo yn ei hadnabod yn burion! o herwydd yr oedd yno lawer o edrych a throi pen dros ysgwydd, a chwerthin a sisial distaw yn mysg y lluaws truenus, carpiog, a haner newynog oedd o'i hamgylch.

"Myn'd i droi allan o'r diwedd—dda gen nghalon i!" ebe un.

"He! he! he!" ebe un arall; "gewch wel'd mor felys ydi fo, missis."

"Gawn i gwel'd hi'n gweithio!"

"Tybed ceiff hi'r whip fin nos, fel y lleill o honon ni!"

"Fydda'n dda gen i gwel'd hi'n cael y whip, mi dynga," ebe un arall.

Ni chymerodd y ddynes unrhyw sylw o'r caseiriau hyn, ond cerddodd yn mlaen gyda'r un ffroen uchel, heb gymeryd arni eu clywed. Trwy fod Twm bob amser wedi byw gyda phobl gyfrifol a moesgar, teimlodd yn naturiol fod y ddynes yn perthyn i'r dosparth hwnw; ond nis gallai ddirnad pa fodd neu paham y daethai i'r fath gyflwr isel a hwn. Nid edrychodd y ddynes arno, ac ni ddywedodd air wrtho, ond cadwodd yn agos ato ar hyd yr holl ffordd i'r maes.

Yr oedd Twm yn fuan gyda'i waith yn brysur; ond gan nad oedd y ddynes yn mhell oddi wrtho, taflai olwg tuag ati yn fynych. Gwelodd ar haner golwg fod y gwaith yn llawer ysgafnach iddi hi na'r lleill, trwy fod ynddi fath o fedrusrwydd naturiol. Pigodd y cotwm yn gyflym ac yn lân, a chyda math o ddiystyrwch, fel pe buasai yn dirmygu'r gwaith, a'r darostyngiad a'i dygasai i'r fath amgylchiadau.

Yn nghwrs y dydd, digwyddodd fod Twm yn gweithio yn agos i'r ddynes felen, a brynasid yr un pryd ag yntau. Yr oedd yn amlwg ei bod yn hynod o wael, a chlywodd Twm hi yn ucheneidio aml weddi, fel yr oedd yn siglo ac yn crynu, bron a syrthio i'r llawr. Pan ddaeth Twm i'w hymyl, dododd rai dyrneidiau yn ddistaw allan o'i sach ei hun yn ei sach hi.

"O, paid, paid," ebe'r ddynes, gan edrych yn syn, "fe ddaw a thi i drwbwl."

Gyda hyn daeth Sambo i fyny. Ymddangosai ei fod yn dial ei lid ar y ddynes yma; a chan godi ei whip efe a ddywedodd, mewn cryglais bwystfilaidd,—"Beth ydi hyn, Lucy—chware, aie?"—ac yna ciciodd hi â'i hen esgid drom, a tharawodd Twm â'i whip ar draws ei wyneb.

Aeth Twm yn mlaen â'i waith yn ddistaw; ond syrthiodd y ddynes mewn llewygfa, o herwydd prin y medrai sefyll o'r blaen.

"Mi ddof fi a hi ati ei hun," ebe'r gyrwr, gyda chrechwen giaidd. "Mi rof iddi beth gwell na camphyr!" a thynodd bin o lawes ei gôt, yr hwn a yrodd i'w chnawd hyd at y clopa. Gwaeddodd y ddynes, a chododd yn ei deublyg. "Cwyd, yr hen ast, nei di? onitê mi ddangosa i ti gast arall."

Ymddangosai'r ddynes fel am fynyd yn gweithio gydag egni gwyllt, a nerth annaturiol.

"Cadw di ati fel yna," ebe'r dyn, "onitê fydd yn dda gen' ti heno pe bait wedi marw—mi gwranta i di."

"Fyddai'n dda gen i 'rwan," ebe hi; a chlywodd Twm hi yn dweyd drachefn, "O Arglwydd, pa hyd? pa'm na roi di help i ni?"

Aeth Twm drachefn, a dododd yr holl gotwm oedd yn ei sach ei hun yn sach y ddynes, er maint y pergyl yr oedd ynddo.

"O, paid, ni wyddost ti beth a wnant i ti!" ebe'r ddynes.

"Mi fedraf ei gynal yn well na thi," ebe Twm! ac yr oedd yn ei le drachefn. Aeth hyn heibio mewn moment.

Cyfododd y ddynes ddyeithr ei llygaid duon trymion yn sydyn, o herwydd daethai yn ddigon agos i glywed geiriau olaf Twm, ac edrychodd arno am fynydyn; yna cymerodd gefiaid o gotwm o'i basged, a rhoddodd ef yn masged Twm.

"Ni wyddost ti ddim am y lle yma," ebe hi, "onitê ni wnait ti ddim fel yna. Ar ol bod yma fis, ni feddyli ddim am helpio neb; bydd yn ddigon o drafferth i ti ofalu am fod dy hunan yn groeniach."

"Na ato Duw, missis," ebe Twm, gan arfer yr un iaith tuag at ei gyd-lafures ag a arferai tuag at y mawrion y buasai yn eu mysg.

"Nid yw Duw byth yn dyfod i'r parthau hyn," ebe'r ddynes, mewn chwerwder yspryd, gan fyned yn mlaen yn gyflym â'i gwaith; a thrachefn trodd ei gwefus i fyny yn ddirmygus.



Ond gwelwyd hi gan lygad barcut y gyrwr, o'r ochr arall i'r maes, a daeth i fyny ati, gan ysgwyd ei whip.

"Beth! beth!" eb efe wrthi, mewn agwedd awdurdodol, "wyt *titha*'n chware? Dos o'na, 'rwyt ti dana i, 'rwan—edrych ati hi, onitê mi cei hi!"

Saethodd pelydr fel mellten allan o'i llygaid duon; a chan droi ato, â'i gwefus yn crynu, â'i ffroenau yn chwyddo, hi a ymsythodd o'i flaen, yn un wenfflam o gynddaredd a dirmyg, a'i llygad yn edrych trwyddo.

"Y burgyn," ebe hi, "cyffwrdd â *mi* os meiddi! Mae gen i ddigon o awdurdod i roi'r cwn i dy larpio di—i dy losgi di'n fyw—i dy dori di yn dameidiau! Nid rhaid i mi ddim ond deud y gair!"

"Beth ddrwg wyt ti'n neud yma, ynte?" ebe'r dyn; ond yr oedd yn ddigon amlwg fod arno ei hofn, o herwydd efe a giliodd yn ol gam neu ddau. "'Doeddwn i'n meddwl dim harm, Misse Cassy."

"Sa' dithau draw, ynte!" ebe'r ddynes. Ac yn wir yr oedd y dyn yn ymddangos fel pe buasai arno frys i fyned i'r pen arall i'r cae, ac ymaith ag ef ar frys.

Trodd y ddynes at ei gwaith, a gweithiodd mor gyflym nes synu Twm. Ymddangosai fel un yn gweithio trwy swyn-gyfaredd. Cyn bod y dydd ar ben yr oedd ei basged yn dŷn-dop, er ei bod amryw weithiau wedi arllwys i fasged Twm. Yn hwyr o'r dydd daeth yr holl dorf flinedig, a'u basgedi ar eu penau, i fyny at yr adeilad oedd yn ystordy ac yn lle pwyso. Yno safai Legree, yn ymddiddan yn brysur â'r ddau yrwr.

"Mae'r Twm yna'n myn'd i roi llawer iawn o drwbwl; mi fynai roi peth yn masged Lucy. Mi 'neiff i'r niggars feddwl bod nhw'n cael cam os na edrych mas'r ar ei ol!" ebe Sambo.

"Ho, felly! Yr hen felldith ddu!" ebe Legree. "Rhaid ei dori i mewn—on'd rhaid, fechgyn?"

Crechwenodd y ddau imp fel dau flaidd, pan glywsant hyn.

"Ia, ia! gadewch Mas'r Legree'n llonydd i dori pobl i fewn. Fedra'r hen fachgen ei hunan ddim curo mas'r am hyny!" ebe Cwimbo.

"Wel, fechgyn, y ffordd ore fydd rhoi'r whipio iddo i'w wneud, hyd nes caffer hyn allan o hono."

"Dyn anwyl, gwaith caled fydd gallu cael hyn o hono."

"Mi geiff ddyfod allan o hono yn ngwaetha' yn ei ên a'i ddannedd!" ebe Legree, gan droi ei dobacco yn nghil ei foch.

"A dyna Lucy, y gyrdures hylla, gasa, fwya' anystwyth yn y lle," ebe Sambo.

"Cymer ofal, Sam; onitê mi fyddaf fi yn drwg-dybio beth ydi'r rheswm dy fod di'n lladd ar Lucy."

"Wel, fe wyr mas'r iddi osod ei hun yn ei erbyn yntau, pan ddeudodd mai fi pia hi."

"Mi whipiwn i hi i fod yn foddlon," ebe Legree, gan boeri, "ond fod cymint o waith, a 'dydi ddim yn werth ei d'rysu 'rwan. Mae hi'n ysgafn; ond mi ddeil y merched ysgafn yma haner eu lladd cyn y rhoddant eu ffordd i fyny."

"Wel, yr oedd Lucy yn wir yn gas ac yn ddiog, ac yn stelcian o gwmpas; ac ni wnai hi ddim—ac mi helpiodd Twm hi."

"Ho, mi ddaru? Wel, fe gaiff Twm y pleser o'i whipio. Fe gaiff ei law i mewn, ac ni chura hi mor drwm 'chwaith a chwi, y ddau gythraul."

Chwarddodd y ddau ellyll huddyglyd, "Ho,

ho! ha! ha! ha!" ac nid annhebyg oedd eu swn annaturiol i'r nodweddiad dieflig a roddasai Legree iddynt.

"Wel, mae Twm a Cassy wedi llenwi basged rhyngddyn'. Allwn i feddwl nad ydi'r pwysa ddim ynddi hi."

"*Fi sydd i bwyso!*" ebe Legree, gyda phwyslais.

Chwarddodd y ddau yrwr eu crechwen ddieflig drachefn.

"Felly," ychwanegodd, "gwnaeth Misse Cassy ei diwrnodd gwaith."

"Mae hi'n pigo cotwm fel y gwr drwg a'i holl angylion."

"Mae nhw ynddi, bob un o honynt, yr ydw i'n credu yn fy nghalon," ebe Legree, a chan fwmian llw dychrynllyd, aeth i'r ystafell bwyso.

Daeth y creaduriaid digalon yn mlaen yn araf ac yn lluddedig, a rhoddasant eu basgedi i'w pwyso, mewn ofn a dychryn.

Nododd Legree i lawr ar lechen, ar ymyl pa un yr oedd rhes o enwau.

Pwyswyd basged Twm, a chafwyd hi'n iawn; taflodd yntau ei olwg yn bryderus ar fasged y ddynes y buasai yn ffrind iddi. Yn crynu gan wendid, daeth yn mlaen a rhoddodd iddo ei basged. Yr oedd yn llawn bwysau, fel y canfu Legree yn burion; ond cymerodd arno fod yn ddig, a dywedodd,—

"Pa beth y genawes ddiog, byr eto! Sa' o'r neilldu, mi cei di hi yn fuan!"

Gruddfanodd y ddynes mewn cwbl anobaith, ac eisteddodd ar y llawer.

Yna daeth yr un a alwyd Miss Cassy yn mlaen, a chydag agwedd falch ddiystyrllyd, taflodd ei basged i'r taflau. Tremiodd Legree arni gydag edrychiad wawdus ond ymofynol.

Syllodd hithau arno yntau â'i dau lygad duon, a symudodd ei gwefusau, gan ddweyd rhywbeth yn Ffrangaeg. Pa beth a ddywedodd, nis gwyddai neb; ond trodd wynebpryd Legree yn ddieflig; haner gododd ei law fel i daro—symudiad a barodd iddi edrych yn feiddgar arno, a throi ymaith.

"Wel, 'rwan, Twm, tyr'd yma," ebe Legree. "Mi ddeudas i, wel'di, mai nid at waith cyffredin y prynas i di. 'Rydw i'n bwriadu dy godi di, a gneud gyrwr o honot ti; ac mi fydda cystal i ti ddechre heno, i gael dy law i mewn, wyddost. 'Rwan, cymer y lodes yma, a whipia hi; ti welaist ddigon i wybod sut y mae gneud."

"Begio pardwn, mas'r," ebe Twm, "gobeithio na roiff mas'r fi ar y gwaith yna. Ni fum i erioed yn arfer—ddim erioed—a fedra i ddim sut yn y byd."

"Mi gei siawns go lew o ddysgu petha na ddysgast ti erioed o'r blaen, cyn y darfydda i â thi," ebe Legree, gan gymeryd whip, a'i daro ar draws ei wyneb, a daliodd ati i ergydio.

"Dyna i ti," eb efe, pan sefodd i orphwyso, "a ddeudi di eto wrthyf fi na fedri di ddim?"

"Deudaf, mas'r," ebe Twm, a chododd ei law i sychu'r gwaed oedd yn rhedeg ar hyd ei wyneb. "'Rydw i'n fodlon i weithio ddydd a nos, a gweithio tra bo chwythad ynof fi; ond fedraf fi ddim teimlo fod yn iawn gneud y peth yma; ac ni wnaf fi *byth* mo'no, mas'r—na wnaf *byth*."

Yr oedd gan Twm lais hynod o dyner ac esmwyth, ac yr oedd yn bur ostyngedig yn ei ffordd, a meddyliodd Legree ei fod yn ddigalon, ac yn hawdd ei ddychrynu. A phan ddywedodd y geiriau hyn, ymaflodd arswyd a dychryn yn mhawb o'i gwmpas; plethodd y ddynes druan ei dwylaw, a gwaeddodd, "O Arglwydd!" ac edrychasant oll ar eu gilydd, gan ddal eu hanadl, fel yn barotoad gyferbyn a'r dymhestl oedd ar ymarllwys.

Edrychodd Legree yn ddyrys wallgof; ond o'r diwedd torodd allan—

"P'beth! y cenaw du dieflig; dweyd wrthyf *fi* nad wyt ti ddim yn meddwl fod yn *iawn* gneud y peth a barwyf i ti! Beth sydd gan hen gattel y felldith fel chwi i'w wneud â meddwl beth sydd iawn. Mi rof fi ddiwedd ar hynyna. Beth wyt ti'n feddwl wyt ti? Hwyrach dy fod di yn meddwl dy fod yn wr boneddig, master Twm, i ddeud wrth dy feistr beth sydd iawn, a beth sydd heb fod! Felly, yr wyt ti'n meddwl mai peth o'i le fyddai whipio'r lodes?"

"Dyna marn i, mas'r," ebe Twm. "Mae'r greadures dlawd yn sâl ac yn wael; mi fydda'n greulondeb o'r mwyaf, ac ni wnaf fi byth mo'no, na'i ddechre ychwaith. Os ydych chwi am fy lladd i, mas'r, lladdwch fi; ond am i mi godi fy llaw at na dyn na dynes yn y fan yma, ni wnaf fi byth—mi fyddaf farw yn nghyntaf!"

Siaradodd Twm mewn llais tawel, ond gyda phenderfyniad nad oedd fodd ei gamgymeryd. Yr oedd Legree yn crynu o natur ddrwg; a'i lygaid brithion yn disgleirio gan ei gynddeiriogrwydd; gallesid meddwl fod blew ei gernau yn troelli gan gynddaredd; ond, fel bwystfil ysglyfaethus, fo'n chware â'i ysglyfaeth cyn ei larpio, efe a gadwodd ei dymher i lawr am ychydig, ac a dorodd allan i ddifenwi yn chwerw—

"Wel, dyma gena' duwiol, o'r diwedd, wedi ei ollwng i lawr i'n mysg ni bechaduriaid!—sant, gwr boneddig, a dim llai, i siarad â ni bechaduriaid am ein pechodau! Rhaid ei fod yn greadur sanctaidd o'i go! Gwrando, y rascal, wyt ti yn cymeryd arnat fod mor grefyddol?—a glywist ti 'rioed, allan o dy Fibil, 'y gweision, ufuddhewch i'ch meistriaid?' Onid fi ydi dy fistir di? Oni thalais i ddeuddeg cant o ddolars sychion, yn arian glân, am gymaint sydd yn dy felldith o hen gragen ddu? Onid fi pia di, enaid a chorph?" eb efe, gan roddi cic

i Twm a'i fotasen drom, "dywed i mi!"

Yn ngwaelodion dyfnderoedd ei ddioddefiadau corphorol, yn crymu dan orthrwm annynol, gyrodd y cwestiwn yma belydr o orfoledd a buddugoliaeth trwy enaid Twm. Ymsythodd ar unwaith, a chan edrych yn ddifrifol tua'r nef, a'i ddagrau a'i waed yn rhedeg yn gymysg ar hyd ei wyneb, efe a dorodd allan—

"Na, na, na! nid chwi bia f'enaid i, mas'r! Ni ddaru chi ddim ei brynu—ni fedrwch chi ddim ei brynu! Mae wedi ei brynu a thalu am dano gan Un sy'n abl i'w gadw! dim gwahaniaeth, ni fedrwch wneud niwed i mi!"

"Ni fedra i?" ebe Legree, gyda thrwyn sur; "ni gawn wel'd'—ni gawn wel'd. Tyr'd yma, Sambo, a thitha Cwimbo, rhowch i'r cena' yma'r fath scwrfa, na ddaw ddim drosti am fis."

Gafaelodd y ddau negro cawrfilaidd yn Twm, gyda phleser dieflig yn eu hwynebau, a gallesid yn hawdd ddychymygu eu bod yn personoli galluoedd y tywyllwch. Gwaeddodd y ddynes druan gan ofn, a chododd pawb, fel o unfryd, pan lusgasant ef ymaith heb wrthwynebiad o'r lle.

---

## PENNOD XXXIV.

### HANES Y QUADROON.

**"Ac wele ddagrau y rhai gorthrymedig heb neb i'w cysuro; ac ar law eu treiswyr yr oedd gallu. A mi a ganmolais y meirw y rhai sydd yn barod wedi marw, yn fwy na'r rhai byw, y rhai fydd yn fyw eto." —PREG. 4: 1, 2.**

Yr oedd yn bur hwyr, a Thwm yn gorwedd, yn gruddfan ac yn gwaedu wrtho ei hun, mewn hen furddyn annghysbell, yn nghanol darnau o beiriannau drylliedig, a thyrau o gotwm di werth, yn nghyda sothach eraill oedd wedi eu pentyru yno.

Noson laith, fwll ydoedd, a'r awyr yn dew o wybed mosquitos, y rhai a ychwanegent at arteithiau ei friwiau, tra'r oedd sychedu llosgedig —y boen fwyaf o'r cwbl—yn llenwi hyd yr ymyl ei gwpan o chwerwder.

"O Arglwydd daionus! Gwna edrych i lawr—rho i mi fuddugoliaeth! rho i mi fuddugoliaeth ar y cwbl," gweddïai Twm druan, yn ei loesion.

Clywodd swn troed o'r tu ol iddo, a syrthiodd goleu o lusern ar ei lygaid.

"Pwy sy'na? O, er mwyn trugaredd yr Arglwydd, rhowch i mi ddiferyn o ddwr!"

Gosododd y ddynes Cassy—o herwydd hi oedd yno — ei llusern i lawr, a thywalltodd ddwfr allan o botel; yna cododd ei ben, a diododd ef. Yfodd gwpanaid ar ol cwpanaid, yn awyddus o herwydd ei dwymyn.

"Yf faint fynot ti," ebe hi. "Mi wyddwn sut y byddai hi. Nid dyma'r tro cyntaf i mi ddyfod allan yn y nos i gario dwfr i rai fel tydi."

"Diolch yn fawr i chi, missis," ebe Twm, ar ol darfod yfed.

"Paid a ngalw i missis! Slâf truenus fel tithau ydwyf—ac is nag y medri di byth fod," ebe hi, mewn chwerwder enaid. "Ond yn awr," ebe hi, gan fyned at y drws, a llusgo i mewn wely gwellt, wedi ei orchuddio â llieiniau gwlybion, "treia ymdreglio ar y rhai'n, druan."

Bu Twm yn hir cyn gallu gwneud, o herwydd yr oedd wedi cyffio gan friwiau ac ysigdod; ond pan lwyddodd, fe esmwythodd lawer trwy orwedd ar y llieiniau oerion.

Yr oedd y ddynes yn gynefin â doctora, trwy fod creulondeb Legree yn gwneud llawer o waith iddi; ac aeth yn mlaen i osod eli ar glwyfau Twm, yr hyn a'i hadfywiodd yn rhyfeddol.

"Dyna," ebe hi, ar ol codi ei ben ar swpyn o gotwm fel gobenydd, "dyna'r goreu fedraf fi wneud i ti."

Diolchodd Twm iddi; ac eisteddodd y ddynes ar y llawr, gan ymblygu, â'i deulin rhwng ei dwylaw, ac edrychodd arno gyda wynebpryd llawn o boen a chwerwder. Syrthiodd ei bonnet ynol, ac yr oedd ei gwallt du yn hongian o amgylch ei gwyneb hynod a phruddglwyfus.

"Ni waeth i ti beidio, druan gwirion," ebe hi o'r diwedd, "ni waeth i ti beidio ceisio gwneud y peth yma ddechreuast ti. Yr oeddit yn ddyn gwrol—ac yr oedd yr iawn o dy du di; ond y mae'r cwbl yn ofer, ac ni wiw i ti ymdrafferthu. Yr wyt ti yn nwylaw'r gŵr drwg; efe ydyw'r cryfaf, a rhaid i ti roi i fyny."

Rhoi i fyny! ac onid oedd gwendid dynol a loesion corphorol wedi sisial yr un peth o'r blaen? Dychrynodd Twm; o herwydd yr oedd y ddynes ofidus, â'i llygaid gwylltion, a'i llais tòr-calonus, fel corpholiad o'r demtasiwn y buasai yn ymdrechu â hi.

"O Arglwydd! O Arglwydd, sut y merdaf roddi i fyny?" ebe efe.

"Nid ydi o les yn y byd galw ar yr Arglwydd—nid yw byth yn clywed," ebe'r ddynes yn ddifrifol. "Nid ydw i ddim yn meddwl fod yr un Duw; ac os oes, y mae wedi troi yn ein herbyn ni. Mae pob peth yn ein herbyn, nefoedd a daear. Mae'r cwbl yn ein gwthio i uffern. A pha'm na chawn ni fyn'd yno?"

Cauodd Twm ei lygaid, a daeth crynfa drosto, wrth y geiriau atheistaidd hyn.

"Ni wyddost *ti* ddim yn y byd am dano, wel'di," ebe'r ddynes, "ond mi wn i. Mi fum i yma bum' mlynedd, enaid a chorph, dan draed y dyn yma, ac yr wyf yn ei gasau fel y cythraul ei hunan! Dyma di, ar blanigfa annghysbell, ddeg milltir oddiwrth bob un arall, yn nghanol y corsydd; dim un dyn gwyn i ddeud pe cait ti dy losgi yn fyw—pe cait ti dy scaldio, dy dori yn dameidiau, dy daflu i'r cŵn dy larpio, neu dy grogi a dy whipio i far-

wolaeth. Nid oes yma 'run gyfraith, o eiddo Duw na dyn, a fedr wneud y lles lleiaf i ti nac i un o honom; a'r dyn yma! nid oes dim ar wyneb y ddaear ag sydd yn rhy ddrwg iddo ef ei wneud. Mi allwn wneud i wallt un-gŵr sefyll, ac i'w ddannedd guro yn eu gilydd, pe bawn ddim ond dweyd y peth a welais yma, ac ni wiw sefyll yn ei erbyn. Oedd arnaf fi *eisiau* byw gydag ef? Onid oeddwn i yn ddynes wedi fy nwyn i fyny yn dda? ac yntau, Duw a 'drycho! beth oedd ef? a beth ydyw? Ac eto mi fum byw gydag ef bum' mlynedd, dan felldithio pob mynyd o mywyd, ddydd a nos! Ac yn awr mae ganddo un newydd — peth ifanc, dim ond pymtheg oed; ac wedi ei dwyn i fyny yn grefyddol, medda hi. Fe ddysgodd ei meistres iddi ddarllen y Bibl, ac mi ddaeth a'i Bibl yma—i uffern gyda hi!" a chwarddodd y ddynes fel rhyw ellyll, nes oedd yn adsain trwy'r hen furddyn.

Plethodd Twm ei ddwylaw yn nghyd; yr oedd tywyllwch a dychryn o'i amgylch.

"O Iesu! Arglwydd Iesu! a wyt ti wedi llwyr annghofio creaduriaid tlodion?" eb efe o'r diwedd. "Cymhorth, Arglwydd, yr wyf bron ar ddarfod am danaf!"

Aeth y ddynes rhag ei blaen yn ddihidio.

"A beth ydyw'r creaduriaid truenus a diwerth yr wyt ti yn gweithio gyda nhw, fel ag y mae'n rhaid i ti ddiodde yn eu lle? Fe droi pob un yn dy erbyn y cyfle cyntaf. Maent mor greulon y naill wrth y llall ag y gallant fod; ni wiw i ti ddiodde i'w harbed hwy."

"Druain oeddan nhw!" ebe Twm, "beth gwnaeth nhw'n greulon? Ac os rhof fina i fyny, mi gynefinaf, ac mi âf o dipyn i beth fel hwythau. Na, na, missis! mi gollais bobpeth —gwraig, plant, cartref, meistr caredig—ac mi fuasai yn fy ngwneud yn rhydd pe cawsai fyw wythnos yn rhagor. Mi gollais bob peth yn y byd *yma*, maent wedi myn'd yn lân, am byth— ond ni fedraf ddim fforddio colli'r nefoedd hefyd; na, ni fedraf fi ddim troi yn ddyn drwg yn y fargen!"

"Ond nid oes dim posibl i'r Arglwydd roi pechod wrth ein drws ni," ebe'r ddynes; "ni wneiff ef ddim ein galw ni i gyfrif, a ninau'n gorfod pechu; y rhai sy'n ein gyru ni i'r drwg geiff eu cospi."

"Wel," ebe Twm, "ni wneiff hyna ddim ein cadw ni rhag myn'd yn ddrwg. Os dof fi mor galon galed a'r Sambo yna, ac mor ddrwg, nid yw o ddim pwys i mi sut y dois i felly—y *bod* felly—dyna beth sydd arnaf fi ofn."

Edrychodd y ddynes yn syn a sobr ar Twm, fel pe buasai oleuni yn tywynu i'w meddwl; ac yna, gydag uchenaid drom, hi a ddywedodd,

"Duw fo'n madde i mi! yr wyt yn dweyd y gwir! O—O—O!" A chan ruddfanu, hi a syrthiodd ar y llawr, fel un wedi ei hysigo, ac yn ymgreinio gan ofid calon.



Bu dystawrwydd dros yspaid, yn mha un y clywid anadliad y naill a'r llall yn ddigon amlwg; yna dywedodd Twm yn llesg, "Os gwel missis fod yn dda."

Cyfododd y ddynes yn union, â'i hwyneb yn ei agwedd bruddglwyfus arferol.

"Os gwel missis fod yn dda, mi a'u gwelais yn taflu fy nghôt i'r gongl yna; mae Mibl i yn y boced—os bydd missis cystal a'i gyrhaedd."

Aeth Cassy a chyrhaeddodd ef. Agorodd Twm ar unwaith, mewn lle a nod amlwg arno, ac wedi ei wisgo yn drwm, yn mha un y rhoddir hanes dyddiau olaf yr Un yr iacheir ni trwy ei gleisiau Ef.

"Pe b'ai missis cystal a darllen hwnyna; mae'n well na dwfr oer."

Gafaelodd Cassy yn y llyfr, yn falch a difater, a thaflodd ei golwg dros yr adnodau. Yna hi a ddarllenodd yn uchel, mewn llais esmwyth, a phwyslais oedd yn hynod o flasus, yr hanes effeithiol hwnw am y dyoddefaint a'r gogoneddiad. Crynodd ei llais yn aml, a phallodd yn gwbl rai gweithiau, pryd yr arosai, yn ffugdawel, hyd oni feistrolai ei hun drachefn. Pan ddaeth at y geiriau effeithiol hyny, "O Dad, maddeu iddynt, canys ni wyddant pa beth y maent yn ei wneuthur," hi a daflodd y llyfr i lawr, a chan guddio ei gwyneb yn nghudynau toreithiog ei gwallt, hi a gododd ei llef ac a wylodd yn chwerw-dost. Wylai Twm hefyd, ac ambell waith anadlai weddi.

"Pe gallem ni ddim ond cadw at 'nyna!" ebe Twm—"mae'n ymddangos mor naturiol iddo Ef, ond y mae'n rhaid i ni ymladd yn galed am dano! O Arglwydd, cymhorth ni! O'r Iesu bendigedig, bydd yn help i ni!"

"Missis," ebe Twm, yn mhen ychydig, "mi welaf eich bod rywsut yn uwch na fi yn mhob peth; ond y mae un peth y gall missis ddysgu hyd yn nod gan Twm dlawd. Chwi ddeudsoch fod yr Arglwydd wedi troi yn ein herbyn ni, am ei fod yn gadael i ni gael ein maeddu a'n curo o gwmpas; ond chwi welwch sut fu ar ei Fab ei hun, Arglwydd bendigedig y Gogoniant. Onid oedd Ef bob amser yn dlawd? ac a ddaethon ni, neb o honon ni mor isel ag y daeth Ef? Nid ydi'r Arglwydd ddim wedi'n gollwng ni'n anghof, yr ydw i'n sicr o 'nyna. Os dyoddefwn ni gydag Ef, ni gawn deyrnasu, meddai'r 'Sgrythyr; ond os gwadwn ni Ef, fe gwad yntau nina. Oni ddaru nhw ddiodde bob un—yr Arglwydd, a'i holl eiddo? Mae'n deud fel y cawsen nhw eu llabyddio, eu tori â llifiau, ac fel y buon nhw'n crwydro o amgylch mewn crwyn defaid, a chrwyn geifr, yn ddiddym, yn gystuddiol, ac yn ddrwg eu cyflwr. Nid ydi diodde ddim yn un rheswm am wneud i ni feddwl fod yr Arglwydd wedi troi yn ein herbyn; ond yn

union yn y gwrthwyneb; os daliwn ni i lynu wrtho Ef, a pheidio rhoi fyny i bechod."

"Ond pa'm mae Ef yn ein rhoi mewn lle na fedrwn beidio a phechu?" ebe'r ddynes.

"Yr ydw i'n meddwl y *medrwn* beidio," ebe Twm.

"Ti gei wel'd," ebe Cassy. "Beth a wnei di? Mi fyddan' atat ti eto, yfory. Mi adwen i nhw—mi welais eu holl gastiau; nis gallaf fi aros meddwl am yr holl bethau a wnant i ti—ac mi wnant i ti roi fyny yn y diwedd?"

"Arglwydd Iesu," ebe Twm, "ti *wnei* di gym'ryd gofal am fy enaid! Gwna, O Arglwydd!—a phaid a gadael i mi roi i fyny!"

"Dyn a 'styrio," ebe Cassy, "mi glywais i yr holl grïo a gweddïo yma o'r blaen; eto eu tori i lawr a'u dwyn dan draed a gawsant. Dyna Emmeline, mae hi'n treio dal allan, yr wyt tithau'n treio—ond pwy les? Rhaid i ti roi fyny, neu gym'ryd dy ladd bob yn fodfedd."

"Wel, mi fyddaf farw ynte!" ebe Twm. "Nyddant hi mor feined ag y mynont, nis gallant fy rhwystro i farw yn y diwedd!—ac wedi hyny ni fedran' nhw wneud dim yn rhagor. 'Rydw i'n glir! 'rydw i ar y graig! Mi *wn* y gwna'r Arglwydd fy helpio, a dyfod a fi trwodd!"

Nid atebodd y ddynes air; ond eisteddodd, â'i llygaid duon yn sefydlog ar y llawr.

"Hwyrach mai dyna'r ffordd," ebe hi wrthi ei hun; "ond am y rhai sydd *wedi* rhoi fyny, nid oes dim gobaith iddynt hwy—dim. Yr ydym yn byw mewn aflendid, ac yn troi yn aflan, nes ydym yn ffiaidd i ni ein hunain. Dim gobaith! dim gobaith! dim gobaith! Dyma'r eneth yma 'rwan—bron 'run oed ag oeddwn inau." "Ti ngweli fi 'rwan," ebe hi wrth Twm, gan siarad yn bur fuan, "edrych beth ydwyf! Wel, mi gefais fy magu yn nghanol pob llawnder. Y peth cyntaf ydwyf yn gofio oedd chware o gwmpas, pan yn blentyn, mewn parlyrau harddwych—a'm gwisgiad fel delw fechan, a'r cwmpeini a'r ymwelwyr yn fy nghanmol, mor glws oeddwn. Yr oedd gardd yn agor o ffenestri'r saloon, ac yno y byddwn yn chware mic-ymguddiad, dan y coed oranges, gyda fy mrodyr a'm chwiorydd. Aethum i wyryfdy, lle y dysgais fiwsig, Ffrengaeg, a gwaith nodwydd, ac nis gwn i pa beth; a phan oeddwn yn bedair-ar-ddeg daethum allan i gladdedigaeth fy nhad. Bu farw yn sydyn; a phan wnaethpwyd ei gyfrifon i fyny, cafwyd mai prin ddigon o eiddo oedd yno i dalu'r dyledion; a phan roddwyd yr eiddo i lawr, yr oeddwn i yn rhan o hono. Caethes oedd fy mam, ac yr oedd fy nhad bob amser yn bwriadu fy ngwneud i yn rhydd, ond nis gwnaeth felly; am hyny dodwyd fi yn yr eiddo. Mi wyddwn pwy oeddwn o'r dechreuad, ond ni feddyliais fawr am hyny. Nid oedd neb yn dysgwyl fod dyn cryf a heini fel efe yn myn'd i farw. Yr oedd fy nhad yn ddigon iach bedair awr cyn iddo farw—un o'r rhai cyntaf o'r colera yn New Orleans ydoedd. Y diwrnod ar ol y claddedigaeth, aeth gwraig fy nhad â'i phlant gyda hi, i fyny i gartref ei thad. Mi feddyliais eu bod yn fy nhrin i yn rhyfedd; ond nis gwyddwn yn iawn. Yr oedd yno gyfreithiwr ieuanc, i'r hwn y gadawsid pob materion i'w dirwyn i fyny; fe ddaeth i'r tŷ bob dydd, ac fe siaradodd â mi yn bur barchus. Un diwrnod daeth dyn ifanc arall gydag ef, a meddyliais ei fod y dyn harddaf a welswn erioed. Nid anghofiaf byth mo'r prydnawn hwnw; cerddais gydag ef yn yr ardd. Yr oeddwn yn teimlo yn unig, ac yn llawn hiraeth, ac yr oedd yntau mor garedig. Dywedodd iddo fy ngweled cyn i mi fyned i'r gwyryfdy, a'i fod yn fy ngharu er's blynyddoedd, ac y byddai yn ffrind ac yn amddiffynwr i mi. Yn fyr, er na ddywedodd wrthyf, yr oedd wedi talu dwy fil o ddoleri am danaf, a'i eiddo ef oeddwn. Cafodd fi yn ddigon ewyllysgar, o herwydd yr oeddwn yn ei garu. Yn ei garu!" ebe'r ddynes, gan aros am fynyd. "O fel yr oeddwn yn caru'r dyn hwnw! O, fel yr ydwyf yn ei garu'r mynyd yma, ac mi a'i caraf tra bydd chwythad ynof! Yr oedd mor hardd, mor uchel ei olwg, ac mor wrol! Cymerodd dŷ harddwych i mi, gyda gweision a morwynion, meirch a cherbydau, dodrefn a dillad. Mi gefais bobpeth ganddo a fedrai arian brynu; ond nid oeddwn yn prisio dim ond efe. Yr oeddwn yn meddwl llawer mwy o hono nag am Dduw a fy enaid fy hun; a phe buaswn yn ceisio, nis gallaswn wneud dim ond y peth a barai.

"Nid oedd arnaf eisiau dim ond un peth—yr oedd arnaf eisiau iddo fy *mhriodi*. Yr oeddwn yn meddwl y gallasai fy ngwneud yn wraig iddo, a fy ngwneud yn rhydd, os oedd yn fy ngharu fel y dywedai, ac os oeddwn yr hyn y dywedai ef fy mod. Ond dangosodd yn fuan fod hyny yn amhosibl, a dywedodd ein bod wedi priodi yngwydd Duw, os byddem yn ffyddlon y naill i'r llall. Os ydi hyny'n wir, onid oeddwn i'n wraig i'r dyn hwnw? Oni fu'm i'n ffyddlon! Dros saith mlynedd, mi wyliais bob amnaid llygad iddo; ac i'w foddio ef yr oeddwn yn byw, symud, a bod. Fe gafodd y clefyd melyn, ac am dair wythnos, ddydd a nos, nid aethum o'i olwg—fi fy hunan wnaeth bob peth iddo, a fi roddodd ei holl gyfferi iddo. Wedi hyny dywedai mai fi achubodd ei fywyd, a galwai fi yn angel. Bu genym ddau o blant anwyl. Bachgen oedd y cyntaf, a Henry y gelwid ef; yr oedd yr un ffunud a'i dad a'r un enw—fath lygaid hardd, talcen uchel, ei wallt yn hongian yn droellau o'i gwmpas—â holl ysbryd ei dad, a'i ffordd hefyd. Dywedai fod Eliza fach yr un fath a fi. A byddai yn dweyd

bob amser mai fi oedd y ddynes harddaf yn Louisiana; ac yr oedd mor falch o honof fi a'r plant. Byddai yn cymeryd y fath bleser i'w gwisgo i fyny, ac yn eu cymeryd hwy a minau allan mewn cerbyd agored, i glywed y sylwadau wnai pobl wrth i ni fyned heibio; byddai yn llenwi fy mhen bob amser â'r ganmoliaeth a glywai i mi a'r plant. O! dyna amser hapus. Yr oeddwn yn meddwl fy mod mor hapus ag y gallai dynes fod; ond fe ddaeth amserau drwg ar ol hyny. Daeth cefnder iddo i New Orleans, yr hwn oedd yn ffrind neillduol âg ef—yr oedd yn meddwl mwy o hono na'r holl fyd; ond yr oedd arnaf fi ei ofn, o'r mynyd cyntaf y gwelais ef, er nas gwyddwn am un rheswm paham; yr oeddwn yn sicr y dygai ni i anhapusrwydd. Aeth a Henry, fy ngwr, allan gydag ef, ac arosent allan hyd ddau neu dri o'r gloch y bore. Ni feiddiwn i ddweyd un gair, o herwydd yr oedd Henry mor uchel ei ysbryd. Hudodd ef i'r tai gamblo, ac yr oedd Henry y fath un, nid oedd dim dal arno pan gychwynai beth felly. Wedi hyny aeth ag ef i gwmpeini dynes arall, ac mi welais yn fuan mod i wedi colli ei galon. Ni ddywedodd ef yr un gair; ond mi welais i—yr oeddwn yn ei deimlo y naill ddiwrnod ar ol y llall. Yr oedd fy nghalon bron a thori, ond ni fedrwn ddywedyd gair. Yma fe gynygiodd y filan fy mhrynu i a'r plant gan Henry, i dalu ei golledion wrth gamblo, ac i wneud y ffordd yn rhydd iddo briodi dynes arall—felly, *fe'n gwerthodd ni.*

"Un diwrnod dywedodd fod galwad arno yn y wlad, ac na ddoi adref am bythefnos neu dair wythnos. Siaradodd yn fwy caredig nag arferol, a dywedodd y deuai yn ei ol; ond ni thwyllodd fi. fodd yn y byd; mi wyddwn fod yr amser wedi dyfod; teimlais fel un wedi ei throi yn gareg; ni fedrwn siarad na thywallt deigryn. Cusanodd fi, a chusanodd y plant lawer gwaith; ac yna aeth allan. Mi a'i gwelais yn myned ar gefn ei geffyl, ac edrychais hyd nes aeth o'r golwg, yna syrthiais mewn llewygfa.

"Wedi hyny fe ddaeth *yntau*, yr adyn melldigedig, fe ddaeth i gymeryd meddiant. Dywedodd ei fod wedi fy mhrynu i a'r plant, a dangosodd y papyrau i mi. Rhegais inau ef o flaen Duw, a dywedais y byddwn farw cyn y byddwn fyw gydag ef.

"'Fel y gweloch chwi'n oreu,' eb efe; 'ond os na fyddwch wrth reswm, mi werthaf y ddau blentyn, ac ni chewch eu gweled byth yn rhagor!' Dywedodd ei fod wedi penderfynu fy nghael, o'r amser cyntaf y gwelodd fi; a'i fod wedi tynu Henry i ddyled o bwrpas, i'w wneud yn foddlon i fy ngwerthu. Mai efe a wnaeth iddo syrthio mewn cariad â dynes arall; ac y gallwn feddwl, ar ol cymaint o drafferth, na roddai fi i fyny ar ychydig bach.

"Mi ildiais, o herwydd yr oedd fy nwylaw yn rhwym. Yr oedd fy mhlant ganddo; a phan groeswn ef mewn dim, dechreuai siarad am eu gwerthu, yna byddwn mor ostyngedig ag oedd fodd. O, dyna fyd; byw a'm calon ar dori, bob dydd—yn dal ati, ati, ati, i ddweyd fod yn dda genyf ddyn oedd yn gas gan fy nghalon i, a fy rhwymo wrtho, enaid a chorph. Byddwn yn hoffo ddarllen i Henry, i chware'r piano, a dawnsio gydag ef, a chanu iddo; ond yr oedd pobpeth a wnawn i hwn yn faich—eto yr oedd arnaf ofn ei omedd o ddim. Byddai yn bur awdurdodol a chas wrth y plant. Un fechan ofnus, wylaidd, oedd Eliza; ond yr oedd Henry yn hyf ac o yspryd uchel fel ei dad, ni feistrolodd neb erioed mo hono. Byddai yntau yn achwyn ar Henry, ac yn cweryla âg ef yn wastad; ac yr oeddwn yn byw mewn ofnau parhaus. Ymdrechais wneud y plentyn yn ufudd iddo—a chedwais ef o'r ffordd, o herwydd yr oeddwn yn dal fy ngafael yn y plant fel yr angau; ond i ddim lles. *Fe werthodd y ddau.* Cymerodd fi allan i farchogaeth un diwrnod, a phan ddaethum adref nid oedd hanes am danynt. Dywedodd iddo eu gwerthu, a dangosodd yr arian, pris eu gwaed. Erbyn hyn ymddangosai pob da fel wedi fy ngadael. Mi regais ac mi felldithiais—mi felldithiais Dduw a dyn; ac yr ydwyf yn meddwl fod arno fy ofn am dipyn. Ond ni roddodd i fyny felly. Dywedodd fod y plant wedi eu gwerthu, a bod yn ymddibynu arno ef pa un a gawn weled eu gwynebau byth yn rhagor, ac os na ymddygwn yn weddus y caent hwy deimlo. Wel, os bydd y plant genych, gallwch wneud fel y mynoch â'r fam. Fe wnaeth i mi ymostwng; fe wnaeth i mi fod yn dawel; a gwenieithiodd i mi, y prynai hwynt drachefn, ond odid; ac felly aeth pethau yn mlaen am wythnos neu bythefnos. Un diwrnod yr oeddwn allan yn rhodio, ac aethum heibio i'r calabws: gwelais dwr o ddynion wrth y porth, a chlywais lais bachgen bach—a thyma Henry yn neidio o afael tri dyn oedd yn ei ddal, ac yn rhedeg dan waeddi, ac yn gafaelyd yn fy nillad. Daethant ato, gan dyngu'n ddychrynllyd; a dywedodd un dyn wrtho—nid annghofia i byth mo'i wyneb—na chai ddianc felly, cymerai ef i'r calabws, ac y cai wers yno nad annghofiai byth mo hono. Ymdrechais fegio a phledio—ond chwarddasant am fy mhen; ysgrechiodd y bachgen bach, gan edrych yn fy wyneb, a dal gafael yn fy nillad, hyd oni rwygasant ddarn o fy ngown wrth ei dynu ymaith; aethant ag ef i mewn, ac yntau yn gwaeddi, 'Mam, mam, mam!' Safai un dyn yn ymyl, yr hwn a ymddangosai fod ynddo ryw deimlad drosof. Cynygiais iddo gymaint o arian ag oedd ar fy helw am siarad droswyf. Ysgydwodd ei ben, a dywedodd fod y dyn yn achwyn ar y bach-

gen am ffraethineb ac anufudd-dod, er pan brynodd ef, a'i fod yn myned i'w dori i mewn, unwaith am byth. Mi droais, ac a ddechreuais redeg, a'i 'sgrech yn fy nghlustiau bob cam o'r ffordd. Aethum i'r tŷ, a rhuthrais i mewn i'r parlwr, lle cefais Butler. Dywedais wrtho, ac erfyniais arno fyned i eiriol dros y bachgen. Chwarddodd hwnw, a dywedodd ei fod wedi cael yr hyn a haeddai. Yr oedd yn rhaid ei dori i mewn, a goreu po gyntaf; 'Beth oeddych yn ddisgwyl?' eb efe.

"Teimlais y mynyd hwnw fod rhywbeth yn fy mhen wedi tori yn glec, dechreuodd fy mhen nofio, ac aethum yn wallgofus. Yr wyf yn cofio gweled cyllell fawr ar y bwrdd, ac y mae genyf ryw atgof am gydio ynddi, a rhuthro ato; yna aeth y cwbl yn dywyll, ac ni wybum ddim yn rhagor—am lawer diwrnod.

"Pan ddaethum ataf fy hun, yr oeddwn mewn ystafell brydferth,—ond 'stafell ddyeithr i mi ydoedd. Hen ddynes ddu a'm gwasanaethai; a daeth meddyg i'm gweled. Yn mhen ychydig deallais fod y meddyg wedi myned, a fy mod wedi fy ngadael yn y tŷ hwnw i gael fy ngwerthu; ac mai dyna yr achos iddynt gymeryd cymaint o boen gyda mi.

"Nid oedd arnaf eisiau gwella; ac yr oeddwn yn gobeithio na wnawn; ond er fy ngwaethaf, aeth y clefyd ymaith, ac mi fendiais, a chodais yn y diwedd. Yna gwnaethant i mi wisgo am danaf bob dydd; a byddai dynion yn dyfod i mewn, i sefyll a smocio, i edrych arnaf, gofyn cwestiynau, a siarad am fy mhris. Yr oeddwn mor ddistaw a phendrist, fel na fynai neb mo honof. Bygythiasant fy whipio, os na fyddwn yn fwy siriol, a chymeryd poen i fod yn siaradus. O'r diwedd daeth yno ddyn o'r enw Stuart. Ymddangosai fod gan hwnw rywfaint o deimlad drosof; gwelodd fod rhywbeth yn pwyso'n drwm ar fy nghalon, a daeth wrtho ei hun i'm gweled nifer o weithiau, ac yn y pen draw perswadiodd fi i ddweyd wrtho. Yna efe a'm prynodd, ac addawodd wneud ei oreu i gael gafael yn fy mhlant. Aeth i'r gwestdy lle'r oedd fy Henry; dywedasant wrtho ei fod wedi ei werthu i ryw blanwr ar y Pearl River; a thyna'r gair olaf a glywais am dano. Ar ol hyny daeth o hyd i fy merch; yr oedd hen ddynes yn ei chadw. Cynygiodd swm anferth am dani, ond ni werthent mo honi. Cafodd Butler allan mai i mi yr oeddid yn ceisio ei phrynu; ac anfonodd air nad oeddwn byth i'w chael. Yr oedd Captain Stuart yn garedig iawn wrthyf; cymerodd fi i'w blanhigfa ardderchog. Yn mhen y flwyddyn ganwyd mab i mi. O! y fath blentyn—fel yr oeddwn yn ei garu. Yr oedd y peth bach yr un ffunud a fy Henry dlawd! Ond yr oeddwn yn benderfynol—oeddwn, gwneis fy meddwl i fyny na chai plentyn i mi ddim tyfu i fyny byth yn rhagor. Cymerais y peth bach yn fy mreichiau pan oedd yn bythefnos oed, cusanais ef, a wylais uwch ei ben; yna mi rois ddiod gwsg iddo, a daliais ef yn dŷn yn fy nghesail, hyd oni chysgodd i farwolaeth. O fel yr wylais ac y galarais drosto! ond ni feddyliodd neb nad camgymeriad oedd rhoddi'r ddiod gwsg iddo; eto mae'n un o'r pethau y mae'n dda genyf heddyw i mi eu gwneud. Nid edifarais i ddim hyd heddyw; mae ef, o leiaf, allan o'i boen. Pa beth gwell nag angau a fedrwn ei roddi iddo, y truan gwirion! Yn mhen ychydig daeth y colera, a bu Captain Stuart farw; bu pawb farw oedd ag eisiau byw; a finau—fi, er i mi fyned i lawr at ddrws angau, *ni chefais farw!* Gwerthwyd fi wedi hyny, a chefais fy nhroi a nhrosi o law i law, hyd onid aethum yn wywedig ac yn grebychlyd, a chefais ffit o glefyd; yna prynwyd fi gan yr adyn yma, a dyma lle'r ydwyf."

Tawodd y ddynes. Aethai dros ei hanes dan siarad yn fuan ac yn wyllt; weithiau fel yn cyfarch Twm,—dro arall wrthi ei hun. Siaradodd gyda'r fath nwyd a dylanwad, fel yr annghofiodd Twm ei boenau am enyd; a chan godi ar ei benelin, efe a edrychodd arni, fel yr oedd yn cerdded yn anesmwyth i fyny ac i lawr, a'i gwallt yn chwifiau o'i chwmpas wrth ei symudiadau.

"Yr wyt ti yn deyd wrthyf fod Duw," ebe hi yn mhen enyd, "Duw sydd yn edrych i lawr, ac yn gweled yr holl bethau hyn. Fe all hyny fod. Byddai'r chwiorydd yn y gwyryfdy yn dweyd wrthyf fod dydd barn, pryd y daw pobpeth i'r goleu; oni bydd dialedd y pryd hwnw?"

"Maent hwy yn meddwl—nad ydym ni yn dioddef dim—nad ydi'n plant ni yn dioddef dim! Peth di-bwys ydyw'r cwbl; eto cerddais yr heol, pryd yr oedd digon o ofid yn fy nghalon i fy hun i suddo dinas. Bum yn dymuno i'r tai syrthio arnaf, ac i'r cerig suddo danaf. Ac yn nydd y farn mi safaf ger bron Duw, yn dyst yn erbyn y rhai a'm difethasant i a'm plant, enaid a chorph!

"Yr oeddwn yn meddwl fy mod yn grefyddol pan oeddwn yn lodes; byddwn yn caru Duw ac yn gweddïo. Yn awr yr wyf yn enaid colledig, yn cael fy ymlid gan gythreuliaid sydd yn fy mhoenydio ddydd a nos; maent yn fy ngwthio yn mlaen ac yn mlaen—ac mi a'i gwnaf hefyd, un o'r dyddiau yma," ebe hi, gan gau ei dyrnau, tra'r oedd gwefriad gwallgofus yn saethu o'i llygaid duon pruddaidd. "Mi gyraf ef at y gwr a'i pia—ar hyd llwybr byr hefyd—un o'r nosweithiau yma, pe llosgent fi yn fyw am hyny?"

Chwarddodd yn wallgofus, nes oedd yn adsain trwy'r hen furiau, a'r diwedd fu iddi syrthio i hysterics, a thaflu ei hun ar y llawr gan udo a dolefain.

Yn mhen ychydig aeth y ffit heibio; a chododd yn araf, gan hel ei meddyliau yn nghyd.

"Allaf fi wneud rhywbeth yn rhagor i ti, druan gwirion?" ebe hi, gan fyned at y lle'r oedd Twm yn gorwedd; "a fyni di ragor o ddwfr?"

Yr oedd addfwynder teimladwy yn ei llais a'i dull wrth ddweyd hyn, yr hyn a gyferbyniai yn hynod â'i chwerwder blaenorol.

Yfodd Twm y dwfr, ac edrychodd yn ddifrifol ac yn dosturiol yn ei hwyneb.

"O missis, nad aech at yr Hwn fedr roddi i chwi y dwfr bywiol!"

"Myn'd ato ef! Yn mha le y mae? Pwy ydyw?" ebe Cassy.

"Yr Hwn y darllenasoch am dano i mi—yr Arglwydd."

"Mi welais ei lun uwch ben yr allor, pan oeddwn yn blentyn," ebe Cassy, a'i llygaid yn ymorwedd i fath o fyfyrdod galarus; ond *nid ydyw ddim yma!* nid oes yma ddim, ond pechod ac anobaith hirfaith, hirfaith, hirfaith! Oh!" Yna gosododd ei llaw ar ei mynwes, a thynodd ei hanadl ati, fel i godi pwysau trymion.

Edrychodd Twm fel pe buasai am siarad drachefn, ond hi a'i distawodd âg amnaid.

"Paid a siarad, y creadur tlawd. Ceisia gysgu, os medri." Ac ar ol gosod y dwfr yn ei ymyl, a gwneud hyny o drefnusrwydd a fedrai er ei gysur, aeth Cassy allan o'r hen furddyn.

## PENNOD XXXV.

### YR ARGOELION.

"And slight withal may be the things that bring
Back on the heart the weight which it would fling
Aside for ever; it may be a sound,
A flower, the wind, the ocean, which shall wound
Striking the electric chain wherewith we're darkly
bound."

*Childe Harold's Pilgrimage, Canto 4.*

Ystafell ëang hir oedd y parlwr yn nhŷ Legree, âg aelwyd fawr, lydan. Yr oedd unwaith wedi ei gorchuddio â phapyr gwych, drudfawr, yn awr wedi llwydo, ei rwygo, a cholli ei liw, gan leithder y muriau. Yr oedd ynddi ryw arogl afiach, lesghäol, cymysgfa o wlybaniaeth, budreddi, a phydredd, a deimlir yn fynych mewn hen dai gweigion. Yr oedd y papyr ar y parwydydd wedi ei lychwino â bîr a gwin; neu ei addurno â chofnodau o shalc, a symiau hirion mewn rhifyddiaeth. Ar yr aelwyd safai efyddyn llawn o dân sharcol; ac er nad oedd yr hin yn oer, eto teimlid yr ystafell fawr hono yn llaith a rhynllyd yn yr hwyr; ac heblaw hyny, yr oedd Legree yn gofyn tân i oleuo ei segar ac i dwymno'r dwfr i gymysgu ei wirod. Dangosai llewyrch rhuddgoch y tân olygfa ddidrefn ac annymunol yr ystafell—cyfrwyau, ffrwyni, amrywiol fath o gêr ceffylau, whipiau marchogaeth, cotiau mawr, a dillad eraill, wedi eu lluchio yma a thraw; ac yr oedd y cŵn, am y rhai y crybwyllasom o'r blaen, wedi gwersyllu yn eu mysg, yn ol eu tueddiad a'u cyfleusdra.

Yr oedd Legree yn brysur yn cymysgu iddo ei hun wydraid o frandi a dwr, gan dywallt y dwfr poeth allan o hen biser trwyn-dwn, cracio̍g, ac yn grwgnach ynddo ei hun—

"Plâg ar y Sambo yna, am godi'r fath derfysg rhyngof fi â'r dwylo newyddion! Ni bydd y cena' yna yn dda i ddim 'n y byd am wythnos—yn union yn nghanol y tymhor prysur!"

"Iê, fel tydi yn union," ebe llais o'r tu cefn i'w gadair. Y ddynes Cassy ydoedd, yr hon a ddaethai i mewn yn ddistaw ar ganol ei hunanymddiddan ef.

"Ha! ddoist ti yn ol, ddoist ti? y fenyw gythreulig?"

"Do, mi ddois," ebe hi, yn oeraidd; "wedi dwad i gael fy ffordd fy hun hefyd!"

"Celwydd ddeudi di, y ddyhiren! Mi gadwa' i 'ngair. Un ai rhaid i ti behafio dy hun, neu aros i lawr yn tai allan, a gwneud fel y lleill."

"Fyddai'n well gen i filoedd o weithiau," ebe'r ddynes, "fyw yn y twll butraf yno na bod o dan dy garn di!"

"Ond yr *wyt* ti o dan fy ngharn i, er hyny," ebe efe, gan droi ati gyda gwên ffyrnig; "dyna un cysur. Felly, eistedd ar fy nglin 'ngeneth i, a gwrando ar reswm," eb efe, gan ymaflyd yn ei garddwrn.

"Simon Legree, cymer di ofal!" ebe'r ddynes, gyda mellteniad o'i llygad, a golwg mor wyllt a gwallgof ag oedd yn ddigon i daro dychryn yn undyn. "Y mae arnat fy ofn i, Simon," ebe hi yn bwyllog, "ac y mae genyt achos. Ond cymer ofal, mi fedra' i chware'r gwr drwg!"

Dywedodd y geiriau hyn yn sisialaidd yn ei glust.

"Dos allan. Yr ydwyf fi'n coeli yn fy nghalon y medri!" ebe Legree, gan ei gwthio oddiwrtho, ac edrych arni yn anesmwyth. "Ar ol y cwbl, Cassy," eb efe, "pa'm na elli fod yn ffrindiol â mi fel arferol?"

"Fel arferol!" ebe hi, yn chwerw. Tawodd yn sydyn—cadwyd hi yn ddistaw gan lwyth o deimladau llewygol, a gyfodent yn ei chalon.

Yr oedd Cassy wedi dal uwch ben Legree, bob amser, y fath ddylanwad ag sydd gan ddynes o nwydau cryfion dros y dyn creulonaf; ond yn ddiweddar, yr ydoedd wedi dyfod yn fwy cynhyrfiol ac anesmwyth o dan iau erchyll ei chaethiwed, ac yr oedd ei chyffroad, weithiau, yn tori allan yn wallgofrwydd gorwyllt; a'r cyffroad hwn i ba un yr oedd yn ddarostyngedig a barai ryw fath o ddychryn i Legree, o herwydd yr oedd ynddo yntau yr arswyd

ofergoelus rhag pobl wallgof ag sydd yn meddyliau rhai anwybodus yn gyffredin.

Pan ddaeth Legree ag Emmeline i'r tŷ, enynodd marwor myglyd teimladau mamawl yn nghalon dreuliedig Cassy, a chymerodd blaid yr eneth; a bu ymrafael blin rhyngddi hi a Legree. Tyngodd Legree yn ei gynddaredd y gyrai hi i weithio yn y maes, os na byddai yn heddychol. Dywedodd Cassy, gyda diystyrwch balch, yr â'i hi i'r maes. A gweithiodd yno un diwrnod, fel yr ydym wedi darlunio, i ddangos mor berffaith y diystyrai ei fygythiad.

Yr oedd Legree yn anesmwyth ynddo ei hun drwy'r dydd, canys yr oedd gan Cassy ddylanwad drosto oddiwrth ba un nis gallai ymryddhau. Pan ddaeth a'i basged yn mlaen at y clorianau, yr oedd ef yn disgwyl am ryw addefiad, a siaradodd wrthi mewn tôn haner gymodol a haner ddiystyrllyd; ond hi a'i hatebodd gyda'r dirmyg chwerwaf.

Yr oedd triniaeth ysgeler Twm dlawd wedi ei chyffroi yn fwy fyth; a dilynodd Legree i'r tŷ heb un amcan ond i edliw iddo ei greulondeb.

"Mi fydda'n dda gen i, Cassy," ebe Legree, "pe bait yn ymddwyn dy hun yn weddaidd."

"*Tydi*'n siarad am ymddwyn yn weddaidd! A pha beth fuost ti'n ei wneud? Tydi nad oes genyt ddigon o synwyr i beidio difetha un o'th ddwylo gore yn nghanol y tymhor prysur, yn unig o herwydd tymher gythreulig!"

"Yr oeddwn yn ffwl, mae'n wir, i roddi 'r ffrwyn i'r fath nwydau," ebe Legree; "ond pan osododd y bachgen ei ewyllys ei hun i fyny yr oedd yn rhaid ei dori i mewn."

"Yr ydw i'n meddwl na thori di byth mo hono *ef* i mewn!"

"Ni wnaf fi?" ebe Legree, gan ymwylltio. "Ddymunwn i wybod pa'm na wnaf. Efe fydd y niggar cyntaf ddaeth trostof fi erioed! Mi doraf bob asgwrn yn ei gorph; *mi wnaf* iddo roi i fyny!"

Gyda hyny agorwyd y drws, a daeth Sambo i mewn. Daeth yn mlaen dan ymgrymu, ac estyn allan rywbeth mewn papyr.

"Beth ydi hwna, y cena'?" ebe Legree

"Rhywbeth i swyno, mas'r!"

"Pa beth?"

"Rhywbeth mae'r niggars yn gael gan y swyn-wragedd. Mae'n i cadw nhw rhag teimlo pan y mae nhw'n cael i whipio. Yr oedd hwn wedi ei rwymo wrth ei wddw â llinyn du."

Yr oedd Legree, fel y rhan fwyaf o ddynion annuwiol a chreulon, yn ofergoelus. Cymerodd y papyr ac agorodd ef gydag anesmwythder.

Syrthiodd dolar arian o hono, a dirwynodd dolen o wallt hir goleu, fel peth byw, o amgylch bysedd Legree.

"Y cythraul," eb efe, mewn ysgrech nwydwyllt, gan daro ei droed yn erbyn y llawr, a thynu'r gwallt, yn gynddeiriog, fel pe buasai'n llosgi ei fysedd. "O bl'e y daeth hwn? Cymer i ffwrdd!—llosga fe!—llosga fe'n ulw!" crochfloeddiodd, gan ei dynu, a'i daflu i'r tân. "I beth y doist ti ag ê i mi?"

Safodd Sambo â'i geg fawr yn llydan agored, ac yn synu'n rhyfeddol; a safodd Cassy, yr hon oedd ar gychwyn o'r ystafell, ac edrychodd yn frawychus.

"Paid ti a dyfod a dim chwaneg o dy bethau cythreulig yma!" eb efe, gan ysgwyd ei ddwrn ar Sambo, yr hwn a giliodd yn brysur tua'r drws. Yna cododd Legree y dolar arian, a thaflodd ef allan trwy'r ffenestr, nes oedd y gwydr yn deilchion.

Yr oedd yn llawen gan Sambo gael dianc. Wedi iddo fyned allan, edrychai Legree fel yn cywilyddio ychydig o herwydd ei iâs o ddychryn. Eisteddodd i lawr yn sarug yn ei gadair, a dechreuodd lymeitian ei frandi a dwfr.

Parotodd Cassy i fyned ymaith heb yn wybod iddo ef, ac aeth allan yn ddistaw i weinyddu i Twm druan, fel y crybwyllasom eisoes.

A pha beth oedd y mater ar Legree? pa beth oedd mewn dolen o wallt goleu i beri arswyd yn y dyn bwystfilaidd yna, wedi cynefino â phob dull o greulondeb? I ateb hyn rhaid i ni ddwyn y darllenydd yn ol yn ei hanes. Er mor galed a diras yr ymddengys y dyn annuwiol yn awr, bu amser y siglid ef ar fynwes mam —ac y rhoddid ef yn ei gryd gyda gweddïau a hymnau—a gwlychwyd y talcen creithiog yna â dwfr y bedydd bendigaid. Yn ei fabandod arweinid ef gan wraig eurwallt, wrth y gloch Sabbothol, i addoli ac i weddïo. Canys yn New England hyfforddiasai y fam hono ei hunig fab gyda chariad diflino a gweddïau parhaus. Wedi ei eni o dad caled ei dymher, ar yr hwn y treuliasai y wraig addfwyn hono fyd o serch na chafodd erioed ei brisio, dilynodd Legree gamrau ei dad. Un terfysglyd, afreolaidd, a gorthrymus ydoedd; diystyrodd ei holl gyngor, ac ni fynai ddim o'i cherydd; ymrwygodd oddi wrthi hi yn ifanc, ac aeth i gymeryd ei siawns ar y môr. Ni ddaeth byth adref ond unwaith wedi hyny; ac yna, gyda theimlad a thosturi calon na's gallasai beidio caru rhywbeth, ac heb ddim arall ganddi i'w garu, glynodd ei fam wrtho, ac ymdrechodd, trwy daer weddïau ac ymbiliau, ei ynill o fuchedd bechadurus i feddwl am les tragywyddol ei enaid.

Hwnw oedd dydd gras Legree. Y pryd hwnw galwyd arno gan angylion da; y pryd hwnw perswadiwyd ef agos, a gafaelodd trugaredd yn ei law. Meddalhaodd ei galon o'i fewn —yr oedd yno ymdrech—ond pechod a gafodd y fuddugoliaeth, a gosododd holl nerth ei natur arw yn erbyn argyhoeddiad ei gydwybod.

Yfodd a thyngodd, ac aeth yn wylltach a mwy creulon nag erioed. Ac un noswaith, pan oedd ei fam ar ei deulin o'i flaen, yn ei chyfyngder olaf o anobaith, gwthiodd hi oddiwrtho, gan ei thaflu hi'n haner marw ar y llawr, a chyda rhegfeydd dychrynllyd, ffodd i'w long. Y peth nesaf a glywodd Legree oddiwrth ei fam ydoedd trwy lythyr a roddwyd yn ei law un noswaith pan yn gloddesta gyd a'i gymdeithion meddwon. Agorodd y llythyr, a syrthiodd cudyn o wallt hir modrwyog o hono, ac ymnyddodd am ei fysedd. Dywedai y llythyr fod ei fam wedi marw, a'i bod yn ei fendithio ac yn maddeu iddo, ar ei gwely angau.

Y mae rhyw arswyd, rhyw goel-gyfaredd halogedig o ddrygedd, sy'n troi y pethau melysaf a sancteiddiaf i ddrychiolaethau o ddychryn a braw. Ni weithiodd gweddïau olaf, na chariad maddeuol y fam welw-lwyd serchog hono, yn ei galon bechadurus, ddieflig, ond fel dedfryd ddamniol, gan ddwyn gyda hi ryw ddisgwyl ofnadwy am farnedigaeth, ac angerdd tân. Llosgodd Legree y gwallt, a llosgodd y llythyr; a phan welodd hwynt yn sïo ac yn clindarddach yn y fflam, cododd arswyd o'i fewn wrth feddwl am y tân tragywyddol. Ceisiodd yfed, a gloddesta, a thyngu y cwbl o'i feddwl; ond mynych yn nyfnder y nos, yr hon trwy ei distawrwydd dwys sy'n dwyn yr enaid dryg-ionus cyhuddedig, o'i anfodd, i ymgomio â hi, gwelai y fam welw hono yn cyfodi wrth erchwyn ei wely, a theimlodd y gwallt hwnw yn ymnyddu am ei fysedd, nes y treiglai'r chwys oer i lawr ei wyneb, a neidiai o'i wely mewn dychryndod. Chwychwi sy'n rhyfeddu clywed, yn yr un efengyl, mai cariad yw Duw, a'i fod yn dân ysol hefyd, oni welwch chwi mai perffaith gariad yw'r penyd mwyaf arswydus, sel a dedfryd yr anobaith erchyllaf, i'r enaid wedi hollol galedu mewn pechod?

"Y felldith arno!" ebe Legree wrtho ei hun, gan sipian ei wirod, "ymh'le cafodd e hwn-yna? Yr oedd yn edrych yn union fel—whiw. 'Roeddwn i'n meddwl mod i wedi annghofio hwnyna. Byth o'r fan yma, 'rydw i'n meddwl nad oes dim fath beth ag annghofio dim yn y byd—ynghrôg y bo! Yr ydw i yn unig ar fy mhen fy hun! Mi alwaf ar Em. Ond mae'n gâs ganddi fi—yr epa! waeth gen i—mi wna iddi ddwad!"

Piciodd Legree i entri fawr, oedd yn arwain i fyny grisiau a fuasent unwaith yn risiau troellawg ardderchog; ond yr oedd y fynedfa yn fudr ac yn afler, yn llawn o gistiau a hen gelfi gwrthun. Yr oedd y grisiau yn llwm, heb garped, ac fel yn dirwyn i fyny, yn y tywyllwch, na wyddai neb i b'le! Gwelid goleu'r lloer yn ffrydio trwy ffenestr dyllog uwch ben y drws, ac yr oedd yr awyr yn afiach ac oerllyd fel mewn ogof.

Safodd Legree wrth droed y grisiau, a chlywai lais yn canu; ond iddo ef, yr hwn oedd eisoes wedi dychrynu, yr oedd y sŵn yn chwithig ac yn ellyllaidd yn yr hen dy anial hwnw. Gwrandewch! Beth ydyw?

Mewn llais cynhyrfiol, gwyllt, oenid hymn gyffredin gan y caethion:—

"O, mi fydd galar, galar, galar,
Wrth orsedd-barn yr Iesu Grist!"

"Y felldith ar yr hogen!" ebe Legree. "Mi llindaga i hi. Em! Em!" gwaeddai allan yn groch; ond nid oedd dim yn ei ateb ond adsain watwarus rhwng y muriau; ac aeth y llais mwyn yn mlaen gyda'r canu:—

"Rhieni a phlant wahenir yno!
Rhieni a phlant wahenir yno!
Byth i g'wrdd â'u gilydd mwy!"

Yna adseiniodd y byrdwn yn glir trwy'r ystafelloedd gweigion:—

"O mi fydd galar, galar, galar,
Wrth orsedd-barn yr Iesu Grist!"

Arosodd Legree. Buasai'n gywilydd ganddo ei gyfaddef, ond safodd defnynau mawrion o chwys ar ei dalcen; curodd gwaed ei galon yn drwm ac yn dewychus gan ofn; meddyliodd fod rhywbeth gwyn yn cyfodi ac yn lled-lewyrchu o'i flaen yn yr ystafell, a chrynodd wrth feddwl beth pe byddai i'w fam farw ymrithio yn sydyn iddo.

"Mi wn unpeth," eb efe wrtho ei hun, gan gropian yn ol i'w ystafell, ac eistedd i lawr, "mi adawa i lonydd i'r dyhiryn yna ar ol hyn! Beth ddrwg oedd arna' i eisio hefo'i bapyr melldigedig o? Yr ydw i'n coelio 'n sicr 'mod i wedi fy swyno! 'Rydw i wedi bod yn crynu ac yn chwysu byth wedi'n? Ymh'le y cafodd o 'r gwallt yna? Yn siwr, nid *hwnw* ydi o! Mi losgis i *hwnw*, mi wn i mi 'neud! Mi fydda 'n ddigri pe b'ai gwallt yn codi o farw yn fyw!"

Ah, Legree! yr oedd y cudyn euraidd yna wedi ei swyno; yr oedd cyfaredd o arswyd a chnôad cydwybod i ti yn mhob blewyn o hono, a defnyddiwyd ef gan allu cryfach i rwymo dy ddwylaw creulon rhag niweidio y di-nodded i'r eithaf!

"Glywch chi!" ebe Legree, gan daro ei droed yn erbyn y llawr a chwibanu ar y cŵn; "deffrowch, rai a honoch, a dowch i gadw cwmni i mi!"

Ond ni ddarfu'r cŵn ond agor un llygad yn gysglyd, a'i gau drachefn.

"Mi fyna' i Sambo a Cwimbo yma i ganu a dawnsio un o'u dawnsiau uffernol, a chadw draw y dych'mygion cebyst yma," ebe Legree; rhoddodd ei het am ei ben, ac aeth allan ar y verandah, a chwythodd gorn â'r hwn y galwai ato ei ddau yrwr ebonaidd.

Pan fyddai Legree yn ei dymher radlawn, dygai y ddau deilwng hyn i'w ystafell, ac wedi eu gwresogi â chwysci, difyrai ei hun trwy

wneud iddynt ganu, neu ddawnsio, neu ymladd, fel y tarawai yn ei ben.

Yr oedd hyn rhwng un a dau o'r gloch y bore, a phan ddychwelodd Cassy, ar ol bod yn ymgeleddu Twm dlawd, clywai grochleisiau, bloeddio, dolefain, a chanu yn y parlwr, yn gymysgedig â chyfarthiadau'r cŵn, ac arwyddion eraill o derfysg mawr.

Daeth i fyny ar risiau y verandah, ac edrychodd i mewn. Dyna lle'r oedd Legree a'r ddau yrwr yn feddw chwilgorn, yn canu, yn bloeddio, yn taflu'r cadeiriau, ac yn gwneuthur pob math o fingamiau ac ystumiau digrifol ar eu gilydd.

Gorphwysodd ei llaw fach, deneu, ar len y ffenestr, ac edrychodd arnynt yn ddiysgog. Yr oedd byd o ofid, dirmyg, a chwerwder ffyrnig yn ei llygaid pan yn gwneud hyny. "A fyddai'n bechod i'r byd gael gwared o'r fath anghenfil?" ebe hi wrthi ei hun.

Troes ymaith ar ffrwst, a chan fyned oddiamgylch at y drws cefn, aeth i fyny'r grisiau yn ddistaw, a churodd wrth ddrws Emmeline.

## PENNOD XXXVI.

### EMMELINE A CASSY.

Aeth Cassy i mewn i'r ystafell, a chafodd Emmeline yn eistedd yn y gongl bellaf o honi, yn welw gan ofn. Fel yr oedd Cassy yn myned i mewn, neidiodd yr eneth i fyny yn gynnedig; ond wrth ganfod pwy ydoedd, rhedodd yn mlaen, gan ddywedyd, "O, Cassy, a'i chwi sy'na? Mae'n dda genyf eich bod wedi dyfod. Yr oedd arnaf ofn mai—ydoedd. O, ni choeliech chwi ddim y fath swn dychrynllyd sydd wedi bod i lawr y grisiau drwy'r nos!"

"Mi ddylwn wybod," ebe Cassy, yn oeraidd. "Mi a'i clywais yn ddigon aml."

"O, Cassy, deydwch i mi! oes dim modd i ni fyned o'r lle yma? Ni waeth genyf i b'le—i'r gors ymysg y nadroedd, i rywle. *Oes dim possibl* i ni fyned i *rywle* oddiyma?"

"Nac oes, ddim ond i'n beddau," ebe Cassy.

"A ddaru chwi 'rioed dreio?"

"Mi welais i ddigon o dreio, a be' ydi'r diwedd?" ebe Cassy.

"Mi fyddwn i'n foddlon i fyw yn y corsydd, a chnoi rhisgl y coed. Nid oes arna' i ddim ofn nadroedd! Fyddai'n well genyf un o honynt yn fy ymyl nag efe," eb Emmeline, yn danbaid.

"Fu yma gryn lawer o'r un meddwl a chwithau," ebe Cassy. "Ond ni fedrech chwi ddim aros yn y corsydd—deuai y cwn o hyd i chwi, a dygid chwi'n ol, ac yna—yna—"

"Pa beth a wnae fe?" ebe'r eneth, agos allan o anadl, gan edrych yn awyddus yn ei gwyneb.

"Pa beth *na wnae*, a ddylech ofyn," ebe Cassy. "Mae wedi dysgu ei grâd yn dda gyda'r môr-ladron yn y West India. Ni chysgech fawr pe dywedwn i chwi bethau a welais i—pethau y mae ef yn eu hadrodd weithiau dan gellwair. Mi glywais ysgrechiadau yn y lle yma, na chawswn mo honynt o'mhen am wythnosau ac wythnosau. Mae man i lawr wrth y tai allan, lle y gwelir coeden wedi ei llosgi 'n ddu, a'r ddaear o'i hamgylch wedi ei chuddio â lludw. Gofynwch i undyn pa beth a wnaed yno, a chewch weled â feiddian' nhw ddywedyd."

"O, pa beth ydych yn feddwl?"

"Ni ddywedaf. Mae'n gas genyf son am dano. Ac mi ddywedaf i chwi, yr Arglwydd yn unig a ŵyr pa beth a welwn yfory, os deil y creadur tlawd yna allan fel y mae wedi dechre."

"Arswydus!" eb Emmeline, a phob diferyn o waed yn cilio o'i gruddiau. "O Cassy, dywedwch i mi beth a wnaf!"

"Yr hyn a wneis inau. Gwnewch y goreu a fedrwch, yr hyn sydd raid i chwi, a gwnewch y cwbl i fyny trwy gasâu a melldithio."

"Yr oedd arno eisiau i mi yfed peth o'i frandi ffiaidd," eb Emmeline; "ac y mae mor gas genyf fi o—"

"Fydda'n well i chwi yfed," ebe Cassy. "Yr oedd yn gâs genyf finau fo; ond yn awr ni fedraf fi fyw hebddo. Mae'n rhaid i un gael rhywbeth; nid yw pethau yn edrych mor ofnadwy pan gymeroch hwnw."

"Byddai mam yn peri i mi beidio byth a chyffwrdd ag ef," eb Emmeline.

"*Dy fam* yn peri i ti!" ebe Cassy, gyda phwyslais iasol a chwerw ar y gair *mam*. "Pwy les ydi i famau ddweyd dim? Yr ydych i gyd i gael eich prynu a thalu am danoch, ac y mae 'ch eneidiau yn perthyn i bwy bynag a'ch caffo. Dyna fel y mae'n myn'd. Yfwch *frandi*, meddaf fi. Yfwch gymaint ag a fedrwch, ac fe ddaw pethau yn esmwythach."

"O Cassy! cymerwch drugaredd arnaf!"

"Cym'ryd trugaredd arnoch! Onid ydwyf fi? Onid oes genyf ferch fy hun?—yr Arglwydd a ŵyr ymh'le y mae, ac eiddo pwy ydyw 'rwan! Myned yr un ffordd ag yr aeth ei mam o'i blaen, ac y bydd raid i'w phlant fyned ar ei hol, mae'n debyg! Nid oes diwedd byth ar y felldith!"

"Fuasai'n dda gan i, pe na chawswn erioed fy ngeni!" eb Emmeline, gan wasgu ei dwylaw.

"Hen ddymuniad genyf finau ydyw hwna," ebe Cassy. "Yr ydwyf wedi cynefino â dymuno hyny. Mi fyddwn i farw, pe bawn yn meiddio," ebe hi, gan edrych allan i'r tywyllwch, gyda'r anobaith sefydlog, tawel, a ymddangosai yn ei gwedd yn gyffredinol pan yn esmwyth.

"Peth drygionus fyddai i ni ladd ein hunain?" eb Emmeline.

"Nis gwn i paham; dim gwaeth na pheth-

au'r ydym yn eu gwneud ac yn byw ynddynt o ddydd i ddydd. Ond dywedodd y chwiorydd bethau wrthyf pan oeddwn yn y gwyryfdy a wnant i mi ofni marw. Pe b'ai hyny'n gwneud pen am danom, byddai—"

Troes Emmeline draw, a chuddiodd ei gwyneb â'i dwylaw.

Tra'r oedd yr ymddiddan hwn yn myned yn mlaen yn y llofft, yr oedd Legree yn cysgu'n drwm yn yr ystafell i lawr, wedi ei orchfygu gan y gyfeddach. Nid oedd Legree yn feddwyn ymarferol. Yr oedd ei natur arw, gref, yn crefu am symbyliad, a gallasai oddef un ag a fuasai yn gyru natur dynerach yn wallgof ac yn gandryll. Ond yr oedd ynddo ryw yspryd dwfn o ochelgarwch, a'i hattaliai rhag ymroddi yn fynych i'w chwant, mor belled ag i golli llywodraeth arno ei hun.

Pa fodd bynag, y noswaith hon, yn ei ymdrechiadau twymynol i alltudio o'i feddwl yr elfenau dychrynllyd hyny o wae ac euogrwydd a ddeffroisid ynddo, yr oedd wedi yfed mwy nag arferol; felly, wedi gyru ymaith ei weinidogion duon, syrthiodd ar gadeirfainc a chysgodd yn drwm.

Oh! pa fodd y meiddia yr enaid drwg fyned i mewn i fyd cysgodawl cwsg?—y tir sydd a'i gyffiniau mor arswydus o agos i'r lle anhyspys hwnw a atdaledigaeth. Breuddwydiodd Legree. Yn ei gwsg trwm a thwymynaidd gwelai rith-gorph mewn llen-gudd yn sefyll wrth ei ochr, a gosododd law oer, feddal arno. Yr oedd yn meddwl y gwyddai pwy ydoedd, a rhedodd iâs o ddychryn drwyddo, er fod llen dros y gwyneb. Dychymygodd ei fod yn teimlo y *gwallt hwnw* yn nydd-droi am ei fysedd; yna ei fod wedi llithro yn esmwyth o amgylch ei wddf, a thynhau a thynhau, nes methai dynu ei anadl; ac yna meddyliodd fod lleisiau yn *sisial* wrtho—sisial a barodd iddo fferu gan ofn. Wedi hyn ymddangosai iddo ei fod ar fin rhyw aphwys dychrynllyd, yn dal ei afael ac yn ymryson am ei fywyd, a dwylaw duon yn ymestyn i fyny i'w dynu i lawr; a daeth Cassy o'r tu cefn iddo dan chwerthin, a gwthiodd ef. Ac yno cyfododd y ddelw sobr hono yn y llen-gudd, a thynodd y llen o'r neilldu. Ei fam ydoedd; a throes oddiwrtho, a syrthiodd yntau i lawr, lawr, lawr, yn nghanol swn cymysgedig o ysgrechiadau, gruddfanu, a chrechwenau cythreulig—a deffrôdd Legree.

Yr oedd y wawr rosynaidd ei lliw yn tori i mewn yn ddistaw i'r ystafell. A'r seren fore, a'i llygaid syml, pur, o oleuni yn sefyll ac yn edrych i lawr o'r awyr ddisglaer ar y dyn pechadurus. O, gyda'r fath sirioldeb, rhwysgfawredd, a phrydferthwch, y mae pob diwrnod newydd yn dyfod i'r byd; megys i ddywedyd wrth ddyn anystyriol, "Wele, y mae genyt un cynyg yn chwaneg! *Ymorchesta* am ogoniant anfarwol! Nid oes nac iaith nac ymadrodd lle ni chlywir y llais hwn; ond ni chlywyd ef gan y dyn rhyfygus a drygionus yma. Deffrodd gyda llw a rheg. Pa beth oedd y lliw aur a phorphor iddo ef—gwyrth beunyddiol y bore? Pa beth oedd purdeb y seren hono iddo ef, yr hon a sancteiddiwyd gan Fab Duw fel cyffelybiaeth o hono ei hun? Fel anifail, gwelodd heb ddirnad; a chan fyned yn mlaen dan gropian, tywalltodd lonaid twmbler o frandi, ac yfodd ei haner.

"Mi gefais uffern o noswaith neithiwr!" eb efe wrth Cassy, yr hon a ddaethai i mewn trwy ddrws ar gyfer.

"Mi gei ddigon o'r un peth cyn pen hir," ebe hi, yn sychlyd.

"Beth wyt ti'n feddwl, y goegen!"

"Gei di wybod, ryw ddiwrnod," atebai Cassy yn yr un dôn. "Yn awr, Simon, y mae genyf air o gyngor i'w roi i ti."

"Beth felldith ydyw hwnw?"

"Fy nghyngor i ydyw," ebe Cassy, yn ddiysgog, fel yr oedd yn trefnu rhyw bethau o amgylch yr ystafell, "i ti adael Twm yn llonydd."

"Beth ydi hyny i ti?"

"Pa beth! Mae'n wir, nis gwn i ddim beth a ddylai fod. Os oedd arnat eisiau rhoi deuddeg cant o ddoleri am fachgen, a'i haner ladd yn nghanol pwys y tymhor, i foddio dy natur ddrwg, nid yw ddim o'm busnes i. Mi wneuthum i gymaint ag a fedrwn i iddo."

"Mi wneist? Pa fusnes sy' gent ti i ymyryd a'm materion i?"

"Dim, mae'n debyg. Mi safias i iti filoedd o ddoleri, o dro i dro, trwy gymeryd gofal am dy ddwylo—a dyna'r diolch ydwy'n gael. Os bydd dy gnwd yn llai yn y farchnad na'u cnydau hwy, ni cholli mo dy fet? Nid ymfalchïa Tompkins ddim arnat, mae'n debyg? A theli dy arian fel boneddiges, oni wnei di? Mi wnei hyny, feddyliwn!"

Nid oedd gan Legree, fel amryw blanhigwyr eraill, ond un math o awydd, sef cael y cnwd trymaf yn y tymhor; ac yr oedd ganddo amryw ddaliadau ar y tymhor hwn, yn y dref nesaf. Gan hyny, gyda chyfrwysder arferol merch, cyffyrddodd Cassy â'r unig dant a chwareuai.

"Wel, mi adawaf iddo fynd ar yr hyn a gafodd," ebe Legree,; "ond bydd raid iddo ofyn fy mhardwn, ac addo bod yn well o hyn allan."

"Ni wna byth mo hyny," ebe Cassy.

"Ni wneiff o, aie?"

"Na wna, yn sicr," ebe Cassy.

"Leiciwn i wybod *pa'm*, mistres," ebe Legree, yn ddirmygus i'r eithaf.

"Am ei fod wedi gwneud yn iawn, ac fe ŵyr hyny, ac ni ddywed ei fod wedi gwneud allan o le."

"Pwy felldith sy'n hidio beth a ŵyr o? Mi

'na i i'r niggar ddeud y peth a welaf fi yn dda, onitê——"

"Onitê, ti golli dy fet ar y cnwd cotwm, trwy ei gadw ef o'r maes yn yr unig amser y mae mwyaf o angen am dano."

"Ond mi wneiff ildio; fydd yn siwr o neud: oni wn i beth ydi niggars? Mi neiff grefu fel ci, y bore yma."

"Na wna, Simon; nid wyt ti'n adwaen pobl fel hyn. Gelli ei ladd bob yn fodfedd; ac ni chei un gair o gyfaddefiad o hono."

"Gawn wel'd. Ymhle mae e?" ebe Legree, gan fyned allan.

"Yn yr hen furddyn," ebe Cassy.

Er fod Legree yn siarad mor dalgryf wrth Cassy, eto aeth allan o'r tŷ dan ryw ofnau nad oeddynt yn gyffredin iddo ef. Cafodd ei freuddwydion y noswaith o'r blaen, yn nghyda chynghorion call Cassy, gryn effaith ar ei feddwl. Penderfynodd na chai neb fod yn dyst o'r cyfarfod rhyngddo ef â Thwm, a gwnaeth ei feddwl i fyny i ohirio ei ddialedd hyd amser mwy cyfleus, os na fedrai ei ddarostwng trwy fygythio.

Yr oedd goleuni syml y wawr, gogoniant angylaidd y seren fore, wedi edrych i mewn trwy ffenestr anghelfydd y penty lle'r oedd Twm yn gorwedd, ac megis yn disgyn ar hyd pelydr y seren hono, daeth y geiriau cysurlawn hyny i'w feddwl—"Myfi yw Gwreiddyn a Hiliogaeth Dafydd, a'r seren fore eglur." Yn lle digaloni ei enaid, cyffrowyd ef megys â galwad nefol, trwy rybuddion a hyspysiadau dirgelaidd Cassy. Nis gwyddai nad oedd dydd ei farwolaeth yn gwawrio; a dychlamodd ei galon o lawenydd a dymuniad fel yr oedd yn meddwl y gallai fod y rhyfeddodau *oll* y myfyriai mor fynych am danynt, yr orsedd wen fawr, a'i henfys disglaer; y dyrfa mewn gwisgoedd gwynion, a'r swn megys dyfroedd lawer; y coronau, y palmwydd, a'r telynau—ar ymagor i'w olwg cyn machlud yr haul hwnw; gan hyny clywodd lais ei erlidiwr, pan oedd yn nesâu, heb nac arswydo na chrynu.

"Wel, machgen i," ebe Legree, gyda chic diystyrllyd, "sut yr wyt ti'n ymglywed! Oni ddeudais y dysgwn i ti unpeth neu ddau? Sut yr wyt ti'n ei leicio, 'rwan? Sut y mae'r chwipiad a gefaist yn cytuno â'ch di, Twm? 'Dwyt ti ddim mor heini ag oeddat ti neithiwr? Fedrit ti ddim rhoi pwt o bregeth i bechadur tlawd 'rwan, a fedrit ti?"

Nid atebodd Twm un gair.

"Cwyd i fyny, y 'nifail!" ebe Legree, gan roddi cic arall iddo.

Peth anhawdd iawn oedd codi, i un mor archolledig a llesg; ac fel yr oedd Twm yn ymegnïo i wneud felly, chwarddodd Legree yn fwystfilaidd.

"Be' sy'n dy neud di mor anystwyth y bore yma, Twm? Wedi cael anwyd neithiwr, mae'n debyg?"

Erbyn hyn yr oedd Twm wedi cael ei draed dano, ac yn sefyll yn ngwydd ei feistr yn ddiysgog ac yn ddibetrusder.

"Ac mi fedri, fab y fall!" ebe Legree, gan yspïo arno o'i goryn i'w sawdl. "'Rydw i'n credu na chefaist ti ddim digon eto. 'Rwan, Twm, dos i lawr ar dy linia a gofyn fy mhardwn i am 'stranciau neithiwr."

Ni symudodd Twm un mymryn.

"I lawr â'ch di, y cena!" ebe Legree, gan ei daro â'i whip.

"Mas'r Legree," ebe Twm, "fedra' i ddim ei neud. Ni wneis i ddim ond yr hyn oeddwn yn feddwl ei fod yn iawn. Mi wnaf yr un fath eto os byth y daw galwad arnaf. Ni wna' i byth unpeth creulon, doed a ddelo."

"O'r gore, Master Twm; ond ni wyddost ti ddim be' sy'n dyfod. Yr wyt yn meddwl fod yr hyn a gefist yn rhwbeth. 'Rydw i'n deud i ti nad ydi hyna ddim—dim yn y byd. Sut y leiciat ti gael dy rwymo wrth goeden, a thân araf yn cyneu o dy gwmpas? Oni byddai hyny'n hyfryd—aïe, Twm?"

"Mas'r," ebe Twm, "mi wn y medrwch 'neud petha' ofnadwy, ond"—ac ymestynodd tuag i fyny a phlethodd ei ddwylaw—"ond ar ol i chwi ladd y corph, ni fedrwch neud dim 'chwaneg. Ac O, y mae holl DRAGWYDDOLDEB i ddwad wedi hyny!"

TRAGWYDDOLDEB—aeth y gair yn iasiau o oleuni a nerth trwy enaid y dyn du—treiddiodd hefyd trwy enaid y pechadur fel brathiad scorpion. Ysgyrnygodd Legree ddannedd arno, ond yr oedd ei gynddaredd yn ei gadw yn fud; a siaradodd Twm fel dyn rhydd, mewn llais clir a siriol.

"Mas'r Legree, gan eich bod wedi mhrynu, mi fydda' i yn was gonest a ffyddlon i chwi. Mi rof i chwi holl lafur fy nwylo; fy holl amser, a fy holl nerth; ond ni rof fy enaid i undyn byw. Mi lynaf i wrth yr Arglwydd, a rhof ei orch'mynion Ef o flaen pobpeth, ai byw ai marw; gallwch fod yn siwr o hyny. Mas'r Legree, 'does arna i 'run mymryn o ofn marw. Ni waeth gen i farw na pheidio. Chwi ellwch fy whipio, fy newynu, fy llosgi—ni wnaiff hyny ond fy 'ngyru yn gynt i'r lle sy' arna' i eisio mynd."

"Mi wna i ti roi fyny, er hyny, cyn darfod â thi!" ebe Legree, yn llidiog.

"Mi gaf fi *help*," ebe Twm. "Ni 'newch chi byth mo'no."

"Pwy dd—l sy'n mynd i dy helpu di?" ebe Legree, yn ddirmygus.

"Yr Arglwydd Hollalluog!" ebe Twm.

Legree a'i "damniodd;" ac âg un dyrnod tarawodd ef i'r ddaear.

Y mynydyn hwnw disgynodd llaw feddal,

oer, ar ysgwydd Legree. Troes ei olwg—llaw Cassy ydoedd; ond dygodd y cyffyrddiad oer, esmwyth, i'w gof y breuddwyd y noswaith o'r blaen; a chan felltenu trwy ystafelloedd ei 'fenydd, daeth holl rithiau dychrynllyd gwyliadwriaethau'r nos, gyda chyfran o'r arswyd oedd yn eu canlyn.

"A fyni di fod yn ffwl?" ebe Cassy, yn Ffrengaeg. "Gad iddo fynd! Gad i mi ei wneud yn abl i fyned i'r maes eto. Onid yw'n union fel y dywedais i ti?"

Maent yn dywedyd fod gan yr aligator a'r rhinoceros ryw leeyn hawdd ei glwyfo, er eu bod mewn llurig a saif yn erbyn bwled; ac y mae lleeyn gwan ar y dynion mwyaf diras, anystyriol, annghrediniol, a ffyrnig, sef eu harswyd ofergoelus.

Troes Legree ymaith, gan benderfynu gadael i'r peth fyned heibio am y tro hwn.

"Wel, cymer dy ffordd dy hun," eb efe wrth Cassy, yn sarug.

"A glywi di!" eb efe wrth Twm, "ni fyna' i ddim chwaneg i wneud â thi 'rwan, am fod y gwaith yn galw am yr holl ddwylo; ond nid ydw' i *byth* yn annghofio. Mi rho' i e lawr yn d'erbyn, ac mi fyna' i 'nhâl allan o dy hen groen du di ryw ddiwrnod—cofia di!"

Yna aeth Legree allan.

"Dyna ti'n myn'd," ebe Cassy, gan edrych yn wgus ar ei ol; "Mae dy gyfrif di heb ddyfod eto! Fy machgen tlawd, pa sut yr wyt ti?"

"Mae'r Arglwydd Dduw wedi anfon ei angel, a chau safn y llew, am y tro hwn," meddai Twm.

"Am y tro hwn, mae'n wir," ebe Cassy; "ond gan dy fod yn awr o dan ei gasineb, fe'th ddilyn i mewn ac allan, o ddydd i ddydd, gan hongian wrth dy wddf fel ci, a sugno dy waed o ddiferyn i ddifdryn, hyd dy farwolaeth! Mi adwaen i y dyn!"

---

## PENNOD XXXVII.

### RHYDDID.

"Ni waeth pa mor ddefosiynol yr aberthwyd ef ar allor-caeth-wasanaeth, y moment y cyffyrddo â daear gysegredig Prydain, syrth yr allor a'r duw i'r llwch yn nghyd, ac y mae wedi ei brynu, ei adeni, a'i ryddhau trwy yspryd anorchfygol y gollyngdod cyffredinol."—CURRAN.

Rhaid i ni adael Twm yn nwylaw ei boenydwyr am dro, tra y b'om yn troi ein golwg at hanes George a'i wraig, y rhai a adawsom yn nwylaw cyfeillion mewn ffarmdy ar ochr y ffordd.

Gadawsom Twm Loker hefyd, yn gruddfan ac yn troi ac yn trosi, yn ngwely glân ac esmwyth y Cwacer, dan ofal mamaethol Modryb Dorcas, yr hon a'i cafodd, ar ei glaf-wely, yn llawn mor hawdd ei drin a tharw gwyllt mewn magl.

Dychymygwch weled dynes dàl, ddiwegi, grefyddol, a chap muslin gwyn yn cysgodi cudynau arianaidd o wallt, wedi eu rhanu yn y canol i'r blewyn ar ei thalcen têg a llydan, fel bwa, uwch ben dau lygaid gleision myfyriol; napcyn o gràp gwyn wedi ei blygu yn daclus ar draws ei mynwes, a'r gown sidan llwyd gloyw yn swnio yn dangnefeddus fel yr oedd yn cerdded yn ddistaw ar hyd yr ystafell.

"Y cythraul!" ebe Twm Loker, gan roddi hergwd i ddillad y gwely.

"Rhaid i mi ddymuno arnat ti, Tomos, i beidio arfer y fath iaith a honyna," ebe Modryb Dorcas, tra'r oedd yn trefnu'r gwely'n hamddenol.

"Wel ni 'naf fi ddim, modryb, os medra'i beidio," ebe Twm; "ond y mae mor felldigedig o boeth yma—digon a *gyru* dyn i dyngu."

Tynodd Dorcas gwrlyd oddiar y gwely, taclusodd y dillad drachefn, a thynhaodd hwynt o gylch yr ymylau, nes oedd Twm yn edrych yn gysurus, a dywedodd, wrth wneud felly—

"Mi fydda'n dda genyf fi, ffrind Tomos, pe gadawit heibio dyngu a rhegu, a meddwl am dy ffyrdd."

"Beth gebyst' y gwnaf fi feddwl am *rheiny?*" ebe Twm. "Dyna'r petha' olaf i *mi* feddwl am danynt—ynghrog y bo pobpeth!" A throdd Twm drachefn, gan ddadwneud a lluchio'r dillad yn gynddeiriog.

"Debyg gen i fod y dyn a'r ddynes rheiny yma?" eb efe, yn sarug, yn mhen rhyw ychydig.

"Y maent, yn wir," ebe Dorcas.

"Gwell iddyn' nhw fyn'd i fyny tua'r llyn," ebe Twm, "a goreu po gyntaf."

"Hwyrach y gwnant felly," ebe Modryb Dorcas, gan weu ei hosan yn hamddenol.

"Glywch chwi?" ebe Twm, "mae genym ni swyddog yn Sandusky i wylio'r llongau. Ni waeth gen i os deuda i 'rwan. Gobeithio y gwnant ddianc, o ran *spite* i Mark—y cena melldigedig—plag arno!"

"Tomos!" ebe Dorcas.

"Mi ddeuda i chwi beth, modryb, os corciwch chwi fi yn rhy dŷn mi fyrstiaf," ebe Twm. "Ond yn nghylch y lodes—deudwch wrthyn' nhw am ei gwisgo fel na 'nabyddo neb mohoni. Mae ei desgrifiad hi allan yn Sandusky."

"Mi gymerwn ni ofal am y mater yna," ebe Dorcas, yn bur dawel.

Gan ein bod yn myned i ganu ffarwel â Thwm Loker yn y fan yma, byddai cystal i ni ddweyd iddo gyfodi o'i wely yn sobrach ac yn gallach dyn, ar ol bod rhwng yr erchwynion am dair wythnos, yn nhŷ'r Cwacer, dan y crydcymalau, yn gystal a'i friwiau; ac yn lle hela caethion trodd ati i weithio'n onest yn y sefydliadau newyddion, a defnyddiodd ei dalentau a'i fedrusrwydd i hela eirth a bleiddiaid yn y goedwig, yn lle dynion, ac enillodd hyn iddo

enw mawr ymhell ac yn agos. Byth wedi hyny siaradai Twm yn bur barchus am y Cwaceriaid. "Pobl neis iawn!" meddai; "yr oedd arnynt eisio fy nhroi i, ond mi ddar'un fethu. Ond ddeuda i ti beth, wr diarth, mi fedran' nhw ffiesio dyn sal yn neisia peth a welist ti 'rioed! a gneud y pottes, cawl a'r stiwiau gore a brofwyd yn y byd yma."

O herwydd i Twm eu hysbysu fod disgwyliad yn Sandusky am y ffoaduriaid, barnwyd mai doeth fyddai eu gwahanu. Gyrwyd Jim a'i hen fam un ffordd; ac yn mhen noswaith neu ddwy gyrwyd George ac Eliza a'u plentyn yn ddirgelaidd i Sandusky, a than gronglwyd letygar yno, parotowyd hwynt erbyn eu mordaith dros y llyn.

Yr oedd y nos wedi cerdded ymhell, a seren fore rhyddid ar gyfodi yn ddisgleirwych. Rhyddid!—O, fath air gwefreiddiol. Pa beth ydyw? A oes rhywbeth ynddo heblaw yr enw, y droell-ymadrodd areithyddol? Chwi wŷr a gwragedd America, paham y mae gwaed eich calon yn cynhyrfu wrth swn y gair, dros ba un y llifodd gwaed eich tadau, ac yr oedd eich mamau dewrion yn foddlon i'w rhai anwylaf farw?

A oes dim ynddo yn anwyl ac yn ogoneddus i genedl, nad ydyw yn anwyl ac yn ogoneddus i ddyn? Pa beth ydyw rhyddid i genedl ond rhyddid i'r personau a'i cyfansoddant? Pa beth ydyw rhyddid i'r dyn ifanc yna, sydd yn eistedd â'i freichiau yn mhleth ar ei fynwes lydan, a lliw gwaed Affrica ar ei wedd, a'i thân tanbaid yn ei lygaid—pa beth ydyw rhyddid i George Harris? I'ch tadau chwi, yr oedd yn hawl pobl i fod yn bobl. Iddo ef, y mae'n hawl dyn i fod yn ddyn, ac nid yn anifail; hawl i alw gwraig ei fynwes yn wraig iddo ei hun, a'i hamddiffyn rhag trais a gorthrwm; hawl i ddysgu ei blentyn; hawl i gael cartref o'i eiddo ei hun, crefydd o'i eiddo ei hun, a nodweddiad o'i eiddo ei hun, heb fod yn ddarostyngedig i ewyllys neb arall. Yr oedd yr holl olygiadau hyn yn rholio ac yn gweithio yn meddwl George, fel yr oedd yn eistedd â'i bwys ar ei benelin, yn sobr, ac yn edrych ar ei wraig yn ymwisgo mewn dillad mab, yr hyn a fernid y ffordd fwyaf diogel i ddianc.

"Yn awr am dani," ebe hi, gan sefyll o flaen y drych, ac ysgwyd ei gwallt hirllaes i lawr. "Mae'n drueni, onid ydyw, George?" ebe hi, gan ddal rhan o hono, rhwng difrif a chware. "Mae'n drueni fod rhaid ei gneifio."

Gwenodd George yn wyneb-drist; ond nid atebodd ddim.

Trodd Eliza at y drych, a chleciodd y siswrn fel yr oedd cudyn ar ol cudyn yn syrthio.

"Dyna, fe wna hyna'r tro," ebe hi, a chymerodd y brwsh gwallt; "yn awr am dacluso fel barbwr."

"Wel, onid wyf fi yn llencyn go hardd," ebe hi, gan droi at ei gwr, a chwerthin a gwrido ar yr un pryd.

"Yr ydych yn hardd bob amser, gwnewch y peth a fynoch," ebe George.

"Beth sy'n peri i chwi edrych mor bruddaidd?" eb Eliza, gan blygu ar un glin, a gafaelyd yn ei law. "Maent yn dweyd nad oes dim pedair awr ar hugain rhyngom a Canada. Dim ond diwrnod a noswaith ar y llyn; ac yna, O yna!"

"O Eliza," ebe George, gan ei thynu ato; "dyna'r pwnc! Yn awr, mae fy nhynged wedi ei chrynhoi i un pwynt. Wedi dyfod i ymyl, bron i olwg, ac yna colli'r cwbl. Ni fedrwn i byth fyw dano, Eliza."

"Peidiwch ag ofni," eb ei wraig, yn obeithiol. "Ni buasai'r Arglwydd tirion byth yn ein dwyn hyd yma, oni bai ei fod yn bwriadu ein cario trwodd. Yr ydwyf fel yn ei deimlo Ef gyda ni, George."

Yr ydych yn ddynes fendigedig, Eliza," ebe George, a gwasgodd hi at ei fynwes. "Ond—O! dywedwch, a oes bosibl fod y fath drugaredd anfeidrol ar ein cyfer? A ddaw diwedd i'r blynyddoedd a'r blynyddoedd yma o drueni —a gawn ni fod yn rhydd?"

"Yr wyf yn sicr y cawn, George," eb Eliza, gan edrych i fyny, a dagrau o obaith a brwdfrydedd yn disgleirio yn ei hamrantau tywyll. "Yr wyf yn teimlo yn fy nghalon, fod Duw am ein dwyn allan o gaethiwed, a hyny heddyw."

"Mi a'ch credaf, Eliza," ebe George, gan godi yn sydyn. "Mi a gredaf; dowch, gadewch i ni fyn'd. Wel, yn wir," eb efe, gan ei dal draw o hyd ei fraich, ac edrych yn serchlawn arni; "yr *ydych* yn llencyn bach hardd digynyg. Mae'r troellau bychain yna yn eistedd yn dda iawn. Gwisgwch eich cap. Fel yna—dipyn ar un ochr. Ni welais chwi erioed yn edrych yn well. Ond y mae bron yn amser i'r cerbyd fod yma; nis gwn i ydyw Mrs. Smyth wedi gwisgo am Harri?"

Agorwyd y drws, a daeth dynes gyfrifol ganol oed i mewn, a Harri ganddi gerfydd ei law, wedi ei wisgo mewn dillad merch.

"Onid ydyw'n hogen glws?" eb Eliza, gan ei droi o gwmpas. "Harriet y gelwir ef, welwch chi; ac onid yw'r enw yn ateb i'r dim?"

Safodd y plentyn yn syn, gan syllu ar ei fam yn y fath wisgiad dieithr; tynodd ambell ochenaid ddofn, ac edrychodd arni oddi rhwng ei wallt troellog.

"Ydi Harri yn adnabod mama?" eb Eliza, ac estynodd ei llaw tuag ato. Daliodd y plentyn afael yn wylaidd yn nillad y wraig.

"Dowch, Eliza, i ba beth y gwnewch ei ddenu, a chwithau'n gwybod ei fod i'w gadw oddi wrthych?" ebe George.

"Mi wn ei fod yn waith ffol," eb Eliza; eto ni fedraf ddioddef ei weled yn troi draw oddi wrthyf. Ond dowch—ymhle mae nghlog i? Dyma hi—sut y mae'r meibion yn gwisgo'u clogau, George?"

"Rhaid i chwi ei gwisgo fel hyn," ebe George, gan ei thaflu ar ei ysgwydd.

"Fel hyn am dani hi, ynte," eb Eliza, gan ei ddynwared; "a rhaid i mi stampio, a rhoi cam hir, a threio edrych yn sarug."

"Peidiwch a gwneud dim dros ben," ebe George. "Y mae, yn awr ac yn y man, ddyn ifanc syml a moesgar, a byddai yn haws i chwi edrych fel un felly."

"A'r menyg yma! gwarchod ni!" eb Eliza; "mae fy nwylo i yn myn'd ar goll ynddynt."

"Mi a'ch cynghorwn i'w cadw'yna yn lled dŷn," ebe George. "Gallai eich llaw fechan chwi ein dwyn i'r fagl, bob copa o honom. Yn awr, Mrs. Smyth, un o'r teulu ydych, cofiwch—modryb y rhaid eich galw."

"Mi glywais fod dynion wedi bod i lawr yn rhybuddio'r holl gapteniaid yn nghylch dyn a dynes a bachgen bach," ebe Mrs. Smyth.

"Aie!" ebe George. "Wel, os gwelwn ni rywrai felly, ni a allwn ddweud wrthynt."

Yn awr daeth y cerbyd at y drws, ac ymgasglodd y teulu caredig i ffarwelio â'r ffoaduriaid a gymerasent i mewn dan eu cronglwyd.

Yr oeddynt wedi ymddieithro yn ol cyfarwyddyd Twm Loker. A chydsyniodd Mrs. Smyth, gwraig gyfrifol o'r sefydliad yn Canada, i ba un yr oeddynt yn ffoi, i ymddangos fel modryb Harri, ar ei dychweliad adref dros y llyn; ac i'r dyben o ddenu ei serch, bu gyda hi yn gwbl tua deuddydd, a thyfodd cariad neillduol rhwng y plentyn a hi, wedi ei feithrin â theisenau a siwgr candi.

Gyrwyd y cerbyd at y lanfa. A cherddodd y ddau ddyn ieuanc, (fel yr ymddangosent,) ar hyd y planc i'r llestr, Eliza yn cynyg ei braich yn foesgar i Mrs. Smyth, a George yn edrych ar ol eu trynciau.

Pan oedd George yn sefyll wrth swyddfa'r capten, i dalu'r llong-log, clywai ddau ddyn yn siarad yn ei ymyl.

"Mi sylwais ar bob un a ddaeth ar y bwrdd," ebe un, "ac yr wyf yn sicr nad ydynt ar y llestr yma."

Ysgrifenydd y llestr ddywedodd hyn. Yr hwn a gyfarchai oedd ein cydnabod gynt, Mark, pa un, gyda'r dichlynedd gwerthfawr yn mha un y rhagorai, a ddaethai cybelled a Sandusky, gan geisio'r neb a allai lyncu.

"Prin y gallech adnabod y ddynes oddi wrth un wen," ebe Mark. "Mulatto pur oleu ydyw'r dyn, ac y mae nod haiarn poeth ar un law iddo."

Crynodd y llaw o'r braidd, â pha un yr oedd George yn cymeryd ei drwydded; ond trodd o gwmpas yn ddifater, ac edrychodd yn ysmala ar Mark, yna cerddodd yn arafaidd i'r pen arall i'r llestr lle'r oedd Eliza yn sefyll i'w aros.

Aeth Mrs. Smyth a Harri o'r golwg i gaban y gwragedd, lle y canmolwyd llawer ar brydferthwch yr eneth fach, fel y tybid. Pan ganwyd y gloch olaf, cafodd George yr hyfrydwch o weled Mark yn cerdded ar hyd y planc i'r lan; a thynodd anadliad hir o ryddhad pan oedd symudiad y llestr wedi agor gagendor rhyngddynt.

Trodd allan yn ddiwrnod hyfryd. Tonau gwyrddlas llyn Erie yn crychu ac yn ymloywi yn mhelydrau'r haul. Chwythodd awel gref oddi ar y lan, a chwysodd y llestr ardderchog ei ffordd yn ddewrwych.

Oh! y fath fyd anhraethadwy sydd mewn un galon ddynol! Pwy allasai ddychymgu holl bethau oedd yn llosgi yn mynwes George, pan oedd yn cerdded i fyny ac i lawr yn hamddenol ar fwrdd y llestr, a'i gydymaith gwylaidd wrth ei ochr? Ymddangosai y da oedd yn ei aros yr ochr arall, yn rhy dda, yn rhy hawddgar, i fod yn wirioneddol; a theimlai ofnau eiddigus bob moment o'r dydd, y deuai rhywbeth i'w gipio oddi arno.

Ond rhagddi yr aeth y llestr—heibio yr aeth yr oriau, ac o'r diwedd dacw lanau bendigedig coron Lloegr yn dyfod i'r golwg—glanau ag ynddynt swyn rhyfeddol, digon grymus i ddatod pob dewiniaeth o gaethiwed, ni waeth yn mha iaith y traddodwyd, na chan ba alluoedd y cadarnhawyd.

Safodd George a'i wraig, fraich yn mraich, fel yr oedd y llestr yn nesau at dref fechan Amherstberg, yn Canada. Tynodd ei anadl yn fyr ac yn drwm; towyd ei lygaid â niwl; a gwasgodd y llaw fechan oedd yn gafael yn grynedig yn ei fraich. Canwyd y gloch—safodd y llestr. Heb ond prin weled pa beth oedd yn wneud, ymofynodd am y tryncian, a chasglodd ei dylwyth bach yn nghyd. Glaniasant oll; a safasant yn llonydd hyd oni chliriwyd y llestr; yna, gyda dagrau ac ymgofleidio, penliniodd y gwr a'r wraig, a'u plentyn synedig yn eu breichiau, a dyrchafasant eu calonau at Dduw!

"'Twas something like the burst from death to life;
From the grave's cerements to the robes of heaven;
From sin's dominion, and from passion's strife,
To the pure freedom of a soul forgiven;
Where all the bonds of death and hell are riven,
And mortal puts on immortality,
When Mercy's hand hath turned the golden key,
And Mercy's voice hath said, '*Rejoice, thy soul is free!*'"

Cyfeiriwyd hwynt yn fuan, dan arweiniad Mrs. Smyth, i dŷ llettygar y cenhadwr,—un a osodasid yno gan gariad Cristionogol i fod yn fugail i'r crwydriaid tarfedig, sydd yn barhaus yn cael noddfa yn y gororau hyn.



Pwy all draethu pa mor fendithfawr oedd y dydd cyntaf yma o ryddid? Onid yw'r *synwyr* o ryddid yn uwch ac yn rhagorach nag un o'r pump. Symud, siarad, ac anadlu, myned allan a dyfod i mewn yn ddiofn ac yn ddiberygl! Pwy all draethu'r bendithion a'r gorphwysder sydd yn disgyn ar obenydd y dyn rhydd, dan nawdd cyfreithiau sy'n diogelu iddo'r hawliau a roddodd Duw i ddyn? Mor deg a gwerthfawr i'r fam yna oedd wyneb y plentyn acw'n cysgu, ac yn anwyl trwy gofiant miloedd o beryglon? Yr oedd yn amhosibl cysgu yn y meddiant cyflawn o'r fath fendithion. Ac eto nid oedd gan y ddau yma gymaint ag erw o dir, na chronglwyd o'u heiddo eu hunain, ac yr oeddynt wedi gwario'r cwbl hyd at eu dolar olaf. Nid oedd ganddynt ddim mwy nag adar y nefoedd, neu flodau'r maes—eto nis gallent gysgu gan lawenydd. "O, chwi y rhai a amddifadwch ddyn o'i ryddid, â pha eiriau yr atebwch i Dduw?"

## PENNOD XXXVIII.

### Y FUDDUGOLIAETH.

"I Dduw y byddo'r diolch, yr hwn sydd yn rhoddi i ni fuddugoliaeth."

Oni theimlodd amryw o honom, rai prydiau, pan ar ein taith flinedig yn y byd, fod yn llawer hawsach marw na byw?

Mae y merthyr, hyd yn nod pan yn gwynebu marwolaeth boenus ac arswydus, yn cael rhyw gymhelliad a grym oddiwrth erchylldod ei dynged. Y mae cynhwrf bywiog, iasiau gwresog, y rhai a'i dygant trwy unrhyw gyfyngder o ddioddefaint, pan ar fyned i ogoniant a gorphwysfa dragywyddol.

Ond beth am fyw i rygnu yn mlaen y naill ddiwrnod ar ol y llall mewn gwasanaeth llafurus, chwerw, poenydiol, pob gewyn yn llacau ac yn gwanychu, pob teimlad yn cael ei lethu o radd i radd—y merthyrdod calon hir-nychol, y bywyd tufewnol yn gwaedu yn feunyddiol, ac yn araf, o ddiferyn i ddiferyn, awr ar ol awr—hwn ydyw y gwir brawf chwiliadol a ddengys pe beth sydd mewn calon dyn neu ddynes.

Pan safai Twm wyneb yngwyneb â'i boenydiwr, yn gwrando ar ei fygythion, ac yn meddwl yn ei galon fod ei awr wedi dyfod, chwyddai ei galon o'i fewn gan hyder, meddyliodd y gallai ddioddef pob artaith—dioddef unpeth—â golwg ar yr Iesu, a'r nefoedd ond megys un cam yn mhellach; ond pan aeth y dyn ymaith, a'r cynhyrfiad wedi myned drosodd, dychwelodd y dolur yn ei aelodau briwedig, dychwelodd yr ystyriaeth o'i gyflwr distadl, anobeithiol, ac amddifad; ac aeth y dydd heibio yn araf ac yn flinderus iawn.

Yn mhell cyn i'w glwyfau iachau, gwnaeth Legree iddo fyned i weithio fel arferol yn y maes; yna daeth diwrnod ar ol diwrnod o boen a blinder, yn trymhau fwyfwy gan bob math o annghyfiawnder a dirmyg a allai dyn creulon, câs ei bentyrru arno. Rhaid i bawb wybod, ag a brofodd boen, hyd yn nod yn ein hamgylchiadau ysgafn ni, beth ydyw y cynhyrfiad anhyfryd sydd yn dilyn. Nid oedd Twm yn synu mwyach wrth weled sarugrwydd ei gymdeithion; Ie, teimlodd fod ei dymher dawel heulog ei hun yn cael ei dirdynu ac yn dechreu suro, o dan yr un driniaeth. Meddyliasai y caffai hamdden i ddarllen ei Fibl, ond nid oedd dim o'r fath beth a hamdden yno. Yn nghanol y tymhor trafferthus gwnai Legree i'w

holl ddwylo weithio, Sul, gwyl, a gwaith. Paham na ddylai? Yr oedd yn gwneud mwy o gotwm, ac enillai yr arian oedd wedi ei ddal; ac os lleddid ychydig o'r dwylo, medrai brynu rhai gwell. Yn y dechreu darllenai Twm adnod neu ddwy o'r Bibl, wrth oleuni'r tân, wedi dychwelyd o'i lafur; ond ar ol y driniaeth greulon a gawsai, daeth adref yn lluddedig, yr oedd ei ben yn syfrdanu, a'i lygaid yn pylu wrth geisio darllen, ac yr oedd yn dda ganddo gael ymestyn ar y llawr trwy lwyr flinder, fel y lleill.

Rhyfedd fel y ciliai yr heddwch a'r ymddiried duwiol a'i daliasai i fyny hyd yn hyn, o flaen trallod ei enaid a'r caddug o anobaith. Yr oedd testun dyrys y fuchedd dywyll hon yn wastad o flaen ei lygaid; eneidiau yn cael eu llethu a'u dinystrio, ysgelerder yn orfoleddus, a Duw yn ddistaw. Ymdrechodd Twm yn ei enaid ei hun, mewn tywyllwch a thristwch, am wythnosau a misoedd. Meddyliai am lythyr Miss Ophelia at ei gyfeillion yn Kentucky, a gweddïai yn daer ar Dduw am ymwared; a gwyliai y naill ddydd ar ol y llall gan ddisgwyl yn ofer am rywun yn dyfod i'w brynu; a phan nad oedd neb yn dyfod, rhuthrai meddyliau chwerwon i'w enaid—mai ofer oedd gwasanaethu Duw, ac fod Duw wedi ei anghofio. Gwelai Cassy ambell waith; ac weithiau pan elwid ef i'r tŷ, cai olwg ar Emmeline gystuddiol, ond ni chai nemawr o ymdiddan â hwynt; yn wir, nid oedd ganddo ddim amser i gymdeithasu â neb.

Yr oedd yn eistedd un noswaith yn llwyr ddigalon ac annghysurus o flaen rhyw ychydig o bentewynion, ar y rhai yr oedd ei swper gwael yn crasu. Rhoddodd ychydig o friwydd ar y tân i geisio codi llewyrch o oleuni, yna tynodd ei hen Fibl o'i boced. Yno yr oedd yr adnodau wedi eu marcio a gynhyrfasent ei enaid mor fynych—geiriau patriarchiaid a thadau, beirdd a gwŷr doethion eraill, y rhai er's talm a roddent gysur i ddyn, lleisiau o'r cwmwl mawr o dystion sydd o'n hamgylch yn wastad yn ngyrfa ein bywyd. A oedd y gair wedi colli ei awdurdod, ai ynte y llygad dwl a'r teimlad blinedig oedd yn nacau ateb i gyffyrddiad yr ysprydoliaeth nerthol? Gydag uchenaid drom rhoddodd y llyfr yn ei boced. Deffrowyd ef gan grechwen uchel o'r tu ol iddo; edrychodd i fyny—a phwy oedd yn sefyll o'i flaen ond Legree.

"Wel, yr hen fachgen," eb efe, "nid ydi dy grefydd di ddim yn gweithio'n iawn 'rwan, mae'n debyg! Yr oeddwn i'n meddwl y tynwn hi allan o dy benglog crych o'r diwedd."

Yr oedd yr edliwiad creulon yn fwy annyoddefol na newyn, ac oerni, a noethni. A bu Twm yn ddistaw

"Yr oeddit ti'n ffwl," ebe Legree; "o herwydd yr oeddwn i'n bwriadu gwneud dyn o honot ti pan brynis i di. Gallasit ti fod yn well allan na Sambo na Cwimbo chwaith, a chael byd esmwyth; ac yn lle cael dy fflangellu a dy archolli bob yn eildydd, gallesit arglwyddiaethu ar bawb o dy gwmpas, a whipio'r niggars erill; a gallesit gael glasiad o whisgi a dwr yn awr ac yn y man i gynhesu dy galon. Tyr'd, 'rwan, onid wyt ti'n meddwl y byddai'n well i ti fod yn rhesymol? Tafl yr hen becyn o sothach yna i'r tân, ac ymuna â f'eglwys i."

"Na ato Duw!" ebe Twm, yn wresog.

"Yr wyt ti'n gwel'd nad ydi'r Arglwydd yn myn'd i dy helpu di, onitê ni fuasai yn gadael i *mi* dy gael di! Nid ydi'r grefydd yna ond pentwr o gelwyddau gwag, Twm. Mi wn i'r cwbl o'i chwmpas. Fyddai'n well i ti lynu wrthyf fi; yr ydw i yn rhywun, ac mi fedra i neud rhywbeth!"

"Na wnaf, mas'r," ebe Twm. "Mi ddalia i ati hi. Pa un a helpa Duw fi ai peidio; mi lynaf fi wrtho, ac mi greda ynddo hyd y diwedd!"

"Mwya' ffwl tydi!" ebe Legree, gan boeri arno yn ddiystyrllyd, a'i wthio ymaith â'i droed. "Na hidia, mi dy heliaf fi di i lawr eto, ac mi wnaf i ti ymostwng, gei di wel'd!" ac aeth Legree ymaith.

Pan y mae pwys trwm yn gwasgu yr enaid i lawr i'r eithaf, y mae ymdrech sydyn a gorwyllt yn cyfodi yn mhob gewyn corphorol a moesol i daflu ymaith y baich; ac felly y mae'r cystudd trymaf yn fynych yn rhagflaenu llanw o orfoledd a chysur. Felly yr oedd yn awr gyda Thwm. Suddwyd ei enaid cystuddiedig i'r disdyll eithaf gan wawd atheistaidd ei feistr creulon; ac er fod llaw ffydd eto yn dal gafael yn y Graig dragywyddol, nid oedd ond gafaeliad fferllyd ac anobeithiol. Eisteddai Twm wrth y tân fel un wedi syfrdanu. Yn ddisymwth ymddangosai pobpeth o'i amgylch megys yn diflanu o'i wydd, a chyfododd mewn gweledigaeth o'i flaen Un wedi ei goroni â drain, dan gernodiau, ac yn gwaedu. Syllodd Twm gyda braw a syndod ar amynedd ardderchog y gwynebpryd; aeth y llygaid dwys-deimladol fel saethau i mewn i'w galon; deffrodd ei enaid, a chyda llifeiriant o gyffroad, estynodd allan ei ddwylaw a syrthiodd ar ei liniau; ac yn raddol newidiodd y weledigaeth, daeth y drain llymion yn belydrau o ogoniant, a chyda gorwychder annirnadwy gwelai yr un gwyneb yn gogwyddo'n dosturiol tuag ato, a chlywai lais yn dywedyd, "Yr hwn sydd yn gorchfygu, rhoddaf iddo ef eistedd ar fy ngorseddfainc, megys y gorchfygais inau, ac yr eisteddais gyda'm Tad ar ei orseddfainc ef."

Pa hyd y gorweddodd Twm yno nis gwyddai. Pan ddaeth ato ei hun yr oedd y tân wedi diffodd, ac yr oedd ei ddillad wedi gwlychu gan y

gwlith trwm, oerllyd; ond yr oedd y cyfyngder enaid brawychus wedi myned heibio, ac yn y llawenydd a lanwodd ei galon, ni theimlodd mwyach na newyn, nac oerni, na dirmyg, na siomedigaeth, na thrueni. O waelod ei enaid ymryddhaodd yr awr hono, ac ymadawodd â phob gobaith yn y bywyd hwn; ac offrymodd ei ewyllys ei hun yn aberth dilys i'r Bôd Anfeidrol. Edrychodd Twm i fyny tua'r sêr distaw, siriol, arwyddion cysgodol o'r llu angylaidd sydd yn barhaus yn edrych i lawr ar feibion dynion; ac adseiniodd tawelwch y nos gan swn hymn orfoleddus, yr hon a ganasai lawer gwaith mewn dyddiau dedwydd, ond nid erioed â'r fath deimlad a heno:—

"Mae'n hyfryd meddwl ambell dro,
Wrth deithio anial le,
Ar ol eiu holl fliuderau dwys,
Cawn orphwys yn y ne'.

Pan ar ddiffygio gan y daith
A lladded maith y lle,
Mor hoff yw gwybod—wedi hyn,
Cawn orphwys yn y ne'."

Mae y rhai sydd yn adnabyddus â hanesion crefyddol y caethion yn gwybod fod adroddiadau fel yr un a grybwyllasom yn bur gyffredin yn eu mysg. Clywsom rai hynod o gynhyrfiol a theimladwy, o'u geneuau eu hunain. Mae ysgrifenyddion ar bethau ysprydol yn dywedyd am gyflwr yn mha un y mae serchiadau a dychymygion y meddwl yn dyfod mor lywodraethol a gorchfygol, nes y maent yn dwyn y teimladau allanol i'w gwasanaeth, ac yn peri iddynt roi agwedd hydeimlol i'r dychymygion oddi fewn. Pwy a ddichon amgyffred yr hyn a ellir ei wneud â'r galluoedd hyn gan yr Yspryd sy'n treiddio pobpeth, neu'r ffyrdd sydd ganddo i galonogi eneidiau gwan-obeithiol yr amddifad? Os ydyw'r caethwas tlawd diymgeledd yn credu fod Crist wedi ymddangos iddo ac ymddiddan âg ef, pwy a all ei wrthddywedyd? Oni ddywedodd efe yn mhob oesoedd mai ei genadwri oedd rhwymo'r rhai ysig eu calon, ac agoryd carchar y rhai sy'n rhwym?

Pan ddeffrowyd y cysgaduriaid, ar lasiad y wawr, i fyned i'r maes, yr oedd un yn mysg y trueiniaid rhynllyd carpiog hyny yn cerdded yn dalgryf; canys yr oedd ei ffydd yn y cariad hollalluog a thragywyddol yn fwy safadwy na'r ddaear yr oedd yn troedio arni. Aha! Legree! tyred â'th holl luoedd yn mlaen yn awr! Ni wna'r boen eithaf, y gwae, y dirmyg, y tlodi, a cholli pobpeth, ond prysuro'r gwaith yn mlaen trwy'r hwn y gwneir ef yn frenin ac yn offeiriad i Dduw.

O hyn allan amgylchwyd ei galon syml â gwregys annatodadwy o hedd—yr oedd ei Iachawdwr yno'n wastadol yn ei sancteiddio fel teml. Yr oedd yr ymofidio wedi myned heibio—yr oedd yr anwadalwch o obaith, ofn, a dymuniad, wedi passio—yr oedd yr ewyllys dynol, a fuasai'n hir yn grymedig, yn archolledig, ac yn ymryson, wedi ymuno yn gyflawn âg ewyllys Duw. Ymddangosai y gweddill o daith ei fywyd mor fyr—yr oedd dedwyddwch tragywyddol yn edrych mor agos, mor eglur, nes oedd poenydion eithaf y bywyd hwn yn syrthio oddi wrtho heb adael dim o'u hol.

Yr oedd pawb yn sylwi ar y cyfnewidiad; gwelid fod sirioldeb a bywiogrwydd wedi dychwelyd, a rhyw dawelwch megys wedi ei feddiannu, yr hyn nas gallai unrhyw ddirmyg na sarhad ei gyffroi.

"Beth ddrwg sydd ar Twm?" ebe Legree wrth Sambo. "Yr oedd ar lawr yn lân, ychydig yn ol, ond 'rwan y mae mor fywiog a'r criciedyn!"

"Wn i ddim, mas'r; am redeg i ffwrdd, 'fallai."

"Fydda'n dda genom ni ei wel'd o'n treio hyny, oni fydda, Sambo?" ebe Legree, gyda gwên ffyrnig.

"Mi fydda, feddyliwn! hâ! hô!" ebe mab y fall, dan grechwenu yn ufuddgar. "Dyn anwyl, y fâth sport! i weld o'n rhedeg ac yn rhwygo trwy'r llwyni, yn glynu yn y llaid, a'r cŵn yn tynu ynddo. Gwarchod ni, mi chwerthais nes agos a hollti fy 'senau yr amser y daru ni ddal Mòly. Yr oeddwn i'n meddwl y base nhw wedi ei blingo hi cyn i ni fedru eu tynu i ffwrdd. Mae hi'n cario creithiau'r spri hono hyd heddyw."

"Ac mi wneiff, mae'n debyg, hyd ei bedd," ebe Legree. "Ond 'rwan, Sambo, cadw di dy lygad yn agored! Os oes rhwbeth fel hyn yn ei goryn, tripia fo ar unwaith."

"Gadwch lonydd i mi am hyny, mas'r! Mi ddalia i yr hen lwynog! Ho, ho, ho!"

Dywedwyd hyn fel yr oedd Legree yn myned ar gefn ei geffyl i gychwyn i'r dref gyfagos. Y noswaith hono wrth ddychwelyd, meddyliodd y rhoddai dro o amgylch y blanhigfa, i weled a oedd pobpeth yn ddiogel.

Noswaith loergain hyfryd ydoedd, ac yr oedd cysgodion y coed hardd yn edrych fel wedi eu paentio yn gywrain ar y glaswellt, ac â'r fath dawelwch tryloyw yn yr awyr yn ymddangos fel braidd yn bechod ei gyffroi. Ychydig cyn dyfod at y tai allan clywai Legree lais rhywun yn canu. Nid peth cynefin oedd hyn yn y fan yma, a safodd i wrando. Canodd llais tenor peraidd fel hyn:—

"Ar fôr tymhestlog teithio'r wyf
I fyd sydd well i fyw,
Gan wenu ar ei stormydd oll;
Fy Nhad sydd wrth y llyw.

Er cael fy nhaflu o don i don,
Nes ofni bron cael byw,
Diangol ydwyf, hyd yn hyn;
Fy Nhad sydd wrth y llyw.

I mewn y porthladd tawel clyd,
O swn y storm a'i chlyw,
Y caf fynediad llon, ryw ddydd;
Fy Nhad sydd wrth y llyw."

"Oho, aie!" ebe Legree wrtho ei hun, y mae e'n meddwl felly, ydi e'. Mae'n gas gen i yn 'y nghalon yr hymnau Methodistaidd melldigedig yma! A glywi di, y niggar!" eb efe, gan ddyfod yn ddisymwth at Twm, a chodi ei whip; "sut yr wyt ti'n meiddio cadw'r swn yna, yn lle bod yn dy wely? Cau dy hen safn ddu, a dos yn dy flaen!"

"Gwnaf, mas'r," ebe Twm yn siriol, gan godi i fyned i mewn.

Yr oedd Legree wedi cythruddo yn enbydus wrth weled Twm mor ddedwydd, a dechreuodd ei guro'n dost ar draws ei ben a'i ysgwyddau.

"Cymer hynyna, y cena," eb efe, "i wel'd a fyddi mor gymfforddus 'rwan!"

Eithr nid oedd yr ergydion yn disgyn ond ar y dyn oddi allan, ac nid ar y galon, fel o'r blaen. Safodd Twm yn eithaf gostyngedig; ac eto nis gallai Legree lai na gweled fod ei awdurdod caethiwus arno yn llacau. Ac wedi i Twm fyned i'w gaban, troes Legree ei geffyl yn sydyn, a saethodd trwy ei feddwl un o'r mellt tanbaid hyny sydd yn dyfod weithiau ar draws cydwybod y dyn tywyll pechadurus. Yr oedd yn deall yn burion mai Duw oedd yn sefyll rhyngddo ef â'r un a boenydiai, a chablodd Ef. Wrth weled ymddygiad llariaidd a distaw y dyn hwnw, yr hwn nis gellid ei siglo gan na dirmyg, na bygythion, na gwialenodiau, cyffrodd llais o fewn Legree, fel y cyffrowyd gynt y dyn âg yspryd aflan ynddo, gan ddywedyd, "Och, beth sydd i ni a wnelom â thi, Iesu o Nazareth? a ddaethost ti yma i'n poeni ni cyn yr amser?"

Yr oedd holl enaid Twm yn orlawn o dosturi a theimladrwydd tuag at y trueiniaid oedd o'i amgylch. Ymddangosai iddo ef fel pe buasai holl dristwch bywyd wedi myned trosodd yn awr, ac o'r drysorfa ryfeddol o heddwch a llawenydd a roddasid iddo ef, hiraethai am dywallt allan rywbeth i liniaru eu gofidion. Nid oedd y cyfleusderau ond anaml, mae'n wir; ond ar y ffordd i'r maes ac wrth ddyfod yn ol, ac yn ystod oriau gwaith, caffai ambell gyfleusdra i estyn llaw o gymhorth i'r blinedig, y digalon, a'r diobaith. Y creaduriaid hyn, wedi eu treulio allan a'u hanifeileiddio, prin y gallent amgyffred hyn ar y dechreu; ond gan ei fod yn parhau o wythnos i wythnos, ac o fis i fis, dechreuodd ddeffroi rhyw danau oedd wedi bod yn hir yn ddistaw yn eu calonau didiemlad. Y dyn rhyfedd, distaw, amyneddgar yma, yr hwn oedd yn barod i ddwyn baich pawb, heb ofyn cymhorth ei hunan gan neb—yr hwn a giliai oddiar ffordd pawb, a ddeuai yn olaf ac a gymerai leiaf, eto y parotaf i gyfranu o'i ychydig —y dyn a roddai i fyny ei hen blanced garpiog ei hun i gysuro rhyw wreigen sâl yn crynu yn ei chaban, a'r hwn a lanwai fasgedi y rhai gweiniaid, er mawr bergyl o fyned ei hun yn fyr o fesur—ac er ei fod yn cael ei erlid yn ddidrugaredd gan y gormeswr, nid ymunai â neb i ddifenwi na melldithio. O'r diwedd, yn raddol ac yn anweledig, cafodd ryw ddylanwad rhyfeddol dros ei gyd-gaethion; ac wedi i'r tymhor prysur fyned heibio, ac y caniatteid iddynt fwynhau eu Sabbothau, deuai llawer o honynt yn nghyd i wrando arno yn son am Iesu. Buasai'n dda ganddynt gael ymgasglu yn rhywle i wrando, gweddïo, a chanu; ond ni oddefai Legree hyny, a mwy nac unwaith torodd i fyny unrhyw ymgais o'r fath, gyda llwon a rhegfeydd; felly nid oedd un ffordd i daenu'r newyddion bendigedig ond trwy ymddiddan. Eto pwy all ddirnad llawenydd syml y crwydriaid tlodion hyn, wrth glywed am Waredwr a chartref yn y nef? Dywed y cenadon nad oes un o genedlaethau'r ddaear wedi derbyn yr Efengyl gyda'r fath awydd ag Affrica. Mae'r egwyddor o ymddibyniad a ffydd ddiamheuol, yr hyn yw ei sylfaen hi, yn fwy amlwg yn yr hiliogaeth hon na neb arall; a chafwyd yn fynych yn eu plith, fod hedyn o wirionedd a ddygwyd ar ryw awel o wynt, ac wedi disgyn i ryw galon dywyll, yn tyfu i fyny yn ffrwyth mor doreithiog ag a ddygai warth ar driniaeth llawer uwch a mwy medrus.

Yr oedd ffydd blentynaidd y ddynes felen druan bron a chael ei llethu dan y fath ruthr dinystriol o greulondeb ac anghyfiawnder; ond codwyd llawer ar ei meddwl gan yr hymnau a'r adnodau a glywai gan y cenhadwr iselfryd wrth fyned i'r meusydd, a dychwelyd o honynt; ac yr oedd hyd yn nod meddwl trallodedig a hanner gwallgof Cassy wedi ei leddfu gan ddylanwad tawel ac addfwyn Twm.

Yr oedd Legree wedi gyru Cassy i anobaith gwallgofus, a phenderfynasai lawer gwaith yn ei meddwl am awr yr ad-dalai iddo am yr holl greulondeb a'r gorthrymder a welsai, neu a ddioddefasai hi yn ei pherson ei hun.

Un noswaith, ar ol i drymgwsg syrthio ar bawb yn yr un caban a Thwm, synodd yn fawr weled gwyneb Cassy yn edrych i mewn rhwng yr agenau oedd yn lle ffenestr. Hi a amneidiodd ar Twm i ddyfod allan.

Aeth yntau at y drws. Yr oedd rhwng un a dau o'r gloch y bore—noswaith ddistaw, lawn lleuad. Sylwodd Twm, yn ngoleu'r lloer, fod golwg wyllt wallgof yn ei llygad, annhebyg iawn i'r cystudd dwfn arferol.

"Tyr'd yma, F'ewyrth Twm," ebe hi, gan osod ei llaw fechan ar ei arddwrn, a'i dynu ati fel pe buasai ei braich yn ddarn o ddur; "tyr'd yma—mae gen i newydd i ti."

"P'beth, Miss Cassy?" ebe Twm, yn awyddus.

"Fyddai'n dda gen't ti gael dy ryddid, Twm?"

"Mi a'i caf, misse, yn amser da Duw," ebe Twm.

"Ië, ond ti elli ei gael heno," ebe Cassy, gyda phenderfyniad gorwyllt. "Tyr'd yma."

Petrusodd Twm.

"Tyr'd," ebe hi yn ddistaw, gan graffu arno â'i llygaid duon; "Tyr'd o'na! Mae'n cysgu'n drwm. Mi rois i ddigon yn ei frandi i'w gadw felly. Pe buasai gen i ragor, ni f'asai arnaf ddim dy eisio di. Ond tyr'd, mae'r drws cefn yn agored; ac y mae yno fwyall, mi rhois i hi yno fy hun—ac y mae drws ei ystafell yn agored hefyd; mi ddangosaf fi'r ffordd i ti. Mi gwnaethwn fy hun, ond y mae fy mreichiau mor weiniaid. Tyr'd o'na."

"Na ddof fi ddim am ddeng mil o fydoedd," ebe Twm, yn benderfynol, gan sefyll a'i thynu'n ol, tra'r oedd hithau'n ymwthio yn mlaen.

"Ond meddwl am yr holl greaduriaid truenus yma," ebe Cassy. "Ni a allwn eu gwneud yn rhydd, bob pen o honynt, a myn'd i ryw ynys yn rhywle a byw gyda'n gilydd. Mi glywais am y fath beth. Mae rhyw fath o fywyd yn well na hwn."

"Na!" ebe Twm, yn ddisigl. "Na! nid oes dim da byth yn dwad o ddrwg. Fyddai'n well gen i dori fy llaw ddeheu."

"Os felly mae, mi a'i gwnaf *fy hunan*," ebe Cassy, gan droi draw.

"O, Misse Cassy," ebe Twm, gan sefyll o'i blaen, "er mwyn yr Iesu anwyl, a roddodd ei fywyd drosoch, peidiwch a gwerthu eich enaid gwerthfawr i'r gwr drwg, fel yna! Ddaw dim ond aflwydd i chwi. Ni alwodd Duw ni i 'ddigofaint. Rhaid i ni ddioddef, a disgwyl ei amser Ef."

"Disgwyl!" ebe Cassy. "Ond ydwyf fi wedi disgwyl?—disgwyl nes y mae fy mhen i wedi troi a'm calon yn sâl? Paham y mae'n gwneud i mi ddioddef? I ba beth y gwnaeth i gantoedd o greaduriaid tlodion ddioddef? Onid yw yn dyhysbyddu gwaed dy galon? Mae rhywun yn galw! Y maent yn galw arnaf! Mae ei amser wedi dyfod, ac mi fynaf fi waed ei galon!"

"Peidiwch! peidiwch!" ebe Twm, gan ddal ei dwylaw bychain, y rhai oeddynt wedi cau yn dŷn gan wasgfeuon trymion. "Ni wiw i chwi neud felly, y gredures dlawd, golledig! Ni ollyngodd yr Arglwydd bendigedig waed neb ond ei waed ei hun, a hwnw a dywalltodd droson ni pan oeddym yn elynion! Yr Arglwydd a'n helpo ni i ddilyn ei gamrau, a charu ein gelynion!"

"Caru!" ebe Cassy, gyda thremiad ffyrnig; "caru gelynion fel *yna!* Ni fedr cig a gwaed ei wneud."

"Na fedr, misse," ebe Twm, gan edrych i fyny; "ond y mae *Efe* yn ei roddi i ni, a dyna'r *fuddugoliaeth.* Pan fedrwn ni garu a gweddïo dros bawb a thrwy bobpeth, mae'r frwydr wedi myn'd heibio, ac y mae'r fuddugoliaeth wedi dwad—gogoniant i Dduw!" A chyda llygaid gwlybion a llais crynedig, edrychodd y dyn du i fyny tua'r nef.

A hyn, O Affrica!—yr olaf a alwyd o'r cenhedloedd, a alwyd at y goron ddrain, y chwys gwaedlyd, y ffangell, y groes ddirboenus—hyn fydd yn fuddugoliaeth *i ti;* trwy hyn y teyrnasi gyda Christ pan ddaw ei deyrnas ar y ddaear.

Diferodd brwdfrydedd teimladau Twm, mwynder ei lais, a'i ddagrau, fel gwlith ar ysbryd gwyllt, ansefydlog y ddynes druan. Enhuddwyd y tân gwreichionog oedd yn ei llygaid â math o dynerwch; edrychodd tua'r llawr, a theimlai Twm y gewynau yn ei llaw yn llacau, a hi a ddywedodd—

"Oni ddywedais i ti fod ysprydion drwg yn fy nilyn! O, F'ewyrth Twm, ni fedraf fi ddim gweddïo. Fyddai'n dda gen i pe medrwn. Ni weddïais i byth wedi i fy mhlant gael eu gwerthu! Mae'n rhaid fod y peth wyt ti'n ddweyd yn iawn—mi wn ei fod; ond pan fyddaf fi'n ceisio gweddïo ni fedraf ond câsau a melldithio. Ni fedraf fi ddim gweddïo!"

"Y druan dlawd!" ebe Twm, yn dosturiol. "Y mae Satan yn eich ceisio, i'ch nithio fel gwenith. Ymbiliaf â'r Arglwydd drosoch chi. O, Misse Cassy, trowch at yr Arglwydd Iesu anwyl. Mae ef wedi dyfod i rwymo y rhai drylliedig o galon, ac i gysuro pob galarus!"

Safodd Cassy yn fud, a threiglai y dagrau mawr trymion o'i llygaid athrist.

"Misse Cassy," ebe Twm, â llais petrusol, wedi syllu arni mewn distawrwydd am fynydyn, "pe baech chi ond medru myn'd oddyma —pe bai'r peth yn bossib—cynghorwn i chwi ac Emmeline neud felly; hyny ydi, os medrwch fyn'd heb ollwng gwaed—nid fel arall."

"A wneit ti fentro gyda ni, F'ewyrth Twm?"

"Na wnawn," ebe Twm; "mi weles yr amser y buaswn; ond y mae'r Arglwydd wedi rhoi gwaith i mi ymysg yr eneidiau tlodion yma, ac mi arosaf gyda nhw, gan ddwyn fy nghroes gyda nhw hyd y diwedd. Nid felly y mae gyda chwi; y mae'n fagl i chwi—mae'n fwy nag y medrwch chwi ei gynnal; a gwell i chwi fyn'd, os medrwch."

"Ni wn i am un ffordd ond trwy'r bedd," ebe Cassy. "'Does na bwystfil nac aderyn na chânt gartref yn rhywfan; mae gan y nadroedd a'r aligators leoedd i orwedd i lawr yn llonydd; ond nid oes unlle i ni. Daw y cwn i'n hela, a chânt ni allan yn y corsydd mwyaf anial. Mae pawb a phobpeth yn ein herbyn, mae hyd yn nod yr anifeiliaid yn ein herbyn, ac i ba le yr awn ni?"

Safodd Twm yn ddistaw; o'r diwedd dywedodd:—

"Yr hwn a achubodd Daniel yn ffau'r llewod —a achubodd y bechgyn yn y ffwrn dân—yr Hwn a rodiodd ar y môr, ac a orchmynodd i'r gwyntoedd fod yn dawel—y mae Ef yn fyw eto; ac y mae genyf ffydd i gredu y gwared Efe chwi. Treiwch, ac mi weddiaf ina drostoch â fy holl egni."

Onid peth rhyfedd yn neddf y meddwl ydyw, fod dychymyg a hir esgeulaswyd, ac a fathrwyd dan draed fel careg ddiwerth, yn llewyrchu'n sydyn mewn goleuni newydd, ac yn troi allan yn berlyn gwerthfawr!

Yr oedd Cassy yn fynych wedi troi yn ei meddwl, am oriau bwygilydd, bob dyfais i ddianc, ac wedi eu troi heibio oll fel pethau anobeithiol ac amhossibl; ond yn yr amrantyn hwn taniodd dyfais trwy ei meddwl, mor hawdd ac mor debygol yn mhob golygiad, nes deffroi ei gobaith mewn mynyd.

"F'ewyrth Twm, mi treiaf hi!" ebe hi, yn ddisymwth.

"Amen!" ebe Twm. "Yr Arglwydd a'ch cynorthwyo!"

## PENNOD XXXIX.

### CYFRWYSDER.

"Ffordd y drygionus sydd anwastad; nis gwyr wrth ba beth y tramgwydda."

Yr oedd y garret yn nhŷ Legree, yn gyffelyb i'r fath le mewn tai eraill, yn ystafell fawr lychlyd, a gwe'r pryf copyn yn hongian ynddi, a phob congl yn llawn o hen goffrau a chelfi wedi eu troi heibio. Dygasid llawer iawn o ddodrefn hardd i'r tŷ gan y teulu cyfoethog fuasai'n trigianu yno yn amser ei orwychder; cymerasent lawer i ffordd gyda hwy; a gadawsent lawer ar ol, y rhai a ddodwyd mewn ystafelloedd gweigion lleithiog, ac hefyd yn y garret. Safai cwpl o gistiau pacio mawrion gyferbyn a'r mur yn yr ystafell hon; ac yr oedd yno un ffenestr fechan, trwy ba un y deuai llewyrch gwanaidd o oleu i mewn ar y cadeiriau mawrion cefnuchel, a'r byrddau llychlyd, a welsent unwaith amser gwell. Ar y cyfan, ymddangosai fel rhyw loches ysprydion; a lle i ysprydion oedd; ymysg y negroaid ofergoelus yr oedd llawer chwedl i wneud y garret yn lle arswydus. Rai blynyddau cyn hyn, carcharasid dynes ddu yno am rai wythnosau, o herwydd rhyw drosedd yn erbyn Legree. Nid ydym ni yn dweyd pa beth ddigwyddodd yno; arferai'r negroaid sisial yn ddistaw y naill wrth y llall; ond gwyddid yn burion i gorph y greadures dlawd gael ei gymeryd i lawr un diwrnod oddi yno, a'i gladdu; ac ar ol hyny dywedid y byddai yno swn tyngu a rhegu, a churo a baeddu; yn gymysg â gruddfanau ac ocheneidiau. Unwaith, pan ddigwyddodd i Legree glywed y chwedlau hyn, efe a syrthiodd i natur ddrwg ddychrynllyd, a thyngodd y cai'r cyntaf a soniai am y garret gyfle i wybod pa beth oedd ynddi, o herwydd y cadwynai ef i fyny yno am wythnos. Bu'r amnaid yma'n ddigon i roddi taw ar y siarad, er na siglodd grediniaeth yn y chwedl i'r graddau lleiaf.

O dipyn i beth daeth pawb yn y tŷ i osgoi grisiau'r garret, ac hyd yn nod y rhodfa oedd yn arwain at droed y grisiau, o herwydd yr oedd arnynt ofn siarad yn eu cylch; ac yr oedd y chwedl yn syrthio i anghof yn raddol. Ond tarawodd yn mhen Cassy wneud defnydd o'r ofn ysprydion oedd yn pwyso ar Legree, i'r dyben o'i rhyddhau ei hun a'i chyd-garchares.

Yr oedd ystafell wely Cassy yn union dan y garret. Un diwrnod, heb yngan gair wrth Legree, cymerodd arni, gyda math o ymffrost, symud ei gwely a holl ddodrefn yr ystafell, i un arall yn mhell oddi yno. Ac yr oedd y gweision a alwasid i wneud hyn, yn rhedeg ac yn rhowtio yn llawn trafferth a thwrw, pan ddaeth Legree i mewn, ar ol bod ar ei farch yn rhywle.

"Halo! Cass!" ebe Legree, "beth sy ar gerdded 'rwan?"

"Dim; ond fy mod i yn dewis cael ystafell arall;" ebe Cassy, yn lled ffrom.

"I beth mae hyny da?" ebe Legree.

"Am fy mod i'n dewis," ebe Cassy.

"Beth felldith ydi hyny, fyddai'n dda gen i glywed?"

"Am mod i'n dewis cael cysgu ambell waith."

"Cysgu! beth sy'n rhwystro i ti gysgu?"

"Mi allwn ddeud, mae'n debyg, os oes arnat ti eisiau clywed," ebe Cassy.

"Dywed ynte, y faeden," ebe Legree.

"O! dim byd. Mae'n debyg na wnai un anesmwythad i *ti*. Dim ond gruddfanau, a phobl yn scyffio, ac yn rholio ar lawr y garret y rhan fwyaf o'r nos—o haner nos dan y bore."

"Pobl yn y garret!" ebe Legree, yn anesmwyth, gan geisio chwerthin, "pwy ydynt, Cassy?"

Cododd Cassy ei llygaid tanbaid duon, ac edrychodd yn myw llygad Legree, gyda golwg a aeth trwy ei esgyrn, "siwr iawn, Simon, pwy allant fod? Fyddai'n dda genyf dy glywed *di* yn dweyd. Ni wyddost ti ddim, mae'n debyg!"

Gan dyngu'r mawr lw, ceisiodd Legree ei tharo â'i whip; ond hi a osgodd o'r neilldu, ac a aeth yr ochr arall i'r drws; yna edrychodd yn ol, a dywedodd, "Os cysgi di yn yr ystafell yna, ti gei wybod y cwbl. Hwyrach y byddai'n well i ti dreio;" a chlodd y drws ar ei ddannedd.

Gwnaeth yntau dwrw dychrynllyd, a thyngodd y torai'r drws yn ddarnau; ond ymddengys iddo gymeryd ail feddwl ac aeth ymaith dan

rwgnach i'w barlwr. Gwelodd Cassy fod ei saeth wedi taro i'r byw; ac o'r awr hono, gyda medrusrwydd celfydd, ni pheidiodd a chario yn mlaen ei dylanwad arno.

Hi a osododd wddf hen bottel mewn twll yn nho'r garret, yr hon, ar yr awel leiaf o wynt, a wnai chwibaniad oerllyd dolefus; ac ar wynt uchel byddai yno ysgrechiadau, ddigon a pheri i'r ofnus a'r ofergoelus feddwl mai rhyw nadau annaturiol o arswyd ac anobaith oeddynt.

Clywyd y lleisiau gan y gweinidogion ar droiau, a dygasant i'w cof, yn adnewyddol, yr hen son am ysprydion fuasai yno. Teyrnasai math o ofnau ofergoelus trwy'r holl dŷ; ac er na feiddiai neb ddweyd gair am dano wrth Legree, yr oedd o'i amgylch yn mhob man fel yr awyrgylch.

Y dyn annuwiol ydyw y mwyaf ofergoelus o bawb. Mae'r Cristion yn ymdawelu yn ei ffydd mewn Tad anfeidrol ddoeth, sy'n rheoli pob peth, a phresenoldeb yr hwn sy'n llenwi'r gwagle anhysbys â goleuni a threfn; ond i'r dyn a dyno Dduw oddiar ei orsedd, mae'r byd ysprydol, yn ngeiriau'r bardd Hebreaidd, yn wir yn "dir tywyllwch a chysgod angeu,"—lle heb drefn, ac y mae ei oleuni yn dywyllwch. Mae bywyd ac angeu iddo ef yn diroedd rheibus, yn llawn o ellyllon a chysgodau aflunaidd.

Deffrowyd yr egwyddor foesol ychydig yn Legree, yn ei ymdriniaeth â Thwm—ond deffroad ydoedd i'w wrthwynebu gan holl ddyfais ac egni drygioni; eto yr oedd pob gair, gweddi, a hymn yn peri cyffroad o ddychryn ofergoelus yn ei fyd tywyll tufewnol.

Yr oedd dylanwad Cassy arno yn un hynod ac anarferol. Efe oedd ei pherchenog, ei gorthrymydd, a'i phoenydiwr. Yr oedd, fel y gwyddai yntau, yn ei law yn hollol, heb un posibilrwydd o gymhorth neu ymwared; ac eto felly y mae—nis gall y dyn mwyaf ciaidd ddim byw yn nghwmpeini gwastadol dylanwad nerthol merch, heb iddo effeithio yn rymus arno. Pan brynodd hi, yr oedd, fel y dywedasai, yn ddynes wedi cael ei dwyn i fyny yn dda; a'r pryd hwnw mathrodd hi dan draed ei greulondeb yn ddibetrusder. Ond, fel yr oedd amser a thriniaith annynol yn caledu tynerwch merch o'i mewn, ac yn chwythu tân y nwydau afreolus, hi a ddaeth i ryw raddau yn feistres arno, a byddai yntau yn ei maeddu ac yn ei hofni bob yn ail.

Daeth y dylanwad yma yn fwy penderfynol a phoenus, trwy fod graddau o wallgofrwydd ambell waith yn gwneud ei hiaith a'i hymadroddion yn ddyrys ac yn arswydus.

Yn mhen noswaith neu ddwy ar ol hyn, yr oedd Legree yn eistedd yn ei hen barlwr, wrth dân coed isel, yr hwn a daflai oleuni ansefydlog ar hyd yr ystafell. Noswaith wyntog, ystormus ydoedd—un a godai luoedd o bob math o leisiau mewn hen dai adfeiliedig. Ffenestri yn ysgwyd, drysau yn ergydio, a'r gwynt yn chwyrlïo, yn suo, ac yn rhuthro i lawr y simne—ambell dro yn chwalu'r mwg a'r lludw o'i flaen, fel pe buasai leng o ysprydion wrth ei sodlau. Buasai Legree yn gwneud i fyny ei gyfrifon, ac yn darllen y papyr newydd er's oriau, a Cassy yn eistedd yn y gongl, a'i llygaid yn edrych yn bruddaidd i galon y tân. Dododd Legree ei bapyr newydd i lawr, a chymerodd oddiar y bwrdd hen lyfr y buasai Cassy yn ei ddarllen, a throdd drosodd ei ddalenau. Casgliad ydoedd o hanes llofruddiadau, ysprydion, a drychiolaethau annaturiol, wedi ei ddarlunio â bras gerfiadau anghelfydd, pur ddeniadol i'r rhai a ddechreuent ei ddarllen.

Aeth Legree yn mlaen i ddarllen, dalen ar ol dalen, gan ddweyd pw-pw, lol wirion, a geiriau felly; ond o'r diwedd taflodd y llyfr i lawr, gyda llw.

"Nid wyt ti ddim yn credu mewn ysprydion, wyt ti' Cassy?" eb efe, gan gymeryd yr efail a chrynhoi'r tân. "Yr oeddwn i'n meddwl fod gen't ti fwy o synwyr na gadael i swn dy ddychrynu *di*."

"Ni waeth beth ydwyf yn gredu," ebe Cassy, yn anfoddog.

"Mi fyddai'r gweilch yn treio nychrynu i hefo eu straion ar y môr," ebe Legree; "ond ni ddaethon nhw ddim dros y mhen i fel yna. Rhy hen o lawer i goelio rhyw lol felly."

Daliodd Cassy i dremio arno o'r cysgod yn y gongl. Yr ydoedd y goleuni hwnw yn ei llygad ag a fyddai bob amser yn gwneud Legree yn anesmwyth.

"Nid ydi'r swn yna ddim byd ond y llygod a'r gwynt," ebe Legree. "Fe wna'r llygod swn ofnadwy. Mi fyddwn yn eu clywed weithiau yn ngwaelod y llong; a'r gwynt—dyn fo'n gwarchod! chwi ellwch wneud y peth fyd fynoch o'r gwynt."

Gwyddai Cassy fod Legree yn anesmwyth dan dremiad ei llygad, am hyny nid atebodd air, ond daliodd i edrych arno yn sefydlog, a'r un olwg annaturiol fel o'r blaen.

"Tyr'd, ddynes, dywed rywbeth—onid wyt ti'n meddwl felly?" ebe Legree.

"A fedr llygod gerdded i lawr y grisiau a myned trwy'r entri, ac agor y drws, ar ol i ti ei gloi, a gosod cadair wrtho?" ebe Cassy; "a dyfod a cherdded, a cherdded, a cherdded i fyny at y gwely, a rhoi llaw arnat, fel yna?"

Cadwodd Cassy ei llygad ar Legree trwy'r holl amser, ac edrychodd yntau fel dyn a'r hunlle arno, hyd onis gorphenodd, trwy osod ei llaw, mor oered a'r iâ, ar ei law yntau; yna neidiodd yn ol, gyda llw.

"Ddynes! Beth wyt ti'n feddwl? Ni wnaeth neb!"

"O, naddo—naddo, wrth reswm—a ddeudes

i neb wneud ?" ebe Cassy, gyda gwên blentynaidd o watwar.

"Ond — ddarfu — welaist ti, mewn difrif? Tyr'd, Cass, beth ydi hyn?—allan ag ef!"

"Ti elli gysgu yna dy hun, os oes arnat eisiau gwybod," ebe Cassy.

"Ddaeth e o'r garret, Cassy?"

"*E*—pa beth?" ebe Casey.

"Wel, y peth yr oeddit ti yn deud am dano."

"Ni ddeudes i am ddim," ebe Cassy, yn eithaf ystyfnig.

Cerddodd Legree i fyny ac i lawr yr ystafell yn anesmwyth.

"Mi fyna i weled beth ydi hyn, a hyny heno nesa. Mi gym'ra i 'mhistols—"

"Ië'n wir, gwna," ebe Cassy; "dos a chysga yn yr ystafell yna. Leiciwn dy wel'd yn treio. A gollwng ergydion o dy bistols—gwna felly!"

Curodd Legree ei draed yn y llawr, a thyngodd fel dyn o'i go.

"Paid a thyngu," ebe Cassy, nis gŵyr neb pwy sy'n dy glywed. Hust! Beth oedd yna?"

"P'beth?" ebe Legree, mewn arswyd.

Dechreuodd hen gloc trwm y gongl daro haner nos, yn araf bach.

O herwydd rhyw reswm neu gilydd, ni symudodd Legree'r un cam, ac ni ddywedodd air; syrthiodd rhyw ofn annirnadwy arno, tra'r oedd Cassy yn dal i edrych, a'i llygaid milain gloywon, ac yn cyfrif pob ergyd ar y gloch.



"Deuddeg o'r gloch" ebe hi; "wel, *yn awr* ni gawn weled." Yna agorodd y drws, a safodd yn ngodre'r grisiau i wrando.

"Hust! Beth ydi 'nyna?" ebe hi, gan godi ei bys arno.

"Dim ond y gwynt," ebe Legree. "A glywi di ddim fel y mae hi'n chwythu mor ofnadwy?"

"Simon, tyr'd yma," ebe Cassy, yn ddistaw; a chan ymaflyd yn ei law, aeth ag ef at droed y grisiau; "a wyddost ti beth ydyw *hwnyna*? Gwrando!"

Daeth ysgrech orwyllt i lawr y grisiau, allan o'r garret. Dechreuodd gliniau Legree guro yn eu gilydd, a throdd ei wyneb yn wyn-las gan ofn.

"Fyddai ddim yn well i ti nol dy bistols?" ebe Cassy, gydag edrychiad dirmygus, a fferodd ei waed yn ei wythienau. "Mae'n bryd edrych i mewn i beth fel hyn, wyddost. Fyddai'n well i ti fyn'd i fyny yn awr, *mae 'nhw wrthi hi*."

"Nid af *fi* ddim," ebe Legree, gyda llw.

"Pa'm? Nid oes dim fath beth ag ysprydion yn bod, wyddost. Tyr'd o'na!" a rhedodd Cassy fyny'r grisiau, dan chwerthin, ac edrych dros ei hysgwydd ato. "Tyr'd yn dy flaen."

"Wel, os nad y gwr drwg *wyt* ti!" ebe Legree. "Cassy, tyr'd o'na, y faeden! Tyr'd yn d'ol, Cass! Ni chei di ddim myn'd!"

Ond chwarddodd Cassy, fel dynes wyllt, ac i fyny a hi. Clywodd yntau hi yn agor y drws oedd yn myned i'r garret, a daeth pwff o wynt i lawr a diffoddodd y ganwyll oedd yn ei law; gyda hyny clywai ysgrechiadau annaturiol; meddyliodd eu bod yn ei glust.

Diangodd Legree i'r parlwr fel peth gwallgof, a daeth Cassy yno ar ei ol yn mhen ychydig fynydau, yn llwyd ei gwedd, yn dawel, ac yn oer fel ysbryd dialeddol, a chyda'r un goleuni arswydus yn ei llygad.

"Gobeithio dy fod yn cael dy foddloni rwan," eba hi.

"Yn boeth y bo ti, Cass!" ebe Legree.

"Am ba beth? ebe Cassy. "Ni wneis i ddim ond rhedeg i gau'r drysau. *Beth wyt ti'n feddwl ydyw'r mater yn y garret yna*, Simon?" ebe hi.

"Dim o dy fusnes di!" ebe Legree.

"O, nag ydi? Wel," ebe Cassy, "mae'n dda gen i nad ydwyf fi ddim yn cysgu o dani, sut bynag."

Yr oedd Cassy wedi agor ffenestr y garret, mewn disgwyliad y codai'r gwynt y noswaith hono; a phan agorodd hi'r drws, daeth y gwynt yn naturiol a ddiffoddodd ganwyll Legree.

Dyma esiampl o'r castiau oedd Cassy yn chwareu â Legree, hyd oni wnaeth ef mor barod i osod ei ben yn safn llew ag yn yr hen garret. Ac yn y cyfamser, yn nhrymder y nos, pan oedd pawb arall yn cysgu, symudodd Cassy ddigonedd o ymborth i'w chadw hi ac Emmeline dros ryw dymhor; ac o dipyn i beth cludodd yno y naill ddernyn ar ol y llall o'i dillad hi ac Emmeline. Ac ar ol gwneud pob peth yn barod, nid oedd eisiau dim ond amser cyfaddas i ddodi eu dyfais mewn gweithrediad.

Trwy ddweyd yn deg wrth Legree, a chymeryd mantais o'i dymher dda, llwyddodd Cassy i gael ganddo ei chymeryd i dref gyfagos, oedd ar lan y Red River. Gyda chof wedi ei wneud yn awchus tu hwnt i'r cyffredin, hi a nododd bob troad yn y ffordd, a mesurodd yn ei meddwl yr amser y gymerai i'w cherdded.

Pan oedd pob peth yn barod, efallai y dymunai'n darllenwyr gael golwg i'r tu fewn i'r llen, a gweled sut y gwnawd y mwdwl i fyny.

Yr oedd yn awr yn dechreu nosi. Buasai Legree oddi cartref y prydnawn hwnw. Ac yr oedd Cassy wedi bod yn hynod o fwyn a hywaith ei thymher, er's rhai dyddiau; yn ol pob ymddangosiad yr oedd Legree a hithau yn hynod o ffrindiol. Yn awr, gallwn ei gweled hi ac Emmeline, yn ystafell yr olaf, yn brysur yn gwneud i fyny ddau fwndel bychan.

"Dyna, fydd rhei'na'n ddigon o faint," ebe Cassy. "Nawr gwisgwch eich bonnet, a gadewch i ni gychwyn; mae bron yn bryd i ni fyn'd."

"Ond mi fedran ein gweled eto," eb Emmeline.

"Mae arnaf eisiau iddynt ein gweled," ebe Cassy, yn ddidaro. "Oni wyddoch y rhaid iddynt gael eu helfa am danom, doed a ddelo. Dyma fel y gwnawn ni. Ni awn allan yn ddistaw trwy'r drws cefn, ac ni redwn i lawr heibio cabanau y gweithwyr. Bydd Sambo a Cwimbo yn sicr o'n gweled. Codant wb-wb, ac ar ein holau, ac i'r gors a ni; yna ni fedrant ddyfod ddim pellach, heb alw cymhorth, a gollwng y cwn yn rhyddion, a phethau felly; a thra byddant hwy yn ymbalfalu o gwmpas, ac yn rhedeg ar draws eu gilydd, fel y gwnant bob amser, ni awn ninau ar hyd y ceunant, sy'n rhedeg wrth gefn y tŷ, hyd oni ddown ar gyfer y drws. Teifl hyn y cwn i ddyryswch, oherwydd hwy gollant y sent yn y dwfr. Bydd pawb allan o'r tŷ yn chwilio am danom, yna ni neidiwn i mewn trwy'r drws cefn, ac i fyny i'r garret, lle mae gwely cysurus i ni yn un o'r hen gistiau mawr. Rhaid i ni aros yn y garret am gryn amser, oherwydd fe gwyd Legree'r hen a'r newydd i ddyfod o hyd i ni. Efe a enfyn am rai o'r hen overseers ar y planfeydd eraill, a bydd yma helfa fawr; chwiliant bob troedfedd o'r gors yna. Bydd ef yn ymffrostio bob amser, na ddiangodd neb erioed oddi arno. Felly aed i hela wrth ei hamdden."

"Wel, Cassy, mor dda yr ydych wedi ei phlanio hi," eb Emmeline. "Pwy ond chwi fuasai erioed yn meddwl am y fath beth?"

Nid oedd na phleser nac ymffrost yn llygad Cassy—dim ond penderfyniad gwan-obaith.

"Dowch," ebe hi, gan estyn ei llaw i Emmeline.

Aeth y ddwy allan o'r tŷ yn ddistaw, ac i lawr yngwyll y nos rhyngddynt a chabanau y gweithwyr. Safai lloer newydd fel modrwy arian, ymhell yn y gorllewin, gan attal am ychydig ddyfodiad y nos. Yn ol disgwyliad Cassy, pan oeddynt wrth ymyl y gors oedd o gwmpas y blanhigfa, clywsant lais yn galw arnynt aros. Nid Sambo ydoedd, fodd bynag, ond Legree, yr hwn oedd yn eu hymlid dan regu a melldithio. Pan glywodd y wanaf, sef Emmeline, ei lais, llesghaodd ei chalon, a gafaelodd yn mraich Cassy, gan waeddi, "O—Cassy, dyma fi yn ffeintio."

"Mi lladdaf di os gwnei!" ebe Cassy, a thynodd allan ddagr bychan gloyw, yr hwn a ddisgleiriodd o flaen llygaid y lodes.

Atebodd hyn y dyben. Ni syrthiodd Emmeline mewn llewyg, ond llwyddodd i redeg gyda Cassy i ddyryslwyni'r gors, mor dewfrig a thywyll, fel nad oedd wiw i Legree geisio eu dilyn heb help o rywle.

"Wel," eb efe, gyda chrechwen ymffrostgar, "dyna chwi yn y trap, sut bynag—y sothach! Maent yn ddigon diogel! Hwy gânt chwysu am hyn!"

"Holo yna! Sambo! Cwimbo! Dowch bob copa!" ebe Legree, gan fyned ar frys at y cabanau, pan oedd y meibion a'r merched yn dychwelyd o'r maes. "Mae dwy wedi dianc i'r gors. Mi rof bum dolar i'r niggar a'u deil nhw. Gollyngwch y cwn yn rhyddion. Trowch allan Tiger a Fury, a'r lleill!

Parodd y newydd hwn gynhwrf mewn mynydyn. Rhedodd llawer o'r dynion i gynyg eu gwasanaeth, naill ai oherwydd y wobr, neu ar feddwl ynill ffafr, yr hyn ydyw un o effeithiau gwaethaf caeth-wasanaeth. Rhedodd rhai ffordd yma, a rhai ffordd acw. Rhai i geisio ffaglau o goed ffawydd. Rhai i ryddhau'r cwn, crygleisiau pa rai oeddynt ychwanegiad rhyfeddol at fywiogrwydd yr olygfa.

"Gawn ni eu saethu nhw, mas'r, os na allwn eu dal nhw?" ebe Sambo, i'r hwn y rhoddwyd gwn gan Legree.

"Gelli saethu Cass, os byddi'n dewis; mae'n bryd iddi hi fyn'd i'r gwr drwg, yr hwn a'i pia; ond paid a saethu'r hogen," ebe Legree.

"Nawr, fechgyn, ffwrdd a hi, yn smart. Pum dolar i'r un a'u deil nhw, a gwydraid o frandi i bob un o honoch, doed fel y delo."

Aeth yr holl dorf, wrth oleu ffaglau, gan waeddi a bloeddio, âg udiadau dychrynllyd cwn a dynion, rhyngddynt a'r gors, a holl weinidogion y lle ar eu holau. O ganlyniad, yr oedd y ty'n wag pan daeth Cassy ac Emmeline i mewn trwy'r drws cefn. Daeth crochlefau eu hymlidwyr i'w clustiau, ac wrth edrych trwy ffenestr y parlwr gallai Cassy ac Emmeline weled yr helwyr, gyda ffaglau yn rhedeg yma a thraw ar hyd ymylion y gors.

"Edrychwch;" eb Emmeline wrth Cassy, "mae'r helfa wedi dechreu! Welwch chwi'r goleuni yn dawnsio o gwmpas? Hust, dyna'r cwn. Glywch chwi nhw? Pe buasem ni *yna*, ni fuasai'n siawns ni ddim gwerth ceiniog goch. O, er mwyn daioni, gadewch i ni ymguddio. Brysiwch!"

"Nid oes dim brys yn y byd!" ebe Cassy'n ddigon tawel. "Maent ar ol yr helfa bob un o honynt—dyna'r sport heno! Ni awn i fyny'r grisiau yn y man. Ond cyn myn'd," ebe hi, gan gymeryd agoriad allan o boced côt a daflasai Legree yn ei frys, "cyn myn'd, mi gymeraf rywbeth i dalu ein ffordd."

Hi agorodd y ddesc, a thynodd allan ddyrnaid o filiau, y rhai a gyfrifodd ar frys.

"O, peidiwch a gwneud hyna!" eb Emmeline.

"Peidiwch!" ebe Cassy; "p'am hyny? P'run oreu genych newynu yn y gors, ai cael modd i dalu ein ffordd i'r talaethau rhyddion? 'Gawn bob peth am arian, lodes." Yna hi a ddododd y biliau yn ei mynwes.

"Mae'n lladrad," eb Emmeline, mewn sisial trallodedig.

"Lladrad!" ebe Cassy, gyda chwerthiniad diystyrllyd. "Ni wiw i'r rhai sy'n lladrata enaid a chorph siarad â ni. Lladrad ydyw pob un o'r biliau yma—lladrad oddiar greaduriaid tlodion, newynog, blinedig, a dolurus, ag y rhaid iddynt fyn'd i uffern yn y diwedd er ei fantais ef. Gadewch iddo *ef* siarad am ladrad! Ond dowch, cystal i ni fyn'd i fyny'r garret. Mae genyf ganwyllau yno, a llyfrau i helpu treulio'r amser. Gallwch fod yn ddiofal na ddaw neb *yno* i chwilio am danom. Os deuant, mi chwareuaf fi ysbryd iddynt.

Pan gyrhaeddodd Emmeline y garret, hi gafodd focs mawr, ymha un y dygasid dodrefn i'r lle rywbryd, wedi ei droi ar ei ochr, a'i wyneb tua'r mur, neu yn hytrach at y bon-dô. Goleuodd Cassy lamp fechan, ac aethant ar eu crafangau i mewn wrth y bon-dô. Ymsefydlasant yno; lle'r oedd gwely a dau obenydd; ac yn ymyl yr oedd trwnc yn llawn o ganhwyllau, ymborth, a phob dillad angenrheidiol i'w taith, y rhai a ddarparesid gan Cassy mewn bwndeli o fewn ychydig iawn o le.

"Dyna," ebe Cassy, wrth roddi'r lamp ar fach bychan a gurasai i'r coed o bwrpas; "hwn ydyw ein cartref ni am dro yn awr. Sut yr ydych yn ei hoffi?"

"A ydych chwi yn sicr na ddeuant yma i chwilio?"

"Mi leiciwn weled Simon Legree yn gwneud hyny," ebe Cassy. "Na yn wir, bydd yn rhy chwanog i gadw draw. Ac am y gweinidogion, byddai'n well ganddynt sefyll i gael eu saethu, bob un o honynt, na dangos eu hwynebau yma."

Ar ol ymdawelu ychydig, ymollyngodd Emmeline ar ei gobenydd.

"Beth oeddych yn feddwl, Cassy, wrth ddweyd y lladdech fi?" eb Emmeline, yn ddiniwed.

"Rhoddi pen ar eich ffeintio," ebe Cassy; "ac mi wnaethum hyny. A gwrandewch chwi Emmeline, rhaid i chwi wneud eich meddwl i fyny i *beidio* ffeintio, doed y peth a ddelo; nid oes dim achos am y fath beth. Pe buaswn i heb eich rhwystro, gallasech fod yn nwylaw'r adyn yna'r mynyd yma."

Crynodd Emmeline gan arswyd.

Bu'r ddwy yn ddistaw am ryw enyd. Darllenodd Cassy ryw lyfr yn y Ffrancaeg, a syrthiodd Emmeline i bendwmpian, ar ol y llafur a'r lludded y buasai ynddynt. Deffrowyd hi gan grochleisiau a bloeddio, yn nghyd a thrydar carnau ceffylau, a chyfarthiadau cwn. Neidiodd i fyny gyda gwaedd ofnus, ond yn lled ddistaw.

"Dim ond yr helwyr yn dychwelyd," ebe Cassy yn ddigon didaro; "peidiwch a dychrynu. Edrychwch trwy'r ceinc-dwll yma. Welwch chwi mo honynt oll i lawr yn y fan yna? Mae Simon wedi gorfod ei rhoi fyny am heno. Welwch chwi'r budreddi sydd ar ei geffyl, wedi bod trwy byllau'r gors; ac mae'r cwn, hefyd, yn edrych yn siomedig. Aha! yr hen fachgen, rhaid i ti ei threio hi drachefn a thrachefn—nid yw'r ysglyfaeth ddim yna."

"O peidiwch a siarad gair," eb Emmeline; "beth pe baent yn eich clywed?"

"Os digwydd iddynt glywed dim, hwy gymerant ddigon o ofal i gadw draw," ebe Cassy. "Dim perygl; ni a allwn wneud y swm a fynom, ni wna ddim ond ychwanegu eu dychryn."

O'r diwedd gorphwysodd distawrwydd haner nos dros yr holl dŷ. Ac aeth Legree i'w wely gan regu ei anlwc, a bygwth dialedd anaele bore dranoeth.

## PENNOD XL.

### Y MERTHYR.

"Nid yw'r cyfiawn wedi ei ado
Er mor dlawd a gwael ei wedd,
Ac â chalon drom yn gwaedu
Y syrth dan wg y byd i'r bedd!
Mae Duw yn rhifo'i oriau chwerwon,
A'i ddagrau yn ei gostrel rhydd;
Telir adref i'r cyfiawnion
Mewn tragwyddol ddedwydd ddydd."

Mae pen draw i'r ffordd feithaf—a daw boregwaith ar ol y noson dywyllaf. Mae gyriad tragwyddol a di-droi-yn-ol o fynydau yn wastad yn cludo'r drwg i nos anorphen, a nos y cyfiawn i ddydd na dderfydd byth. Yr ydym wedi cadw cwmni ein cyfaill iselfryd hyd yma yn nyffryn caeth-wasanaeth; ar y cyntaf trwy feusydd blodeuog esmwythder a thiriondeb, ac yna trwy ysgariadau oddiwrth bobpeth sydd yn werthfawr gan ddyn. Ar ol hyny gwelsom ef mewn ynys heulog, lle'r oedd dwylaw tyner yn cuddio ei gadwyni â rhosynau; ac yn olaf daethom gydag ef i dir tywyllwch, lle trodd y pelydr olaf o obaith yn nos gaddugol; ond yma gwelsom ei ffurfafen yn oleu gan ser disgleirwych, er dued a thywylled oedd y cwmwl daearol a'i hamgylchai.

Mae'r seren fore yn awr i'w chanfod dros y bryniau, ac y mae awelon, nid o'r ddaear hon, yn rhoddi arwyddion fod dorau'r dydd ar ymagor.

Chwerwodd tymher chwerw Legree i'r graddau eithaf, oherwydd dianc o Cassy ac Emmeline; a dialodd ei lid ar ben diamddiffyn Twm, fel ag yr oedd yn ddigon naturiol disgwyl. Pan hyspysodd Legree yn mysg ei weision fod y merched wedi ffoi, newidiodd gwedd Twm, a chododd ei ddwylaw, yr hyn nis diangodd rhag llygad craff y gorthrymydd. Gwelodd nad aethai Twm gyda'r ymlidwyr. Meddyliodd unwaith ei orfodi i fyned; ond yr oedd wedi cael profion o'r blaen na fedrai blygu Twm at un gwaith annynol, ac yn ei frys barnai mai gwell peidio ymryson ag ef.

O ganlyniad, arosodd Twm ar ol, a chyda'r ychydig a ddysgasent weddio, dyrchafasant eu llef am lwyddiant i'r ffoaduriaid.

Pan ddychwelodd Legree, yn aflwyddiannus ac yn siomedig, dechreuodd ei hen gasineb tuag at ei gaethwas groni fel llifeiriant dinystriol.

Onid oedd y dyn yma wedi ei drechu—yn wastad, yn rymus, ac yn ddi-ildio—er y dydd y prynasai ef? Onid oedd ynddo yspryd, er mor ddistaw, a ddygai ar Legree losgfa fel tân y pwll diwaelod?

"Mae'n *gâs* genyf ef!" ebe Legree, y noswaith hono, fel yr oedd yn eistedd yn ei wely. "Mae'n *gâs* genyf ef! Ac onid FI PIA fo? Oni fedraf wneud fel y mynwyf ag ef? Pwy sydd i rwystro, leiciwn i wybod?" A chauodd ei ddyrnau, ac ysgydwodd hwynt, fel pe buasai ganddo rywbeth yn ei ddwylaw i'w dynu'n ddrylliau.

Eto yr oedd Twm yn was ffyddlawn a gwerthfawr; ac er fod Legree yn ei gasâu yn fwy o herwydd hyny, yr oedd yr ystyriaeth yma yn attaliad arno.

Bore dranoeth penderfynodd na ddywedai ddim, am ryw enyd; ond y cynullai nifer yn nghyd oddiar y planfeydd cymydogaethol, gyda chŵn a gynau, ac yr amgylchent y corsydd yn rheolaidd, i gael helfa iawn. Os llwyddai, pobpeth yn dda; os na lwyddai, galwai Twm o'i flaen, ac—yma gwasgodd ei ddannedd, a'i waed yn berwi—*yna* efe a dorai'r gwalch i lawr, onitê—aeth rhyw sisial gwaedlyd trwy ei feddwl, â pha un y cydsyniodd ei enaid.

Dywedir fod *hunan-les* y meistr yn ddigon o amddiffyniad i'r caethwas. Ond, yn nghynddeiriogrwydd gwallgofus ac ystyfnig dyn, efe a werth ei enaid i'r gwr drwg, er mwyn cael ei ffordd; ac ai tybed y bydd yn fwy gofalus am gorph ei gymydog nac am ei enaid ei hun?

"Wel," ebe Cassy dranoeth, wrth edrych allan o'r garret, "mae'r helfa yn myn'd i ddechreu eto heddyw!"

Yr oedd yno dri neu bedwar o ddynion ar eu ceffylau, yn troi o gwmpas o flaen drws y tŷ, a nifer o gŵn dieithr yn cyfarth ar eu gilydd ac yn udo, a thrwy lawer o boen y gallai'r negroaid eu dal.

Arolygwyr planfeydd cyfagos oedd dau o'r dynion, a chymdeithion-tafarn Legree oedd y lleill, wedi dyfod i gael rhan o'r sport. Anhawdd fuasai dychymygu am dwr o ddynion hacrach yr olwg arnynt. Rhanodd Legree frandi yn hael rhyngddynt, ac hefyd yn mhlith y negroaid a ddaethent o'r planfeydd cymydogaethol, i roddi help llaw; o herwydd ceisid gwneud achlysuron fel hyn yn ddiwrnod gwyl yn mysg y negroaid, gymaint ag a ellid.

Gosododd Cassy ei chlust wrth y ceinc-dwll dan y bon-dô; a chan fod awel y bore yn chwythu yn union at y tŷ, hi allai glywed llawer o'r ymddiddan. Ymwisgai ei gwynebpryd difrifol â golygiad dirmygus pan glywodd hwynt yn rhanu'r tir rhyngddynt, yn taeru yn nghylch teilyngdod y gwahanol gŵn, yn rhoi cyfarwyddyd am saethu, a'r dull o drin y creaduriaid pan ddelid hwynt.

Tynodd Cassy yn ol; a chan blethu ei dwylaw, a dyrchafu ei llygaid, hi a ddywedodd, "O Arglwydd Ddhw Hollalluog! yr ydym oll yn bechaduriaid, ond beth a wnaethom *ni* yn fwy na'r rhan arall o'r byd, fel ag y mae'n rhaid ein trin fel hyn!"

Yr oedd difrifoldeb arswydus yn ei gwedd a'i llais, wrth ddweyd y geiriau hyn.

"Oni buasai *di*, blentyn," ebe hi, gan edrych

ar Emmeline, "mi *awn* allan atynt; ac mi ddiolchwn i'r dyn ag a *wnai* fy saethu yn farw; o herwydd pa les fydd rhyddid i mi? A fedr rhyddid adferu fy mhlant i mi, neu fy ngwneud yr hyn oeddwn o'r blaen?"

Dychrynid Emmeline, yn ei diniweidrwydd plentynaidd, pan welai Cassy mewn tymher bruddaidd. Edrychodd fel mewn dyryswch, ond ni ddywedodd air. Gafaelodd yn ei llaw yn serchlon.

"Paid!" ebe Cassy, gan dynu ei llaw ati, "onite ti a wnei i mi dy garu; ac nid wyf yn bwriadu caru dim byd byth yn rhagor."

"Cassy anwyl!" ebe Emmeline, "peidiwch a theimlo fel yna! Os rhydd yr Arglwydd ein rhyddid i ni, pwy wyr na rydd eich merch yn ol i chwi; sut bynag, mi fyddaf fi fel merch i chwi. Mi wn na chaf fi byth weled fy hen fam druan! Mi caraf fi chwi, pa un bynag a wnewch chwi fy ngharu i ai peidio!"

Yr yspryd tyner, plentynaidd, a orchfygodd. Eisteddodd Cassy yn ei hymyl, a'i braich am ei gwddf, a thynodd ei llaw ar hyd ei gwallt rhudd, esmwyth; a rhyfeddodd Emmeline mor hardd oedd ei llygaid mawrion, yn nofio mewn dagrau.

"O Em," ebe Cassy, "mi fu'm yn newynu ac yn sychedu am fy mhlant, a phallodd fy llygaid gan hiraeth am danynt! Yma! yma!" ebe hi, gan daro ei mynwes, "mae oll yn wagle, yn anial gwyllt! Pe rhoddai Duw fy mhlant yn ol i mi, yna mi allwn weddio."

"Rhaid i chwi ymddiried ynddo, Cassy," eb Emmeline," efe yw ein Tad!"

"Mae ei ddigofaint arnom," ebe Cassy; "trodd draw yn ei lid."

"Naddo, Cassy! Efe a fydd yn dda wrthym. Gadewch i ni ddisgwyl wrtho," eb Emmeline. "Mae genyf fi obaith bob amser."

* * * * * *

Bu'r helfa yn hir, yn wresog, ac yn drwyadl, ond yn aflwyddiannus; ac edrychodd Cassy i lawr yn wawdus ar Legree pan ddisgynodd oddi ar ei farch, yn flinedig ac yn ddigalon.

"Rwan, Cwimbo," ebe Legree, pan ymollyngodd yn ei gadair yn y parlwr, "dos di a phâr i'r Twm yna ei throedio hi i fyny yma, yn ddioed! Mae'r hen felldith yn ngwaelod y gwaith yma i gyd; ac mi mynaf allan o'i hen groen du o, onitê mi fynaf wybod paham!"

Er fod Sambo a Cwimbo yn casâu eu gilydd â châs cyflawn, eto yr oeddynt o'r un feddwl, ac yn casâu Twm yr un mor gyflawn. Dywedasai Legree ar y cyntaf, mai yn arolygwr cyffredinol yn ei absenoldeb y prynasai ef, a dechreuodd hyn atgasrwydd ynddynt, yr hwn a gynyddodd yn eu natur isel a slafaidd, pan welsant ef yn myned allan o ffafr eu meistr. Ac aeth Cwimbo ar ei neges yn llawen.

Clywodd Twm y genadwri gyda darogan yn ei galon; o herwydd gwyddai holl ddarpariaeth y ffoaduriaid, yn nghyda'u hymguddfa bresenol. Gwyddai hefyd am nodweddiad cythreulig y dyn yr oedd ganddo i wneud ag ef, yn nghyd a'i allu a'i greulondeb. Ond teimlodd ei hun yn nerthol trwy Dduw, i wynebu angeu yn hytrach na bradychu'r rhai di-amddiffyn.

Gosododd ei fasged i lawr wrth ochr y rhês, a chan edrych i fyny, efe a ddywedodd, "I'th ddwylaw di y gorchymynaf fy yspryd! Ti a'm prynaist, O Arglwydd Dduw'r gwirionedd!" ac yna aeth yn dawel yn ngafael ciaidd a dideimlad Cwimbo.

"Cei, cei," meddai'r cawr, wrth ei lusgo yn mlaen, "mi cei di hi 'rwan; 'rydw i'n siwr fod gwrychyn mas'r i fyny. Dim snecio allan, tro yma. Mi gei d'olchi, a dim camgymeriad. Gawn wel'd pwy olwg fydd arnat 'rwan, ar ol helpu niggars mas'r i ddengyd. Gei di wel'd beth gei di!"

Ond ni chyrhaeddodd y geiriau celyd mo'i glust—yr oedd llais uwch yn dweyd wrtho, "Nac ofna'r rhai a laddant y corph, ac wedi hyny nid oes ganddynt ddim i'w wneuthur." Ymnerthodd giau ac esgyrn y dyn tlawd hwnw wrth y geiriau hyn, fel pe buasai bŷs Duw yn ei gyffwrdd; a theimlodd rym mil o eneidiau mewn un. Wrth fyned rhagddo, rhuthrai y coed a'r perthi, a bwthynod ei gaethiwed, yn yghyd a holl gylch ei ddarostyngiad, heibio iddo, fel y gwrychoedd heibio i'r march cyflym. Cyffrodd ei enaid o'i fewn—yr oedd yn ngolwg ei gartref—ac awr ei ymddatodiad fel yn ymyl.

"Wel, Twm," ebe Legree, gan gerdded i fyny ato, a gafaelyd yn sarug yn ngholar ei gôt, a siarad trwy ei ddannedd mewn tamchwa o natur ddrwg, "a wyddost ti mod i wedi penderfynu dy LADD di?"

"Digon tebyg, mas'r," ebe Twm, yn dawel.

"*Ydw*," ebe Legree, yn araf ac yn fileinig, "*wedi—dest—'neud—hyny*, Twm, os na ddeudi di beth wyddost ti am y ddwy lodes yma!"

Safodd Twm yn fud.

"Glywi di?" ebe Legree, gan daro ei droed yn y llawr, a rhuo fel llew cynddeiriog, "dywed rywbeth!"

"*Nid oes gen i ddim i'w ddweyd, mas'r*," ebe Twm, yn araf, yn benderfynol, ac yn ddigamgymeriad.

"A feiddi di ddweyd wrtha i, yr hen Gristion du, *na wyddost* ti ddim?" ebe Legree.

Bu Twm yn ddistaw.

"Dywed!" ebe Legree, fel taran, a tharawodd ef nerth ei fraich, "A *wyddost* ti ddim?"

"Mi wn, mas'r; ond ni fedraf ddweyd dim. *Mi fedraf farw*."

Tynodd Legree anadliad hir, ac yna gan attal ei dymher, gafaelodd yn mraich Twm, a dododd ei wyneb yn ymyl ei wyneb yntau, ac mewn llais yn crynu gan dymher ddrwg, dywedodd, "Gwrando di, Twm—yr wyt ti'n meddwl, am i mi dy ollwng di'n rhydd o'r blaen, nad ydw i

ddim yn meddwl y peth ydw i'n ddeud; ond y tro yma, *mae fy meddwl i wedi neud i fyny*, ac mi fwrias y draul. Ti safast allan yn f'erbyn i bob amser, 'rwan *mi concra di, neu mi dy ladda di!* un o'r ddau. Mi fyna gyfri pob dyferyn o waed yn dy gorph di, ac mi tyna nhw o honot ti bob yn un, nes y rhoi di fyny!"

Edrychodd Twm yn ngwyneb ei feistr, a dywedodd, "Mas'r, pe baech chwi yn glaf, neu mewn trwbl, neu yn marw, mi *roddwn* i waed fy nghalon i'ch safio chwi; a phe bai pob dyferyn o waed yn fy hen gorph tlawd i yn ddigon i achub eich enaid gwerthfawr, mi rhown nhw o ewyllys fy nghalon, fel y rhoddodd yr Arglwydd ei waed trosof fina. O mas'r, peidiwch a dwyn y pechod mawr yma yn faich ar eich enaid! Fe wna fwy o ddrwg i chwi nag i mi! Gwnewch eich gwaethaf i mi fe fydd fy mhoenau ar ben yn fuan; ond os na edifarhewch, ni bydd diwedd *byth* ar eich poenau chwi!"

Fel adsain peroriaeth nefolaidd rhwng rhuthrwyntoedd y dymhestl, parodd y geiriau teimladwy hyn i'r nwydwyllt arafu. Safodd Legree fel adyn collfarnedig, ac edrychodd ar Twm; bu yno'r fath ddistawrwydd fel y clywid pob tic gan yr hen gloc, yn mesur â chyffyrddiad distaw, y momentau olaf o ddydd gras y dyn calon-galed.

Nid oedd ond dros fynydyn. Safodd yn amheus am unwaith, aeth un ergyd edifeiriol trwy ei galon, ac yna dychwelodd yr yspryd drwg, yn saith mwy tanbaid nag o'r blaen; trodd Legree, gan falu poer o gynddaredd, a tharawodd ei gaethwas nes oedd yn syrthio ar y llawr.

* * * * * * *

Mae golygfeydd o greulondeb a gwaed yn arteithiol i'r galon ac i'r glust. Mae gan ddyn rym i wneud yr hyn nid oes gan ddyn rym i'w wrando! Nis gellir adrodd i ni, hyd yn nod yn ein hystafell ddirgel, yr hyn y bu raid i'n cydddyn a'n cyd-Gristion ei ddioddef, o herwydd y mae'n clafychu'r enaid. Ac eto, O fy ngwlad! gwneir hyn dan nawdd dy gyfreithiau! O Arglwydd Iesu! mae dy Eglwys hefyd yn edrych arnynt mewn distawrwydd!

Ond, oesoedd maith yn ol, bu Un, yr hwn, trwy ei ddioddefiadau, a newidiodd offeryn o warth, gwaradwydd a phoen, i fod yn arwydd o *anrhydedd*, *gogoniant*, ac anfarwoldeb; a lle bynag y bo ei Yspryd Ef, nis gall ffrewyllau, gwaed, nac amharch wneud ymdrech olaf y Cristion yn ddim ond gogoneddus.

Ai wrtho ei hun yr oedd ef yr hirnos hono, yn dal i fyny yn wrol, mewn yspryd cariad, yn yr hen benty, yn erbyn cernodiau, a chwysau creulon ar ei gefn?



Nage. Safodd Un yn ei ymyl, a welid ganddo ef yn unig, "yn gyffelyb i Fab Duw."

Safai y temtiwr yn ei ymyl hefyd, mewn dallineb cynddeiriog, yn ei anog i ddianc rhag y boen trwy fradychu'r diniwed. Ond yr oedd y galon ddewr a chywir yn ddisigl ar Graig yr Oesoedd. Fel ei Feistr mawr, gwyddai, os gwaredai eraill, nas gallai ei waredu ei hun; ac nis gallai'r arteithiau llymaf dynu gair oddi wrtho, heblaw gweddi ac ymddiriad yn Nuw.

"Mae bron darfod," ebe Sambo, yn teimlo, yn ngwaetha'n ei ên, wrth weled amynedd y creadur tlawd.

"Ffwrdd a hi nes rhoddo i fyny! Rho hi iddo, rho hi iddo!" crochlefai Legree. "Mi fynaf bob dyferyn o waed sydd ynddo, os na chyffesa!"

Agorodd Twm ei lygaid, ac edrychodd ar ei feistr. "Y creadur gwael, truenus!" eb efe, "ni fedrwch wneud dim yn rhagor. Yr wyf yn maddeu i chwi o waelod fy nghalon!" a syrthiodd mewn llewygfa farwol.

"Yr ydw i'n meddwl yn fy nghalon ei fod ar ben yn lân," ebe Legree, yr hwn a ddaeth yn mlaen i edrych arno. "Ydi y mae! Wel, mae ei geg yn ngheuad o'r diwedd,—dyna un cysur!"

Ydyw, Legree; ond pwy all roddi taw ar y llais yna yn dy enaid di—enaid tu draw i edifeirwch, tu draw i weddi, tu draw i obaith, yn mha un y mae'r tân anniffoddadwy wedi dechreu llosgi yn barod!

Eto nid oedd Twm wedi myned yn gwbl. Yr oedd ei eiriau rhyfeddol a'i weddïau nefolaidd wedi cyrhaedd calonau y negroaid anwar fu'n offerynau creulondeb tuag ato; a'r mynyd yr aeth Legree ymaith, hwy a'i tynasant i lawr, ac a geisiasant ei adferu i fywyd—fel pe buasai *hyny* yn rhyw ffafr iddo.

"Mi fuon yn gneud gwaith ofnadwy!" ebe Sambo; "gobeithio mai mas'r, ac nid ni, raid ateb am hyn."

Golchasant ei glwyfau—a gwnaethant wely iddo i orwedd arno, o ryw weddillion cotwm;

rhedodd un i fyny i'r ty i ofyn am ddyferyn o frandi, gan Legree, dan yr esgus ei fod yn llesg, a'i eisiau arno ei hun. Daeth ag ef yn ol, a gwnaeth i Twm ei yfed.

"O, Twm," ebe Cwimbo, "ni fuon yn ddrwg ofnadwy wrthat ti!"

"Yr ydw i'n madde i chi â'm holl galon!" ebe Twm, yn llesg.

"O, Twm, dywed pwy ydi'r *Iesu*, sut bynag?" ebe Sambo; "yr Iesu fu'n dy gynal di felly drwy'r nos!—Pwy ydi fo?"

Cododd hyn yr yspryd o'i lewyg. Dywedodd ychydig eiriau am yr Un rhyfeddol hwnw—ei fywyd, ei angau, ei bresenoldeb tragwyddol, a'i allu i gadw hyd yr eithaf.

Torasant allan i wylo—y ddau ddyn caled, dideimlad.

"Sut na chawswn i glywed hyn o'r blaen?" ebe Sambo; "Ond yr wyf fi yn credu;—ni fedraf ddim peidio! Arglwydd Iesu, cymer drugaredd arnom!"

"Druan oeddach chi!" ebe Twm, "mi fyddwn yn ddigon bodlon i ddiodda'r cwbwl—os gnaiff ddim ond eich dwyn at Grist! O Arglwydd, rho i mi'r ddau enaid yma'n rhagor, yr wyf yn deisyf arnat."

Atebwyd y weddi hono.

## PENNOD XLI.

### Y MEISTR IEUANC.

Yn mhen deuddydd, daeth dyn ieuanc ar hyd y rhodfa rhwng y coed, yn gyru gwagen ysgafn, a chan daflu'r ffrwyni yn sydyn ar warau y ceffylau, gofynodd am berchenog y lle.

George Shelby ydoedd; ac i ddangos pa fodd y daeth yno, rhaid i ni fyned yn ol yn ein chwedl.

Trwy ryw anffawd, daliasid llythyr Miss Ophelia at Mrs. Shelby am fis neu ddau, mewn rhyw lythyrdy anghysbell; ac o ganlyniad ni dderbyniwyd ef nes oedd Twm wedi ei golli o'r golwg yn nghorsydd pellenig y Red River.

Darllenodd Mrs. Shelby'r llythyr gyda meddwl trallodedig; ond yr oedd yn amhosibl iddi wneuthur dim yn y peth y pryd hwnw, o herwydd ei bod yn gorfod gweinyddu i'w gwr, yr hwn oedd ar ei glaf wely, ac yn nhröad twymyn boeth. Yr oedd Master George Shelby, yn y cyfamser, wedi tyfu yn ddyn ifanc tal, ac yn gynorthwywr gwastadol a ffyddlon i'w fam, a'r unig un y gallai ymddibynu arno i edrych ar ol achosion ei dad. Yr oedd Miss Ophelia wedi rhagofalu i anfon enw y cyfreithiwr a drinai faterion St. Clair; a'r eithaf a ellid ei wneud o dan yr amgylchiad oedd anfon ato ef lythyr o ymofyniad. Yn mhen ychydig ddyddiau, bu farw Mr. Shelby, yr hyn a gymerodd i fyny holl ddyfalwch ac amser y teulu am ryw dymhor.

Dangosodd Mr. Shelby ei ymddiried yn medrusrwydd ei wraig trwy ei phennodi yn scutores dros ei holl etifeddiaeth; ac fel hyn daeth cruglwyth o orchwylion dyryslyd i'w dwylaw ar unwaith.

Aeth Mrs. Shelby o gwmpas ei gwaith o wastatau a dad-ddyrysu pethau, gyda'i hegni rhagorol ei hun, a bu George a hithau yn brysur am gryn amser yn casglu ac yn chwilio'r cyfrifon, yn gwerthu eiddo ac yn talu dyledion; canys yr oedd Mrs. Shelby wedi penderfynu dwyn pobpeth i agwedd sylweddol ac eglur, bydded y canlyniadau iddi hi fel y byddent. Yn ystod yr amser hwn derbyniasant lythyr oddiwrth y cyfreithiwr at yr hwn y cyfeiriasid hwynt gan Miss Ophelia, yn dywedyd na wyddai efe ddim am y mater, ond fod y dyn wedi ei werthu ar gyhoedd, a'i fod yntau wedi derbyn yr arian. Nis gallai Mrs. Shelby na George fod yn foddlon ar hyn; ac o ganlyniad, oddeutu chwe' mis wedi hyny, am fod gan George ryw fusnes i drin dros ei fam i lawr yr afon, penderfynodd ymweled â New Orleans, ei hunan, a gwneud pob ymholiad, gyda'r gobaith o ddyfod o hyd i Twm, a'i gymeryd gyd ag ef adref.

Wedi chwilio'n aflwyddiannus am rai misoedd, trwy wir ddamwain, tarawodd wrth ddyn yn New Orleans yr hwn a roddodd iddo yr hyspysrwydd a ddymunai; ac, a'r arian yn ei boced, aeth yr arwr ifanc ar fwrdd agerdd-fad, ac i fyny y Red River, gyda llawn fwriad o gael allan ei hen gyfaill, a'i ad-brynu.

Dygwyd ef yn fuan i'r tŷ, lle y cafodd Legree yn eistedd yn ei hen ystafell.

Derbyniodd Legree y gwr dieithr gyda rhyw letygarwch surllyd.

"Yr ydwyf yn deall," ebe'r dyn ifanc, "eich bod wedi prynu bachgen o'r enw Twm, yn New Orleans. Byddai yn arfer bod ar le fy nhad, ac yr ydw' i wedi dyfod i edrych a fedraf ei brynu'n ol."

Aeth cwmwl du dros wynebpryd Legree, a thorodd allan yn nwydwyllt: "Do, mi ddaru mi brynu dyhiryn o'r fath, a bargen uffernol a gefis hefyd! Y cena mwyaf gwrthryfelgar, a thalgryf, a sarug! Rhoi yn mhen fy niggars i redeg i ffwrdd; mae wedi cael dwy lodes i ffwrdd, yn werth wyth cant neu fil o ddoleri bob un. Y mae wedi cyfaddef i hyny; a phan berais iddo ddeud yn mhle'r oedden nhw, dywedodd yn fy ngwyneb y gwyddai, ond na ddeudai yn mhle; a daliodd ati hi, er mod wedi rhoi iddo y ffogiad mwyaf melldigedig a rois i 'run niggar erioed. Yr ydw i'n dyall ei fod yn treio marw, ond ni wn i a fedr wneud hyny a'i peidio."

"Yn mh'le mae ef?" ebe George, yn ffromwyllt. "Gadewch i mi ei weled." Yr oedd bochau y dyn ifanc fel y scarlet, a'i lygaid yn melltenu; ond bu mor gall a pheidio dweyd dim y pryd hwnw.

"Mae o yn y penty yna," ebe crwtyn bach oedd yn dal pen ceffylau George.

Rhoddodd Legree gic i'r crwtyn, dan ei regu; ond troes George, heb ddweyd un gair yn rhagor, a bras-gamodd tua'r fan.

Yr oedd Twm wedi bod yn gorwedd ddau ddiwrnod wedi'r noswaith ofnadwy hono; nid oedd yn dioddef dim, canys yr oedd pob gieuyn wedi ei bylu a'i ddystriwio. Gorweddai yn benaf, mewn syfrdandod llonydd; o herwydd ni ollyngai deddfau corph grymus ac iawn-glymedig yr yspryd yn rhydd o'i garchar ar unwaith. Daethai amryw o'r creaduraid tlodion, amddifad, i ymweled ag ef, yn lladradaidd yn y nos, ac i dalu rhywfaint yn ol iddo o'r gwasanaeth caredig a roddai efe bob amser mor haelionus. Mae'n wir nad oedd gan y disgyblion truain hyny ond ychydig i'w roddi—dim ond y cwpanaid o ddwfr oer; ond eto rhoddent hyny o wir ewyllys calon.

Syrthiasai dagrau ar y gwyneb gonest, anheimladwy hwnw—dagrau o edifeirwch diweddar yn y paganiaid tlodion, anwybodus hyny, y rhai a ddeffroisid i edifeirwch trwy ei gariad a'i amynedd ef ar ei wely angau, ac anadlasid gweddïau taerion drosto ef at yr Iachawdwr ag oeddynt ond newydd ei adnabod, am yr Hwn ni wyddent ond prin ei enw, ond ar yr Hwn nid yw'r galon gywir byth yn galw'n ofer.

Aethai Cassy, yn ddistaw, ychydig o'r tu allan i'w hymguddfa, a chipglywodd am yr aberth a wnaethpwyd drosti hi ac Emmeline, ac er gwaetha'r perygl o gael ei dal, aeth yno y noswaith o'r blaen. Cynhyrfwyd hi gan yr ychydig eiriau olaf a fedrai yr enaid serchog eu hanadlu, aeth y gauaf hir o anystyriaeth heibio, a thoddodd y rhew a orweddasai am flynyddoedd ar ei chalon, ac wylodd a gweddïodd y ddynes dywyll, ddiobaith.

Pan aeth George i mewn i'r penty, teimlai ei ben yn ddolurus, a'i galon fel mewn llewygfa.

"A'i tybed?—'does bosibl?" eb efe, gan benlinio wrth ei ochr, "F'ewyrth Twm, druan, druan oedd, fy hen ffrynd anwyl!"

Yr oedd rhywbeth yn y llais ag a dreiddiodd i glust y dyn oedd ar drengu. Symudodd ei ben yn araf, gwnaeth wên, a dywedodd.—

"Mae gwely angeu'n wely plu,
Os c'weirir gan fy Iesu."

Llifodd dagrau o lygaid y dyn ieuanc ag oeddynt yn anrhydedd i'w galon ddewr, fel yr oedd yn crymu uwch ben ei ffrind druan.

"O F'ewyrth Twm anwyl! deffro—siarad a mi unwaith eto! Edrych i fyny! Dyma Mas'r George—dy Fas'r George bach dy hun. 'Dwyt ti ddim yn f'adwyn i?"

"Mas'r George!" ebe Twm, gan agor ei lygaid, a dywedyd mewn llais gwan, "Mas'r George!" Edrychodd arno yn ddyryslyd.

Dechreuodd ddirnad, yn araf deg; a daeth y llygad dwl yn loyw a sefydlog, goleuodd yr holl wyneb, ymblethodd y dwylaw caledion, a threiglodd y dagrau ar hyd ei ruddiau.

"Bendigedig fyddo'r Arglwydd!—dyma'r cwbwl—y cwbwl oedd arnaf eisiau! 'Dydyn' nhw dim wedi f'anghofio. Mae'n gneud lles i fy hen galon; mae'n cynesu f'enaid! 'Rwan mi fydda farw'n fodlon! O fy enaid, bendithia'r Arglwydd!

"Ni wiw i ti feddwl am farw! Ni *chei* di ddim marw! Yr ydwyf fi wedi dyfod i dy brynu di, a dy gymeryd adref," ebe George, yn wresog.

"O Mas'r George, yr ydych yn rhy hwyr. Mae'r Arglwydd wedi 'mhrynu i, ac yn myn'd a mi adref—ac y mae arnaf hiraeth am fyn'd. Y mae'r nefoedd yn well lle na Kentucky."

"Oh, paid a marw! Mi wneiff hyny fy lladd i!—mi dyr fy nghalon i feddwl fel 'rwyt ti wedi dioddef ac yn gorwedd yn yr hen benty yma! Y creadur tlawd!"

"Peidiwch 'ngalw i yn gradur tlawd!" ebe Twm yn ddifrifol. "Mi fu'm i yn gradur tlawd; ond y mae hyny wedi myn'd heibio 'rwan. Yr ydw' i yn y drws, yn myn'd i ogoniant! O, Mas'r George! *Mae'r nefoedd wedi dyfod!* yr ydw' i wedi cael y fuddigoliaeth! Yr Arglwydd Iesu a'i rhoddodd i mi! Gogoniant i'w enw!"

Yr oedd George wedi ei daro â syndod gan y grym a'r tanbeidrwydd â pha rai y traddodwyd yr ymadroddion toredig hyn. Eisteddodd gan syllu mewn distawrwydd.

Gafaelodd Twm yn ei law, ac aeth yn mlaen—"Rhaid i chwi beidio deud wrth Cloe, y beth wirion! eich bod wedi nghael i fel hyn; byddai mor ddychrynllyd iddi. Peidiwch deud dim ond fy mod i'n myn'd i ogoniant; ac na fedrwn i aros am neb. A deudwch wrthi fod yr Arglwydd yn sefyll o mhlaid i yn mhob man a phob amser, ac yn gneud pobpeth yn rhwydd ac yn esmwyth i mi. Ac, O, y plant druain, a'r babi—y mae nghalon i wedi bod agos ar dori, wrth feddwl am danyn' nhw. Deudwch wrthyn' nhw i gyd am ddyfod ar fy ol i! Cofiwch fi at mas'r, a missis anwyl, dda, a phawb yn y lle! Wyddoch chi ddim! 'Rydw i yn eu caru nhw i gyd! 'Rydw i fel pe bawn yn caru pob cradur, yn mhob man—nid oes ynddof fi ddim *ond* cariad! O Mas'r George! y fath beth ydi bod yn Gristion!"

Gyda hyn gwibiodd Legree i fyny at ddrws y murddyn, edrychodd i fewn yn ei ddull costogaidd o rith-ddiofalwch, a throes ymaith.

"Yr hen Satan," ebe George, yn ei ddigllonedd. "Mae'n gysur meddwl y tâl y diafol iddo ef am hyn, ryw ddiwrnod!"

"O peidiwch!—O peidiwch!" ebe Twm, gan ymaflyd yn ei law; "rhyw gradur truenus gwael ydyw. Mae'n arswydus meddwl am dano! O na bai ond 'difarhau, mi faddeua'r Arglwydd iddo 'rwan; ond mae arnaf ofn na wna fe byth."

"Gobeithio na wna!" ebe George. "Does arnaf fi ddim eisio ei wel'd *ef* yn y nefoedd."

"Hwist, Mas'r George; mae hyna yn y mlino i. Peidiwch teimlo fel yna. 'Naeth o ddim gwir ddrwg i mi—dim ond agor porth y nef, dyna'r cwbwl!"

Ar y mynydyn yma, gwanhaodd y nerth sydyn a dderbyniasai y dyn claf trwy'r llawenydd o gyfarfod a'i feistr ieuanc. Ymollyngodd yn ddisymwth; cauodd ei lygaid; a daeth y cyfnewdiiad rhyfeddol a dyrchafedig hwnw dros ei wynebpryd sy'n dangos fod byd arall yn agosâu.

Dechreuodd dynu ei anadl gyda chwythiadau hirion, dyfnion; a chododd a gostyngodd ei fynwes lydan yn drwm. Yr oedd ei wedd fel gwedd gorchfygwr.

"Pwy—pwy—pwy a'n gwahana ni oddiwrth gariad Crist?" eb efe, mewn llais yn ymgodymu â gwendid corphorol; a chyda gwên ar ei wynebpryd, efe a hunodd!

Eisteddodd George heb fedru symud gan frawychdod dwys. Ymddangosai iddo ef fod y lle yn sanctaidd; ac fel yr oedd yn cau y llygaid difywyd, ac yn codi i fyny oddiwrth y marw, nid oedd ond un meddwl ynddo—sef yr hyn a ddywedasai ei hen gyfaill syml,—"O'r fath beth ydyw bod yn Gristion!"

Troes o amgylch. Yr oedd Legree yn sefyll yn sarug y tu cefn iddo. Yr oedd rhywbeth yn yr olygfa hono ar farwolaeth ag a ataliodd ffyrnigrwydd naturiol nwydau ieuenctyd. Nid oedd presenoldeb y dyn ddim ond yn ffieiddod gan George; ac ni theimlodd ond rhyw gymhelliad i fyned oddiwrtho, gyda mor ychydig o eiriau ag oedd bosibl.

Ond tremiodd â'i lygaid craff ar Legree, a dywedodd, yn fyr, gan gyfeirio at y marw, "Yr ydych wedi cael cymaint ag a gewch byth allan o hono ef. Pa faint a gymerwch am y corph marw? Mi a'i cymeraf, ac a'i claddaf yn weddaidd."

"'Dydwyf fi ddim yn gwerthu niggars meirwon," ebe Legree, yn gostogaidd. Mae i chwi groeso ei gladdu yn y man a'r pryd a mynoch."

"Fechgyn," ebe George, mewn tôn awdurdodol, wrth ddau neu dri o negroaid oedd yn sefyll ac yn edrych ar y corph, "rhowch help llaw i'w godi i fyny, a'i gario i'r wagen; ac estynwch raw i mi."

Rhedodd un o honynt i geisio rhaw, a rhoes y ddau eraill gynorthwy i George i gludo'r corph i'r wagen.

Ni siaradodd George ac nid edrychodd ar Legree, yr hwn ni ddywedodd air yn ei erbyn, ond a safodd gan chwibanu gydag ymddangosiad o ffug-ddifaterwch. Dilynodd hwynt yn lled ffrom at y man lle yr oedd y wagen yn sefyll wrth y drws.

Taenodd George ei fantell yn y wagen, a gosodwyd y corph ynddi yn ofalus, gan symud y fainc i wneud digon o le iddo. Yna troes, a syllodd ar Legree yn ddiysgog, a dywedodd gydag ymdrech i edrych yn dawel—

"Nid wyf fi wedi dweyd wrthych eto beth yw fy meddwl am y mater echryslon yma; nid dyma'r amser na'r lle. Ond, Syr, fe gaiff y gwaed diniwed yma gyfiawnder. Mi gyhoeddaf fi y mwrddrad hwn. Mi af at yr ustus heddwch nesaf, ac mi roddaf gyhuddiad yn eich erbyn."

"Gwnewch!" ebe Legree, gan glecian ei fysedd yn ddiystyrllyd. "Mi leiciwn eich gwel'd yn gneud hyny. I ble'r ydych chi'n myn'd i gael tystion?—pa sut y profwch y peth? Dowch, rwan!"

Gwelodd George rym yr heriad yma ar unwaith. Nid oedd un dyn gwyn ar y lle; ac yn holl lysoedd y deheu nid yw tystiolaeth dyn du yn werth dim. Teimlodd y pryd hwnw fel pe gallasai rwygo'r nefoedd â'r llef ddigllon o'i galon am gyfiawnder, ond yn ofer.

"Ar ol y cwbwl, fasiwn helynt ynghylch niggar marw!" ebe Legree.

Yr oedd y gair fel gwreichionen yn disgyn i faril o bowdwr. Nid oedd pwyll erioed wedi bod yn un o brif rinweddau y bachgen o Kentucky. Troes George, ac âg un dyrnod digllon, tarawodd Legree nes oedd i lawr ar ei wyneb ar y ddaear; ac fel yr oedd yn sefyll uwch ei ben, yn fflamio gan ddigofaint a beiddiad, nid oedd yn annhebyg iawn i'w gyfenw clodfawr yn gorfoleddu uwch ben y ddraig.

Pa fodd bynag, y mae rhai dynion yn dyfod yn well wrth gael ei taro i lawr. Os rhydd dyn hwynt ar eu hyd yn y llwch, y maent mewn mynyd yn teimlo parch tuag ato; ac un felly oedd Legree. Gan hyny, wedi cyfodi, ac ysgubo'r llwch oddiar ei ddillad, syllodd gydag ystyriaeth ar y wagen fel yr oedd yn myned ymaith yn araf; ac nid agorodd ei enau hyd nes oedd allan o'r golwg.

Sylwasai George ar fryn bychan, sych, y tu allan i'r blanhigfa, wedi ei gysgodi âg ychydig goed; yno y gwnaeth y bedd.

"A gawn ni dynu'r glôg i ffwrdd, mas'r?" ebe'r negroaid, wedi gwneud y bedd.

"Na, na; cleddwch hi gydag ef. Dyna'r cwbl a fedraf fi roi i ti 'nawr, Twm dlawd, a thi a'i cei hi!"

Dodasant ef yn y bedd, rhawiasant y pridd yn ddistaw, cyfodasant ef i fyny yn gefnen, a gosodasant dywyrch gleision arno.

"Gellwch fyned yn awr, fechgyn," ebe George, gan roi chwarter dolar yn llaw pob un. Parhausant i ymdroi yno, er hyny.

"Pe bae mas'r ifanc yn gwel'd yn dda ein prynu ni," eb un o honynt.

"Mi fyddem ni yn ffyddlon iawn iddo!" ebe'r llall.

"Lle caled iawn ydi hwn, mas'r!" ebe'r cyntaf. O gnewch ein prynu, os gwelwch yn dda!"

"Ni fedraf fi ddim—ni fedraf," ebe George, yn drymllyd, gan amneidio arnynt fyned ymaith; "mae'n amhosibl!"

Edrychodd y pethau gwirion yn bendrist, ac aethant ymaith yn ddistaw.

"Bydd di yn dyst, O Dduw tragwyddol!" ebe George, gan benlinio wrth fedd ei hen gyfaill tlawd,—"Bydd yn dyst, y gwnaf, o hyn allan, *gymaint a ddichon un dyn ei wneud*, i yru'r felldith o gaeth-wasanaeth allan o'n tir!"

Nid oes un gof-adail i ddynodi gorphwysfa ein cyfaill. Nid oes angen am yr un. Mae ei Arglwydd yn gwybod yn mh'le y mae'n gorwedd, a chyfyd ef yn anfarwol, i ymddangos ger ei fron Ef pan ddel yn ei ogoniant.

Na resynwch drosto! Nid yw y fath fywyd a marwolaeth yn gofyn tosturi. Nid yn ei hollalluogrwydd y mae prif ogoniant Duw, ond mewn cariad hunan-ymwadol, dioddefgar. A bendigedig yw y rhai y mae Efe yn eu galw i gyfeillach âg Ef, gan ei ddilyn Ef, a dwyn eu croes gydag amynedd. Am y cyfryw yr ysgrifenir, "Gwŷn eu byd y rhai sydd yn galaru, canys hwy a ddiddenir."

## PENNOD XLII.

### CHWEDL WIR AM YSPRYDION.

O herwydd rhyw reswm pur bennodol, yr oedd llawer iawn o swn am ysprydion yn mysg gweinidogion Legree, oddeutu'r amser yma.

Dywedid, o ben i ben, fod swn traed yn dyfod i lawr ar hyd grisiau y garret, yn anhymbryd o'r nos, ac yn cerdded ar hyd y tŷ. Ofer oedd cloi y drysau uchaf; naill ai yr oedd gan yr yspryd agoriad i'w datgloi, neu defnyddiai ragorfraint ysprydion yn mhob oes, o ddyfod trwy dwll y clo, a rhodio gyda hyfder ag yr oedd yn arswydus meddwl am dano.

Yr oedd gwahanol farnau yn mhlith yr awdurdodau am y dull yr ymrithriai'r yspryd, o herwydd yr oedd yn arferiad yn mysg y bobl dduon—ac y mae yn mysg pobl wynion hefyd, am a wyddom ni—o gau eu llygaid bob amser ar yr achlusuron hyn, a tharo eu penau o dan blancedi, neu ryw orchudd arall a ddigwyddai fod wrth law. Ac fe ŵyr pawb fod llygad y meddwl yn hynod o effro a threiddgar pan ymguddio'r llygad corphorol fel hyn; o ganlyniad yr oedd amryw ddarluniadau cyflawn o'r yspryd, o'i goryn i'w sawdl, a digonedd o dystion yn barod i gymeryd eu llw, er na chytunent mewn dim (fel mae'n aml yn digwydd gyda darluniau) ond fod pob un o'r teulu yn gwisgo *cynfas wen*. Druain oeddynt, ychydig a ddarllenasent am hanes y cynoesoedd, ac ni wyddent fod Shakespeare wedi awdurdodi'r gwisgiad yma trwy ddweyd,—

"The *sheeted* dead
Did squeak and gibber in the streets of Rome."

O herwydd paham y mae eu gwaith yn cyddaro ar y ffaith nodedig hon mewn ymrithiaeth yn deilwng o sylw neillduol y dysgedig yn ngwyddoreg ysprydion.

Ond boed hyn fel ag y bo, y mae genym ni resymau personol dros ddweyd fod rhyw ymrithiad tàl, mewn cynfas wen, wedi cerdded o amgylch anedd Legree, ar yr oriau mwyaf priodol i ysprydion—wedi myned allan o'r tŷ, a cherdded ar hyd y tŷ—wedi diflanu o'r golwg, ac ymrithio drachefn, a myned i fyny'r grisiau rhyngddo a'r hen garret, ac yn y bore fod y drysau oll wedi eu cloi mor ddiogel ag erioed.

Nis gallai Legree lai na chlywed y chwedlau hyn; ac yr oeddynt yn fwy poenus iddo ef, ar gyfrif y drafferth a gymerid i'w cadw rhagddo. Yfodd fwy o frandi nac arferol; cariodd ei ben yn uwch, a thyngodd yn uwch ac yn fwy rhigil yn y dydd; ond byddai yn cael breuddwydion câs, ac yr oedd ei weledigaethau'r nos yn ddychrynllyd. Y noswaith ar ol cymeryd corph Twm ymaith, aeth i'r dref nesaf i gael spri, a chafodd un iawn. Dychwelodd adref yn hwyr, ac yn flinedig; clodd y drws, gosododd yr agoriad yn ei boced, ac aeth i'w wely.

Wedi'r cyfan, rhyw gydymaith anesmwyth, ymrithiol, ac arswydus ydyw'r enaid dynol i ddyn drwg, gwnaed a fyno i'w ddistewi a'i ddihuddo. Pwy fedr ddirnad ei holl "efallai" arswydus—y rhyw ddisgwyl ofnadwy na fedr ei ddiffodd ddim mwy nag y medr osod terfyn i'w dragywyddol barhad. Y fath ynfyd ydyw'r dyn a osodo glo ar ei ddrws rhag ysprydion, a chanddo yntau un o'i fewn na feiddia ei gyfarfod ar ei ben ei hun—llais yr hwn, o waelodion a than fynyddau o fydolrwydd, sydd fel udgorn rhybuddiol y farn fawr!

Ond clodd Legree y drws, a gosododd gadair yn ei erbyn; dododd hefyd lamp wrth ben ei wely, a'i bistols o dan ei obenydd. Edrychodd a oedd y ffenestri'n ddiogel, ac yna tyngodd "nad oedd yn hidio am Satan a'i holl angylion," a chysgodd.

Wel, efe a gysgodd, o herwydd ei fod wedi blino—cysgodd yn drwm. Ond o'r diwedd, daeth cysgod dros ei gwsg, ac ofnau, dychryn wrth weled rhywbeth yn hongian drosto. Meddyliodd mai amdo ei fam ydoedd; ond yr oedd yn llaw Cassy, yr hon a'i daliai i'w dangos iddo. Clywodd leisiau ac ysgrechiadau, ar draws eu gilydd; a thrwy'r cwbl, gwyddai mai cysgu'r oedd, ac ymdrechodd ddeffro. Yr oedd yn haner effro; a gwyddai yn burion fod rhywun yn yr ystafell. Clywodd y drws yn agor, ond nis gallai symud na bys na llaw. O'r diwedd efe a drodd yn sydyn, yr oedd y drws yn agored; a gwelodd law yn diffoddi ei lamp.

Noswaith niwliog, â lleuad lwyd-oleu ydoedd, a gwelai y drychiolaeth—rhywbeth gwŷn yn dyfod i mewn! Clywai rwbiad dis-

taw ei dillad. Safodd yn ddistaw wrth ei wely; dododd law oer ar ei law ef; a dywedodd deirgwaith, "Tyr'd! tyr'd! tyr'd!" A thra bu ef yn chwysu gan ofn, diflanodd ei ymwelydd, nas gwyddai pa sut na pha bryd. Neidiodd o'r gwely, a thynodd yn y drws. Yr oedd hwnw wedi ei gau a'i gloi; a syrthiodd Legree mewn llewyg.

Ar ol hyn trodd i yfed mwy nag erioed. Nid yn ofalus ac yn ochelgar mwyach, ond yn wastraffus ac yn wallgof.

Aeth y gair ar hyd y wlad ei fod yn glaf ac yn marw. Dygodd meddwdod y clefyd dychrynllyd hwnw sydd yn taflu cysgodau atdaledigaeth yn ol ar deimladau y bywyd hwn. Nis gallai neb oddef arswyd yr ystafell glaf hono, pan waeddai ac y melldithiai, gan ddywedyd ei fod yn gweled golygfeydd oedd yn ddigon i fferu gwaed y sawl a'i clywent; ac wrth ei wely safai yr un drychiolaeth wen, ddigynhwrf, ddiildio, yn dweyd, "Tyr'd! tyr'd! tyr'd!"

Digwyddodd yn rhyfeddol, ar y noswaith y cafodd Legree'r fath weledigaeth, fod drws y tŷ wedi ei ddatgloi yn y bore, a bod rhai o'r negroaid wedi gweled dau mewn gwŷn yn myned i lawr y rhodfa tua'r ffordd fawr.

Yr oedd bron yn godiad haul pan safodd Cassy ac Emmeline, am ychydig fynydau, mewn coedwig fechan yn ymyl y dref.

Ymwisgodd Cassy yn gyffelyb i'r Creoliaid Hispaenaidd—mewn du i gyd. Bonnet ddu fechan ar ei phen, a gwyneblen ddu gyfrodedd yn gorchuddio ei gwyneb. Cytunasent, er mwyn hwyluso eu ffoedigaeth, fod i Cassy gymeryd arni mai gwraig foneddig, Hispaenaidd ydoedd, ac Emmeline yn forwyn iddi.

Trwy ei bod wedi ei dwyn i fyny yn mysg y boneddigion penaf, yr oedd iaith, agwedd, ac edrychiad Cassy'n cydweddu yn berffaith â'r nodweddiad hwn; ac yr oedd ganddi'r fath weddillion o ddillad da a thlysau, fel y gallai yn rhwydd ymddangos yn wraig foneddig o Greol.

Ar ei mynediad i mewn i'r dref, prynodd drwnc pur hardd, mewn siop ag y sylwasai arni o'r blaen, a gofynodd i'r siopwr ei anfon gyda hi. Felly, â bachgenyn yn gyru ei thrwnc ar ferfa drol, ac Emmeline o'r tu ol iddi yn cario ei basged ac amryw fwndeli, hi a aeth i mewn i'r tafarndy fel gwraig led fawr.

Y cyntaf a dynodd ei sylw ar ol myned i mewn oedd George Shelby, yr hwn oedd yn aros am yr agerdd-lestr nesaf.

Gwelsai Cassy y dyn ieuanc trwy ei ffenestr o'r garret, a sylwasai arno yn cymeryd corph Twm i'w gladdu; gwelsai ef hefyd, gyda chryn lawenydd, yn taro Legree nes oedd yn rholio. Ar ol hyny hi a ddeallodd pwy oedd, a pha beth oedd fynai â Thwm, yn ei chrwydriadau nosawl, megys yspryd, yn mysg y negroaid; yr oedd wedi eu clywed yn siarad â'u gilydd am dano. O ganlyniad, hi a deimlodd yn fwy hyderus pan ganfu ei fod fel hithau yn aros am y llestr.

Yr oedd iaith, moesgarwch, ac agwedd Cassy, yn nghyda'i phwrs llawn, yn ddigon o atalfa rhag un drwg-dybiaeth yn y gwestdy. Nid oes neb yn holi'n fanwl iawn yn nghylch y sawl fo'n glir ar y pwynt hwn, sef talu'n dda—yr hyn a ragwelsai Cassy pan ddarparodd yr arian.

Tua min nos clywyd swn agerdd-lestr yn nesâu; a gosgorddiwyd Cassy ar ei bwrdd gan George Shelby, gyda'r moesgarwch boneddigaidd sydd yn naturiol i fechgyn Kentucky, ac ymdrechodd gael iddi ystafell gysurus. Arosodd Cassy yn ei hystafell a'i gwely, dan yr esgus o afiechyd, dros yr holl amser y buant ar y Red River; a gweinyddwyd iddi gan ei morwyn gyda llawer o ofal a gostyngeiddrwydd. Pan gyrhaeddasant y Mississippi, yr oedd George wedi deall ei bod am fyned i fyny fel yntau, a chynygiodd gymeryd ystafell iddi ar yr un llestr—gyda theimlad tosturiol o herwydd ei hafiechyd, ac awydd am wneud cymaint ag a fedrai i'w helpu.

Yn awr, dyma hwynt oll ar fwrdd yr agerddlong hardd *Cincinnati*, yr hon sydd yn gweithio ei ffordd i fyny'n rymus, dan agerddu yn egnïol.

Gwellhaodd iechyd Cassy lawer iawn. Eisteddai dan y cysgodion, a deuai at y bwrdd, a sylwid gan y naill a'r llall mai dynes landeg a fuasai yn ei dydd.

O'r mynyd cyntaf y gwelsai George ei gwyneb, yr oedd ganddo ryw wan atgof o weled un debyg iddi yn rhywle, nas gwyddai yn mha le: ac nis gallai ymgadw rhag edrych arni yn ddibaid. Wrth y bwrdd, ac yn ei heisteddle, edrychai arni, hyd oni chanfyddai ei bod yn dal sylw, yna, o wir foesgarwch, efe a edrychai ffordd draw.

Dechreuodd Cassy anesmwytho, a meddwl ei fod yn ameu rhywbeth; ac o'r diwedd penderfynodd ddweyd ei holl hanes wrtho, ac ymddiried yn ei gyd-deimladrwydd.

Yr oedd George yn barod i gyd-ymdeimlo, â'i holl galon, gyda rhywun a ddiangasai o blanhigfa Legree—lle na fedrai ond yn rhy brin siarad am dano yn amyneddgar; a chyda'r gwroldeb a'r diofalwch am ganlyniadau sydd yn ddiarhebol i'w oedran a'i Dalaeth, addawodd wneuthur ei oreu i'w hamddiffyn a'i dwyn yn iach drwodd.

Yn yr ystafell nesaf i Cassy yr oedd gwraig foneddig o Ffrainc, o'r enw de Thoux, gan yr hon yr oedd merch fechan a welsai tua deuddeg haf.

Deallodd y wraig yma, oddiwrth ymddyddanion George, ei fod yn dyfod o Kentucky, a dangosodd beth awydd i ynill ei gydnabyddiaeth; yn mha amcan yr oedd ganddi gefnogaeth ragorol yn anwyldeb ei merch fechan, yr hon oedd blentyn gyda'r glysaf erioed a ddifyrodd bythefnos o daith ar fwrdd agerdd-long.

Byddai cadair George yn aml wrth ddrws ei hystafell; a gallai Cassy glywed eu hymddyddanion pan yn eistedd dan y cysgodau.

Yr oedd Madame de Thoux yn bur fanwl yn ei hymofyniadau yn nghylch Kentucky, lle buasai'n aros, meddai, yn more'i hoes. Ac er syndod i George, efe a ddeallodd fod ei chartref gynt yn ymyl tŷ ei dad; a dangosai ei gofynion ei bod yn adnabod llawer iawn o bobl yno.

"A ydych chwi yn adnabod neb yn eich cymydogaeth o'r enw Harris?" ebe hi wrtho un diwrnod.

"Mae hen greadur o'r enw hwnw yn byw ddim yn mhell o'n lle ni," ebe George. "Ond ni bu erioed ddim llawer o gydnabyddiaeth rhyngom ni."

"Mae ganddo lawer o gaethion, yr wyf yn meddwl," ebe Madame de Thoux, gan ddangos braidd fwy o awydd yn ei gylch nag a ddymunai i neb weled.

"Oes," ebe George, gan edrych braidd yn syn, o herwydd ei dull.

"A glywsoch chwi erioed fod ganddo fachgen o'r enw George, mulatto—hwyrach i chwi glywed rywdro?"

"O, do siwr—George Harris—mi adwaenwn ef yn burion; fe briododd forwyn oedd gan fy mam; ond y mae wedi dianc i Canada."

"Y mae?" ebe Madame de Thoux, yn sydyn. "Diolch i Dduw."

Edrychodd George fel pe buasai am ei holi; ond tewi a wnaeth.

Plygodd Madame de Thoux ei phen ar ei llaw, a thorodd allan i wylo. "Mae yn frawd i mi!" ebe hi.

"Madam!" ebe George, mewn syndod annirnadwy.

"Ydyw," ebe Madame de Thoux, gan godi ei phen yn falch, a sychu ei dagrau, "mae George Harris yn frawd i mi, Mr. Shelby!"

"Yr ydych wedi fy synu!" ebe George, gan wthio ei gadair gam neu ddau yn ol, ac edrych ar Madame de Thoux.

"Gwerthwyd fi i'r dehau, pan oedd ef yn fachgenyn," ebe hi. "Prynwyd fi gan ddyn da a charedig. Cymerodd fi gydag ef i'r West India, gwnaeth fi'n rhydd, a phriododd fi. Bu farw yn ddiweddar, ac yr wyf ar fy ffordd i Kentucky i chwilio am fy mrawd ac i'w wneud yn rhydd."

"Mi a'i clywais yn siarad am ei chwaer Emily, yr hon a werthwyd i'r dehau," ebe George.

"Fi ydyw hono," ebe Madame de Thoux, "Dywedwch pa fath—"

"Bachgen ifanc hardd," ebe George, "er fod melldith caethiwed wedi pwyso'n drwm arno. Yr oedd yn cael carictor rhagorol am ddeall da ac egwyddorion gonest. Mi wn i, welwch chwi," eb efe, "o herwydd efe a briododd i'n teulu ni."

"Pa fath wraig?" ebe Madame de Thoux, yn awyddus.

"Trysor gwerthfawr!" ebe George. "Un o'r merched harddaf a mwyaf synhwyrol. Un bur grefyddol. Fy mam a'i dygodd i fyny, a chymerodd lawer o ofal drosti, fel pe buasai blentyn iddi. Gallai ddarllen, ysgrifenu, gwnïo a gweu yn gampus; a medrai ganu fel yr eos."

"Ai yn eich tŷ chwi y ganwyd hi?" ebe Madame de Thoux.

"Nage. Fy nhad a'i prynodd yn New Orleans, a daeth a hi adref yn rhodd i fy mam. Yr oedd o wyth i naw oed y pryd hwnw. Ni ddywedai fy nhad un amser wrth fy mam pa faint a roddodd am dani; ond y dydd o'r blaen, wrth edrych dros ryw bapyrau, cawsom afael yn mhapyr y gwerthiad. Efe a dalodd swm anferth am dani, ar gyfrif ei bod yn blentyn mor anarferol o hardd, mae'n debyg."

Yr oedd George yn eistedd a'i gefn at Cassy, ac nis gallai weled dirdyniadau ei hwynebpryd tra'r oedd yn gwrando'r hanes yma.

Yn y fan yma, hi a gyffyrddodd â'i benelin, a'i gwyneb mor wyned a'r gynfas, ac a ofynodd, "A wyddoch chwi enwau y bobl y prynwyd hi ganddynt?"

"Dyn o'r enw Simmons, yr wyf yn meddwl, oedd a'r llaw flaenaf yn y gwaith—o leiaf yr wyf yn meddwl mai dyna'r enw ar y papyr."

"O, fy Nuw!" ebe Cassy, a syrthiodd yn gelain ar y llawr.

Erbyn hyn yr oedd George yn ddigon effro, a Madame de Thoux hefyd. Ond ni wyddai yr un o honynt ddim amcan am yr achos o lewygfa Cassy, eto gwnaethant gymaint o dwrw ag oedd weddus ar y fath achlysur. Yn ei frys i roddi help llaw, taflodd George lestr ymolchi drosodd, a thorodd ddau wydryn yn deilchion; clywodd amryw wragedd fod dynes mewn ffit, ac ymdyrasant at ddrws yr ystafell, i gadw allan hyny o awyr a fedrent; felly, ar y cyfan, gwnaethpwyd pobpeth a allesid ddisgwyl.

Pan ddaeth Cassy druan ati ei hun, hi a drodd ei hwyneb at y pared, ac wylodd fel plentyn. Efallai y medrwch chwi, mam, ddweyd am pwy yr oedd yn meddwl! Hwyrach na fedrwch; ond yr oedd hi'n teimlo yn sicr yn ei meddwl y mynyd hwnw, fod Duw wedi cymeryd trugaredd arni, ac y cai weled ei merch—fel y cafodd, rai misoedd wedi hyny—pryd—ond yr ydym yn dweyd cyn pryd.

## PENNOD XLIII.

### EGLURHAD.

Ni chymer ond ychydig i ni orphen ein hanes. Teimlodd George Shelby, fel ag y mae'n ddigon naturiol i fachgen ieuanc, gryn lawer dros Cassy yn ei thrallod, a chymerodd y drafferth o anfon iddi bapyr gwerthiad Eliza, yn mha un yr oedd yr amser a'r enw yn ateb i'r dim i'r hyn a wyddai hithau, ac nid oedd un mymryn o amheuaeth yn ei meddwl nad Eliza

oedd ei merch. Y cyfan i'w wneud yn awr oedd cael trywydd y ffoaduriaid.

Trwy fod Madame de Thoux a hithau wedi eu tynu yn nghyd fel hyn gan gyffelyb amgylchiadau, aethant rhag eu blaen i Canada, a dechreuasant holi ac ymofyn yn mysg y gwahanol sefydliadau lle mae ffoaduriaid allan o gaethiwed yn trigianu. Yn Amherstberg cawsant afael ar y cenhadwr gyda pha un yr arhosodd George ac Eliza ar eu glaniad yn Canada, yr hwn a'u cyfarwyddodd at y teulu yn Montreal.

Yr oedd George ac Eliza wedi bod yn rhydd am bum' mlynedd. Cawsai George waith gyda pheirianydd teilwng, lle'r ynillodd ddigon i gynal ei deulu; at ba un erbyn hyn yr ychwanegasid merch.

Tyfodd Harri yn fachgen glandeg, ac yr oedd mewn ysgol dda, lle y deuai yn mlaen yn rhagorol.

Teimlodd y cenhadwr yn Amherstberg, lle y glaniasai George, y fath wresogrwydd yn achos Madame de Thoux a Cassy, fel y cydsyniodd â'u cais i fyned gyda hwynt i Montreal, yn eu hymchwiliad, a Madame de Thoux yn talu costau'r daith.

Mae'r olygfa yn awr yn newid i dŷ bychan, glanwaith, taclus, yn nghwr dinas Montreal; yr amser, gyda'r nos. Mae tân siriol yn llosgi ar yr aelwyd; ac ar y bwrdd mae llian claerwyn, a'r llestri tê yn barod at yr hwyrbryd. Mewn un gongl saif bwrdd â brethyn gwyrdd drosto, lle mae desc ysgrifenu yn agored, a phapyr, ac offer ysgrifenu, ac uwch ei ben mae shilff o lyfrau detholedig.

Dyma fyfyrgell George. Yr oedd yr un awydd am wybodaeth ag a'i cymhellodd i ddysgu darllen ac ysgrifenu yn nghanol rhwystrau ac anfanteision ei febyd, yn ei gymhell eto i ddefnyddio pob hamdden o fewn ei gyrhaedd i fyned rhagddo mewn gwybodaeth.

Yr amser yma yr oedd yn eistedd wrth y bwrdd, ac yn ysgrifenu allan o gyfrol o'r "Family Library," a ddarllenid ganddo.

"Dowch, George," eb Eliza, "chwi fuoch i ffwrdd drwy'r dydd. Rhowch y llyfr yna heibio, i mi gael ymgomio tipyn hefo chwi tra byddaf yn gwneud y tê yn barod—dowch."

A chefnogodd Eliza fechan y cynygiad, trwy redeg at ei thad, a thynu'r llyfr o'i law, gan ddringo ar ei lin yn ei le.

"O'r galon anwyl!" ebe George, gan gymeryd ei berswadio, fel ag y rhaid i ddyn bob amser dan y fath amgylchiad.

"Dyna ryw lun," eb Eliza, fel yr oedd yn dechreu tori bara.

Mae hi wedi heneiddio ychydig, ac wedi tewychu, a'i gwallt yn fwy mamawl nag oedd gynt; ond y mae'n ddigon amlwg ei bod yn ddynes mor hapus ag y dymunai calon.

"Harri, machgen i, pa sut doist ti yn mlaen gyda'r sym yna yn yr ysgol heddyw?" ebe George, gan osod ei law ar ben ei fab.

Mae Harri wedi colli ei laeswallt troellog; ond ni chyll byth mo'r llygaid a'r aeliau a'r talcen uchel, gwrol yna, sydd yn gwrido mewn buddugoliaeth, pan etyb, "Mi gwneis i hi, bob ffigiwr, 'nhad, *fy hunan* hefyd, ni helpodd *neb* ddim arnaf fi."

"Dyna'r ffordd, machgen i," eb ei dad; "ymdddibyna arnat dy hun. Mae genyt lawer gwell siawns nag a gafodd dy dad erioed."

Y pryd hwn clywyd curo wrth y drws, ac aeth Eliza i'w agor. Pan glywodd George y



croesawiad, "Beth! ai chwi sydd yma?" cododd yntau, ac ysgydwodd law â'r cenhadwr tirion o Amherstberg. Yr oedd dwy wraig gydag ef, a gofynodd Eliza iddynt eistedd i lawr.

Yn awr, os rhaid cyfadde'r gwir, yr oedd y cenhadwr wedi parotoi pwt o araith fel rhagymadrodd i'r eglurhad; ac ar y ffordd at y tŷ cytunasant, yn rhagddarbodus, na ollyngid y mater allan ond yn ol y drefn a osodasent ar lawr.

Ond faint oedd dyryswch a syndod y gweinidog druan, newydd i'r gwragedd eistedd, ac iddo yntau dynu allan ei napcyn i sychu ei wefusau a'i drwyn, cyn dechreu ei araith yn drefnus, pan daflodd Madame de Thoux y cyfan yn bendramwnwgl, trwy ymaflyd am wddf George, a dyweyd, "O George, adwaenost ti monof fi? Fi ydyw Emily dy chwaer!"

Yr oedd Cassy wedi eistedd yn bur dawel, a buasai yn chwarae ei rhan yn burion, oni buasai i Eliza fechan ymddangos o'i blaen, yr un ffunud ag yr oedd yn cofio am ei phlentyn ei hun pan welsai hi ddiweddaf. Edrychodd y beth fechan yn ei gwyneb, ac ymaflodd Cassy ynddi, gan ei chofleidio yn ei mynwes, a dywedyd—yr hyn a gredai yn ei chalon ar y pryd—"Nghalon anwyl i, fi ydyw dy fam!"

Yn wir, gwaith lled anhawdd i'w wneud yn drefnus oedd; ond llwyddodd y gweinidog, o'r diwedd, i gael gan bawb lonyddu, a thraddododd ei araith â pha un y bwriadasai agor y cyfarfod; a llwyddodd cystal, fel ag yr oedd ei holl wrandawyr yn wylo'r dagrau i'r fath raddau ag a ddylasai foddio unrhyw areithiwr—hen neu newydd.

Penliniasant oll, a gweddïodd y gwr da—o herwydd y mae rhai teimladau mor dymhestlog nad oes dawelwch iddynt ond eu tywallt i fynwes Tragywyddol Gariad—yna cyfodasant a chofleidiasant y naill y llall, gydag ymddiried sanctaidd yn yr Hwn a'u dygodd yn nghyd allan o gynifer o beryglon, trwy ffyrdd dirgeledig ac anolrheinadwy.

Mae coflyfr y cenhadwr yn mysg y ffoaduriaid yn Canada yn cynwys llawer hanesyn gwir sydd ryfeddach na chwedlau o ddyfais dyn. Pa fodd y gall fod yn amgen, tra bo cyfreithiau yn bod sydd yn chwalu teuluoedd, fel y chwal y gwynt ddail y goedwig! Mae'r gororau hyn, fel gororau'r byd tragywyddol, yn uno calonau, mewn undeb gorfoleddus, a fuant am flynyddoedd yn galaru colled eu gilydd fel tros byth. A rhyfedd mor llawen y derbynir pob dyfodiad yn eu mysg, os digwydd iddo ddwyn gair o hanes mam, chwaer, gwraig, neu blentyn, f'ont eto allan o olwg yn nghysgodion caethiwed!

Cyflawnir yma weithredoedd o wroldeb rhagorach na dim mewn ffughanesion, pryd y mae'r ffoadur, mewn perygl o ddirdyniad, ac yn ngwyneb angau, yn dychwelyd o'i wirfodd i ganol dychrynfeydd a pheryglon y wlad dywyll hono, i ddwyn allan hefyd ei chwaer, ei fam, neu ei wraig.

Dywedodd y cenhadwr wrthym i un dyn ieuanc gael ei ddal ddwywaith, a dioddef fflangellau chwerwon bob tro; ac iddo ddianc drachefn; ond mewn llythyr a glywsai ddarllen, dywedai ei fod yn Canada, ac yn myned y drydedd waith, fel y gallai o'r diwedd ryddhau ei chwaer. Anwyl syr, pa un ai troseddwr ai gwrolddyn ydyw hwn? Oni wnait tithau gymaint dros dy chwaer! Ac a fedri di ei feio ef?

Ond i ddychwelyd at ein cyfeillion, y rhai a adawsom yn sychu eu dagrau, ac yn dadebru o'r gorlawenydd sydyn a'u goddiweddodd. Maent yn awr yn eistedd o amgylch y ford, ac yn dechreu bod yn bur gysurus; ond y mae Cassy yn parhau i ddal y plentyn ar ei glin, ac yn ei gwasgu weithiau, hyd nes ydyw'r fechan yn rhyfeddu pa beth allai fod y mater; ac ni chymerai Cassy ddim o'r teisenau ag y mae hi yn eu gwthio i'w genau, dan yr esgus fod ganddi rywbeth gwell, yr hyn sydd goruwch deall y plentyn.

Yn wir, yn mhen deuddydd neu dri, daeth y fath gyfnewidiad dros yspryd Cassy, fel mai prin y gallai'r darllenydd ei hadnabod. Yr oedd gerwindeb a hacrwch anobeithiol ei hwyneb wedi rhoddi lle i olwg o ymddiried ac ymfoddloniad tawel. Ymddangosai fel wedi cartrefu ar unwaith yn mynwes y teulu, a chymeryd y rhai bychain i'w chalon, fel pethau y buasai yn hiraethu am danynt er's blynyddoedd. Rhedai ei chariad yn fwy rhwydd at Eliza fechan nac at ei merch ei hun; o herwydd ei bod mor debyg, o ran pryd a gwedd a maintioli, i'w phlentyn pan welsai hi ddiweddaf. Yr oedd y plentyn yn rhwymyn anwylaidd rhwng y fam a'r ferch, trwy ba un y tyfodd cydnabyddiaeth a chariad. Trwy fod Eliza yn wraig grefyddol, ac yn arfer darllen yr Ysgrythyrau yn wastad, yr oedd yn arweinydd pur addas i feddwl crwydredig a blinderus ei mam. Ymollyngodd Cassy, â'i holl enaid, i ddylanwad pob daioni, a daeth yn Gristion syml a gwresog.

Yn mhen diwrnod neu ddau, rhoddodd Madame de Thoux hysbysiad manylaidd i George am ei hamgylchiadau. Gadawsai marwolaeth ei gwr hi mewn llawnder o bethau'r byd, a chynygiodd eu rhanu rhwng y teulu. Pan ofynodd i George pa ffordd oedd yn oreu i ddefnyddio'r eiddo, efe a atebodd, "Gadewch i mi gael dysg, Emily; dyna ddymuniad fy nghalon bob amser. Yna mi wnaf o'r goreu."

Ar ol meddwl cryn lawer, penderfynwyd i'r holl deulu fyned i Ffrainc am rai blynyddoedd; hwyliasant yno, ac aeth Emmeline gyda hwynt.

Ar y fordaith, syrthiodd *mate* y llestr mewn

cariad ág Emmeline, a phriodwyd hwynt yn fuan ar ol glanio.

Arosodd George mewn prif-ysgol yn Ffrainc am bedair blynedd, a thrwy wneud y goreu o'i amser, llwyddodd i gael addysgiad trwyadl.

Yn amser y cythrwfl gwladwriaethol yn y deyrnas hono, dychwelodd y teulu i America.

Y ffordd oreu i ddangos golygiadau a theimladau George, fel dyn wedi cael addysg, ydyw rhoddi rhan o lythyr a ysgrifenodd at gyfaill:—

"Prin y medraf ddweyd pa ffordd a gymeraf rhagllaw. Digon gwir y gallwn, fel y dywedwch chwi, ymgymysgu â'r bobl wynion yn y wlad yma, o herwydd ychydig iawn o wahaniaeth lliw sydd rhyngwyf a dyn gwyn, ac y mae'n anhawdd dweyd fod fy ngwraig a'm teulu o haniad Affricanaidd. Hwyrach y gallwn, gyda math o oddefiad. Ond, a chyfaddef y gwir, nid oes arnaf un chwant i wneud hyny.

"Nid gyda theulu fy nhad y mae fy nheimladau; ond gyda phobl fy mam. I fy nhad nid oeddwn ddim ond fel ci neu geffyl tlws; ond yr oeddwn yn *blentyn* i fy mam dlawd dorgalonus; ac er na welais hi ar ol y gwerthiad creulon, a'n gwahanodd am byth, eto mi a *wn* ei bod yn fy ngharu yn anwyl. Mi a wn hyny oddiwrth fy nghalon fy hun. Pan gofiwyf yr hyn oll yr aeth hi trwyddynt, a'm caledi fy hun yn more f'oes, a thrallod a phoenau fy ngwraig wrolwych, yn nghyda gwerthiad fy chwaer yn marchnad New Orleans,—gan obeithio na fernir fi yn anghristionogol, eto gobeithiaf yr esgusodir fi am ddweyd, nad oes ynof un dymuniad am gael fy ystyried yn American, nac am ymgorpholi a hwynt fodd yn y byd.

"Gyda'r Affrican tlawd a gorthrymedig yr wyf yn dewis bwrw fy nghoelbren; ac os dymunwn unpeth, dymunwn fod ddwy radd yn dduach, yn hytrach nac un yn wynach.

"Am fodoliaeth gwladwriaeth Affricanaidd fel un o *alluoedd* y byd y mae awydd a hiraeth fy enaid. Mae arnaf eisiau pobl a chanddynt enw a safle iddynt eu hunain yn mysg cenhedloedd y ddaear; a pha le y troaf fy ngolwg am danynt? Nid yn Hayti; o herwydd nid oedd ganddynt yno ddim i ddechreu. Nis gall ffrwd godi yn uwch na'i ffynhonell. Cenedl foethus, wedi ei gwisgo allan, a ffurfiodd nodweddiad pobl Hayti; a bydd y genedl ddarostyngedig am lawer o oesau cyn cyfodi i ddim sydd o werth.

"I ba le, gan hyny, y troaf fy ngolwg? Ar gyffiniau Affrica mi welaf Werinlywodraeth—un wedi ei ffurfio o bigion y bobl—rhai wedi cyfodi o gyflwr o gaethiwed, trwy rym ac egni gwreiddiol eu meddyliau eu hunain. Mae'r Werinlywodraeth yma wedi gadael ei thymhor o wendid mabandod, a dyfod yn allu cydnabyddus ar wyneb y ddaear—cydnabyddir ei bodoliaeth gan Ffrainc a Lloegr. Dyna'r fan yr wyf yn bwriadu myned, a chael pobl ag y medraf eu galw *fy* mhobl.

"Mi a wn yn burion y caf chwi oll yn fy erbyn; ond cyn fy nharo, gwrandewch fi. Yn ystod fy arosiad yn Ffrainc, mi a ymchwiliais lawer i hanes fy mhobl yn America; sylwais ar yr ymryson rhwng y trefedigaethwyr a'r rhyddhawyr, a derbyniais argraffiadau fel edrychwr na buasent byth yn digwydd i mi fel cyfranogwr.

"Yr wyf yn addef fod Liberia wedi ei defnyddio i lawer math o bwrpas, a'i throi yn ein herbyn i ddwylaw ein gorthrymwyr. Ac y mae'n ddiamheuol fod yr anturiaeth wedi ei defnyddio yn anghyfiawn i attal ein gollyngdod. Eto, dyma'r pwnc gyda mi. Onid oes Duw yn goruwch-lywodraethu holl amcanion dyn? Onid yw'n bossibl ei fod Ef am ddyrysu eu bwriadau, a'u defnyddio yn offerynau i'n sefydlu yno fel cenedl a phobl?

"Genir cenedl mewn diwrnod yn y dyddiau hyn. Mae pobl yn awr yn cychwyn a ffurf eu llywodraeth yn barod at eu llaw; nid oes achos am ddarganfod, dim ond cymhwyso. Gan hyny, gadewch i ni ymaflyd â'n holl egni, i weled pa beth a allwn wneud o'r anturiaeth newydd hon, lle mae holl gyfandir Affrica yn agor o'n blaen ni a'n plant. Yna bydd i'n *cenedl ni* yru ffrwd gwareiddiad a Christionogaeth ar hyd ei chyffiniau, a sefydlu yno wladwriaethau cedyrn, a dyfant gyda rhwyddineb llysieuaeth y gwledydd poethion, ac a barhant dros oesau dyfodol y byd.

"Efallai y dywedwch fy mod yn gadael ac yn anghofio fy mrodyr caethion. Ond yr wyf fi yn meddwl nad ydwyf. Os anghofiaf hwynt un awr o'm bywyd, anghofied fy Nuw finau! Ond pa beth a fedraf wneud drostynt yma? A allaf fi dori eu llyffetheiriau? Na allaf, fel dyn unigol; ond gadewch i mi fyned a ffurfio rhan o genedl, fydd a llais ganddi yn mysg galluoedd y ddaear, yna gallwn lefaru. Mae gan genedl hawl i ymresymu, i gymhell, i ddeisyf, ac i drin achos eu pobl, yr hyn nid oes gan unrhyw berson.

"Os byth y daw Ewrop yn Dalaethau Unedig o bobl ryddion—ac yr wyf yn hyderu ar Dduw y daw—os dileir eu caethiwed, a'u gorthrymder, a'u hanghyfartalwch cymdeithasol; ac os bydd iddynt ein cydnabod yn genedl, fel ag y gwnaeth Ffrainc a Lloegr, yna, at gynrychiolwyr y bobloedd, gallwn wneud ein hapeliad; a dwyn ger eu bron achos ein hiliogaeth fathredig. Prin y gallaf feddwl, dan y fath amgylchiadau, na ddymunai America rydd a haelfrydig dynu'r brycheuyn hwn oddiar ddrych disglaer ei nodweddiad, yr hwn sydd yn warthnod iddi yn mysg galluoedd y ddaear, ac yn gymaint melldith iddi ag ydyw i'r gorthrymedig.

"Ond chwi a ddywedwch fod gan ein pobl ni yr un hawl i ymgymysgu yn ngwladwriaeth America ag sydd gan y Gwyddel, yr Ellmyniad, neu'r Swediad. Digon gwir. Ni a *ddylem* fod yn rhydd i gyfarfod a chymysgu—i ymgodi yn ol ein teilyngdod personol, heb son dim am ein pobl na'u lliw: ac y mae'r sawl a wadant ein hawl i hyn yn annghyson a'u proffes o gydraddoldeb dynolryw. Dylem gael hyn *yma* yn enwedig. Mae genym ni fwy na hawl dynion cyffredin—mae genym hawl cenedl yspeiliedig i ryw fath o iawn. Ond *nid oes arnaf fi ei eisiau;* eisiau gwlad, a phobl i mi fy hun sydd arnaf. Yr wyf yn credu fod yn yr Affricaniaid ddoniau i'w dwyn allan yn ngoleuni gwareiddiad a Christionogaeth, os nad ydynt yr un a rhagoriaethau yr Anglo-Saxon, eto y gallant fod yn rhagorach mewn ystyr foesol.

"Yr Anglo-Saxon fu yn y blaen, a thynged y byd yn ei law, trwy gyfnod yr ymdrech a'r llafur o ragbarotoad hyd yma. At y gwaith hwnw, yr oedd ei nodweddiad o egwyddorion egniol, ymroddol, ac amhlygedig yn ei gym-

hwyso; ond, fel Cristion, yr wyf fi yn edrych yn mlaen at gyfnod gwahanol i gyfodi. Yr wyf yn hyderu ei fod yn ein hymyl; ac y mae'r gwewyr sydd yn cynhyrfu cenhedloedd y ddaear yn edrych yn obeithiol i mi fel awr esgoreddiad ar heddwch a brawdoliaeth gyffredinol.

"Fy ngobaith hyderus ydyw mai Cristionogaidd fydd adferiad Affrica. Os nad ydynt bobl i awdurdodi a rheoli, y maent o leiaf yn bobl serchlawn, haelfrydig, a maddeugar. Wedi eu profi yn ffwrn danllyd annghyfiawnder a gorthrymder, mae galwad arnynt am rwymo yn nes at eu calonau yr athrawiaeth ogoneddus o gariad a maddeuant, trwy'r hon yn unig y byddant gongcwerwyr, a'u gwaith fydd ei lledaenu dros gyfandir Affrica.

"O'm rhan fy hun, ydwyf yn cyfaddef mai egwan ydwyf at y fath waith, o herwydd y mae'r haner mwyaf o fy ngwaed yn deilliaw o'r Saxon balch a bryswyllt; ond y mae genyf wrth fy mhenelin bregethwr hyawdl o'r Efengyl, yn mherson fy anwyl wraig. Pan af fi ar gyfeiliorn, mae ei hysbryd addfwyn a llonydd yn fy adferu, ac yn cadw o flaen fy llygad alwedigaeth a chenadaeth Cristionogol fy mhobl. Fel gwladgarwr Cristionogol, fel athraw Cristionogol, mi af *i fy ngwlad fy hunan*—fy Affrica ddewisol a gogoneddus—ac yr wyf weithiau, yn fy nghalon, yn cymhwyso ati eiriau prophwydoliaeth,—'Lle y buost yn wrthodedig ac yn gas, ac heb gyniweirydd trwot, gwnaf di yn arddercbawgrwydd tragywyddol, ac yn llawenydd i'r holl genedlaethau.'

"Mae'n ddigon tebyg y gelwch fi'n benboeth, ac y dywedwch nad wyf wedi ystyried y mater fel ag y dylaswn. Ond yr wyf wedi ystyried, ac wedi bwrw'r draul. Yr wyf yn myned i Liberia, nid fel pe bawn yn myned i baradwys o orphwysfa, ond yn hytrach i *faes fy llafur*. Dysgwyliaf weithio a'm dwy law, a gweithio'n galed; gweithio yn erbyn pob math o *anhawsderau* a *digalondid*, a gweithio hyd angeu. Dyma fy nyben yn myned; ac yr wyf yn sicr na chaf fy siomi.

"Pan gofiwch am fy mhenderfyniad, na fwrlwch fi allan o'ch ffafr; ond credwch, yn mha beth bynag a wnaf, fy mod yn ymaflyd ynddo gyda chalon ymroddol i'm pobl.

"George Harris."

Hwyliodd George, a'i wraig, a'i chwaer, a'i fam-yn-nghyfraith, i Affrica, yn mhen ychydig o wythnosau. Ac os nad ydym yn camgymeryd, fe glyw'r byd oddiwrtho eto.

Nid oes dim yn neillduol i'w ddweyd am neb o'r lleill, oddieithr am Ophelia a Thopsy, a phennod o ffarwel a gyflwynwn i George Shelby.

Cymerwyd Topsy gan Miss Ophelia adref i Vermont, er syndod nid bychan i'r tylwyth cyfrifol a elwir yn New England "*Ein pobl ni.*" Yr oedd "ein pobl ni," ar y cyntaf, yn edrych ar yr ychwanegiad at eu teulu yn hollol afreidiol; ond yr oedd addysgiad Miss Ophelia mor drwyadl, yn ei hymdrech cydwybodol i wneud ei dyledswydd tuag at ei phlentyn mabwysiadol, fel y daeth Topsy yn fuan mewn gras a ffafr gyda'r holl deulu a'r gymydogaeth. Pan dyfodd mewn oedran, bedyddiwyd hi, ar ei chais ei hun, a daeth yn aelod cyson o eglwys Crist yn y lle. Dangosodd ddeall da, a'r fath awydd a zel i fod o ryw les yn ei dydd a'i chenedlaeth, fel yr anfonwyd hi o'r diwedd ar daith genadol i un o'r sefydliadau yn Affrica; a chlywsom fod yr un doniau a thalentau a'i gwnaethent mor nodedig yn more ei hoes, yn troi allan o ddefnydd mewn galwad fwy canmoladwy, sef addysgu plant ei gwlad ei hun.

O. Y.—Efallai y bydd yn foddlonrwydd hefyd gan ryw fam glywed ddarfod gosod ymchwiliadau ar droed gan Madame de Thoux, y rhai a fuant lwyddiannus i gael allan fab Cassy. Trwy ei fod yn ddyn ifanc dawnus, llwyddodd i ddianc allan o gaethiwed rai blynyddoedd o flaen ei fam, a derbyniwyd ef i'w addysgu gan gyfeillion y gorthrymedig yn y Gogledd. Mae'n bwriadu myned yn fuan at ei berthynasau i Affrica.

## PENNOD XLIV.

### Y RHYDDHAWR.

Ysgrifenasai George Shelby ychydig eiriau at ei fam, i ddweyd yn unig pa ddiwrnod y gallai ei ddisgwyl adref. Nid oedd ganddo galon i ddweyd dim am farwolaeth ei hen ffrind. Dechreuodd ysgrifenu lawer gwaith, ond methu dweyd yr oedd, ac yna rhwygo'r papyr yn ddarnau, sychu ei lygaid, a rhedeg i rywle i gael llonyddwch.

Yr oedd rhedeg a mwstro llawen yn mhlâs Shelby, mewn disgwyliad am Mas'r George.

Eisteddai Mrs. Shelby yn ei pharlwr cysurus, lle'r oedd tân coed hickory yn cadw allan ryndod prydnawn yn Hydref. Ac yr oedd y bwrdd wedi ei barotoi at swper, yn disgleirio â llwyau arian a gwydrau, dan arolygiad Modryb Cloe.

Yr oedd ganddi am dani own cotwm newydd, a 'ffedog wen lân, a thwrban uchel am ei phen, a'i gwyneb gloyw-ddu yn disgleirio gan foddlonrwydd; a throai o gwmpas y bwrdd gyda math o ymyraeth afreidiol, er mwyn cael rhyw esgus i siarad ychydig a'i meistres.

"Dyn anwyl, oni fydd yn naturiol iddo?" ebe hi. "Dyna—mi rois y plât dest y lle mae Mas'r George yn leicio—fan yna, wrth y tân. Rhaid iddo gael y lle cynhes bob amser. O, ewch o'na! Pa'm na roisa Sali'r tepot *goreu*—yr un bach a roth Mas'r George i missis yn y Gwylia? Mi fynaf fi fo allan! Ac y mae missis wedi clywed oddiwrth Mas'r George?" ebe hi, yn ymofynol.

"Ydwyf, Cloe; ond dim mwy na gair ei fod yn dyfod adref heno, os gallai—dyna'r cwbl."

"Ddeudodd o ddim am ff'hen wr i, mae'n debyg?" ebe Cloe, gan symud y cwpanau tê yn ol ac yn mlaen.

"Naddo, Cloe; ni ddywedodd ddim, ond y caem glywed y cwbl pan y ddeuai adref."

"'Run fath a Mas'r George yn union; gymaint am ddeud y cwbl ei hunan. Ddaru mi sylwi hyny yn Mas'r George bob amser. O'm rhan ff'unan, fedra i ddim dyall sut y mae pobl wnion yn medru scryfenu fel y mae nhw—mae yn waith mor ara deg ac anodd ei neud."

Gwenodd Mrs. Shelby.

"'Neiff ff'hen wr i ddim nabod y plant a'r babi. Dear mi, hi ydi'r lodes fwya rwan; mae hi'n lodes dda hefyd, ydi, mae Poly. Mae hi yn tŷ 'rwan yn tendio torth radell. Mae gen i un 'run fath yn union ag sy'n plesio ff'hen wr i; fel 'run neis i iddo bore cym'rwyd o i ffwrdd. Bendith arnon ni! fel 'roeddwn i'n teimlo'r bore hwnw!"

Ocheneidiodd Mrs. Shelby, a theimlodd bwysau trymion ar ei chalon pan glywodd y cyfeiriad yma. Teimlai yn anesmwyth er pan dderbyniasai lythyr ei mab, rhag fod rhyw ddrwg tu cefn i len ei ddistawrwydd.

"Ydi'r biliau hyny gan missis?" ebe Cloe, yn awchus.

"Ydynt, Cloe."

Mae arna i eisio iddo fo wel'd y bilia roth y *perfectioner* i mi. A, medde fo, 'Cloe, nei di ddim aros yn hwy?' 'Diolch i chi, mas'r, meddwn ina, 'mi 'nawn, ond y mae ffhen wr i yn dwad adre, a fedra missis ddim spario fi ddim yn rhagor.' Dyna dest peth ddeudes i wrtho fo. Dyn neis iawn oedd Mas'r Jones."

Yr oedd Cloe wedi mynu i'r biliau hyny a dderbyniasai yn gyflog gael eu cadw i'w dangos i'w gwr, er cof am ei medrusrwydd; a chydsyniodd Mrs. Shelby yn ddigon llawen.

"Ni 'nabyddiff o mo Poly—na neith ff'hen wr i. Dyn anwyl, mae hi yn bum' mlynedd er pan gymerson nhw fo. Babi bach oedd hi pryd hyny—prin medrai hi sefyll. Ydach chi'n cofio fel bydda fo'n chwerthin pan syrthia hi, a fynta eisio iddi hi gerdded. Wel, wel!"

Yna clywyd swn olwynion. "Mas'r George!" ebe Modryb Cloe, gan redeg at y ffenestr.

Rhedodd Mrs. Shelby at y drws, a syrthiodd i freichiau ei mab. Safodd Modryb Cloe o'r tu ol iddi, gan dremio allan i'r tywyllwch.

"O Modryb Cloe *anwyl!*" ebe George, gan sefyll yn deimladwy, a gafaelyd â'i ddwy law yn ei llaw ddu galed, mi roiswn gymaint oedd ar fy helw pe gallaswn ei ddwyn adref gyda mi, ond y mae wedi myned i well gwlad."

Gwaeddodd Mrs. Shelby, ond ni ddywedodd Cloe 'run gair.

Aethant i gyd i'r parlwr; ac yr oedd yr arian, o ba rai yr oedd Cloe mor falch, yn gorwedd eto ar y bwrdd.

"Dyna," ebe hi, gan ymaflyd ynddynt, a'u hestyn â llaw grynedig i'w meistres; "does arna i ddim eisio eu gweld na chlywed am danynt byth yn rhagor. Dest fel yr oeddwn i yn disgwyl—ei werthu, a'i ladd, ar yr hen blanfeydd yna!"

Trodd Cloe draw, ac yr oedd ar gychwyn allan yn drist. Aeth Mrs. Shelby ar ei hol, a gafaelodd yn ei llaw; gwnaeth iddi eistedd ar y gadair, ac eisteddodd yn ei hymyl.

"Druan oeddit ti, Cloe anwyl," ebe hi.

Rhoddodd hithau bwys ei phen ar ysgwydd ei meistres, a dywedodd, mewn llais wylofus, "O missis, fedra i ddim help, mae nghalon i wedi tori—dyna'r cwbl!"

"Mi wn i ei bod," ebe Mrs. Shelby, a'i dagrau yn rhedeg yn hidl; "ac ni fedraf fi ddim ei hiachau, ond fe fedr yr Iesu. Mae Ef yn iachau rhai ysig o galon, ac yn rhwymo eu doluriau."

Bu distawrwydd am enyd, ac wylasant oll gyda'u gilydd. O'r diwedd, eisteddodd George yn ymyl yn wylofus, a chymerodd ei llaw, ac adroddodd hanes angau buddugoliaethus ei phriod, a'i genadwri olaf o gariad.

Un bore, yn mhen tua mis, galwyd ar yr holl gaethion ar ystât Shelby i'r neuadd fawr, i glywed gair gan eu meistr ifanc.

Er syndod iddynt oll, daeth atynt â bwndel o bapyrau yn ei law, yn cynwys ryddhad i bob un ar ei helw, a darllenodd i bob un ei bapyr, yn nghanol ei bonllefau a'u dagrau.

Ond daeth llawer ato, gan ddeisyf arno gymeryd y papyrau yn ol, a pheidio eu gyru hwynt ymaith.

"Dim eisio bod dim rhyddach nag ydan ni. Gawson ni bob peth oedd arnon ni eisio bob amser. Dim eisio gadael yr hen le, a mas'r, a missis, a'r cwbl.

"Fy hen ffrindiau anwyl," ebe George, mor gynted ag y gallai gael distawrwydd, "nid oes dim achos i un o honoch ymadael â mi. Mae eisio cymaint o ddwylaw ar y lle ag oedd o'r blaen! ac y mae angen am yr un nifer o gwmpas y tŷ ag oedd o'r blaen. Ond yr ydych yn awr yn wŷr ac yn wragedd rhyddion. Mi dal af gyflog i chwi am eich gwaith, fel y gallwn gytuno. Dyma'r fantais;—pe bawn i'n rhedeg i ddyled, neu yn marw—pethau a allant ddigwydd—ni fedr neb yn awr eich cymeryd a'ch gwerthu. Yr wyf yn bwriadu trin yr ystât, a dysgu i chwi yr hyn a gymer gryn amser, efallai—pa ffordd i wneud y defnydd goreu o'r breintiau sydd genych fel gwŷr a gwragedd rhyddion. Yr wyf yn disgwyl y byddwch yn dda, ac yn ewyllysgar i ddysgu; ac yr wyf yn hyderu ar Dduw y byddaf finau yn ffyddlon ac yn barod i'ch dysgu. Ac yn awr, fy nghyfeillion, edrychwch i fyny, a diolchwch i Dduw am fendithion rhyddid."

Yna cyfododd hen negro patriarchaidd, yr hwn oedd wedi penwynu a cholli ei olwg ar yr ystât, a dyrchafodd ei law grynedig, gan ddywedyd, "Gadewch i ni ddiolch i'r Arglwydd!" Penliniodd pawb o unfryd calon, ac nid aeth

*Te Deum*, "Ti Ddnw a folwn" erioed yn fwy gwresog at orsedd Jehovah, er ei gludo gan organ, cloch, neu gannon, nag y dyrchafodd o'r hen galonau gonest hyn.

Wrth godi dechreuodd un arall ganu hymn Fethodistaidd, byrdon yr hon oedd—

"Blwyddyn y Jubili a ddaeth
A rhyddid cu i'r enaid caeth."

"Un peth yn rhagor," ebe George, pan ddistawodd bonllefau y dorf, "mae pob un o honoch yn cofio ein hen gyfaill anwyl, F'ewyrth Twm."

Yma adroddodd George hanes ei farwolaeth, a'i ffarweliad serchlon at bob un yn y fan a'r lle, a dywedodd fel hyn—

"Fy ngyhfeillion, ar fedd F'ewyrth Twm yr addunedais ger bron Duw, na fyddwn yn berchen caethwas mwyach os byddai bosibl ei ryddhau; na chai neb, drwof fi, fod byth mewn perygl o gael ei dynu o'i gartref ac oddiwrth ei deulu, a marw ar blanhigfa anghysbell, fel y gwnaeth ef. Felly pan ymlawenhewch yn eich rhyddid, cofiwch eich bod yn ddyledus am dano i'r hen greadur diniwed, ac ad-dalwch iddo mewn caredigrwydd at ei wraig a'i blant. Meddyliwch am eich rhyddid bob tro y gwelwch Caban F'ewyrth Twm; a bydded yn nod coffadwriaeth i chwi oll i ddilyn ei gamrau ef, a bod yn Gristionogion gonest a ffyddlon fel yntau."

## PENNOD XLV.

### CRYNHOAD.

Gofynwyd i'r awdures lawer gwaith, gan ohebwyr o wahanol barthau y wlad, a ydyw'r hanes yma yn wirionedd, ac i'r ymofyniadau hyn hi a rydd un ateb cyffredinol.

Ffeithiau gwirioneddol ydyw y prif ddigwyddiadau, wedi cymeryd lle, naill ai dan lygad yr ysgrifenydd, neu ynte o fewn cylch ei chydnabod; ac y mae llawer o'r dywediadau air yn ngair fel y clywodd hwynt.

Mae darluniad personol Eliza a'i chymeriad yn ddarluniad hollol wirioneddol o ferch adnabyddus, a gwelodd yr ysgrifenydd fwy nag un yn meddu gonestrwydd a ffyddlondeb F'ewyrth Twm. Mae ffoedigaeth dynes dros y rhew ar yr Ohio yn ddigon hyspys; a bu dynes fel yr hen "Brue" yn New Orleans, pan yr oedd brawd yr ysgrifenydd yno. Yr un ydyw ei hawdurdod am nodweddiad Legree,—dangosodd dyn iddo gorn caled ar ei ddwrn, wedi codi wrth "guro niggars."

Mae tystion byw drwy ein tir, fod llawer un wedi dyfod i'r un diwedd a Thwm; a chan na dderbynir tystiolaeth dyn du mewn unrhyw lys, gall dyn creulon wneud y peth a fyno. Ac y mae pethau anhygoel yn aml yn dyfod i glustiau y cyhoedd. Ond dywedir mai anaml iawn y maent yn digwydd. Eto, pe dywedid fod yn bosibl i feistr yn New England guro ei brentis i farwolaeth, heb un ffordd i'w gospi am hyny, a dderbynid hyny mor dawel, a'i tybed? A ddywedid, yn ddifater, mai anaml y mae y fath beth yn digwydd?

Mae'r fasnach warthus a digywilydd mewn merched hardd o bryd a gwedd wedi ei dynoethi yn nghymeriad y llong a elwid "Pearl." Dywed yr anrhydeddus Horace Mann, fod ar fwrdd y llestr hono nifer o ferched ieuainc, a fwriedid i farchnad New Orleans. Elizabeth Russel oedd un o honynt. Syrthiodd i grafangau un o'r masnachwyr mewn caethion; a chynygiwyd deunaw can dolar am dani, gan y rhai a deimlent drosti. Ond ni werthai'r masnachwr mo honi fodd yn y byd. Ar y ffordd i New Orleans, cymerodd Duw drugaredd arni, ac anfonodd angau i'w gollwng yn rhydd. Yr oedd yno hefyd ddwy chwaer o'r enw Edmundson; aeth eu chwaer hynaf i grefu er mwyn Duw am i'r adyn eu gollwng yn rhydd. Chwarddodd hwnw am ei phen, a dywedodd y caent fyd braf, a dillad costfawr. "Ië," meddai hithau, "mae hyny'n burion yn y byd yma, ond beth am y byd nesaf!" Cymerwyd y ddwy i New Orleans; ond prynwyd hwynt gan eu ffrindiau, am symiau anferth o arian. Onid yw'n ddigon amlwg, gan hyny, fod llaweroedd a'u tynged fel yr eiddo Cassy ac Emmeline?

Mae cyfiawnder, hefyd, yn galw arnom roddi chware teg i'r fath bobl haelfrydig a St. Clare. Dengys yr hanesyn canlynol fod y cyfryw i'w cael:—Ychydig flynyddau yn ol, yr oedd gwr boneddig yn Cincinnati, a chanddo was a fuasai gydag ef er yn blentyn. Cymerodd y bachgen y cyfleusdra i ffoi, ac arosodd dan nawdd un o'r Crynwyr. Yr oedd ei feistr yn eiddigeddus dros ben. Buasai bob amser yn garedig wrth ei was, a meddyliodd mai ei hudo gafodd. Ymwelodd â'r Crynwr yn lled nwydwyllt, ond ar ol gwrando ar y gwr, arafodd lawer iawn, a chyfaddefodd fod yr olwg yn un newydd iddo. Yna dywedodd, os oedd ei was yn dewis bod yn rhydd yn hytrach nag aros gydag ef, y rhoddai ei ryddid iddo. Dygwyd Nathan o flaen ei feistr yn ddioed, a gofynwyd iddo a gawsai unrhyw gam.

"Naddo, mas'r," ebe Nathan, "buoch yn garedig iawn bob amser."

"Wel, p'am y mae arnat eisiau fy ngadael, ynte?"

"Mas'r marw, pwy cai fi wedi'n? Well gen i fod yn rhydd."

Ar ol ychydig o siarad, dywedodd ei feistr, "Nathan, mi fuaswn i yn ddigon tebyg o deimlo fel tithau yn yr un amgylchiad. Yr wyt ti yn rhydd."

Ysgrifenodd iddo bapurau rhyddhad ar un-

waith, ac ymddiriedodd swm o arian i ofal y Crynwr i'w gynorthwyo i gychwyn yn deg yn y byd.

Bu'r awdures am flynyddau heb ddarllen dim yn nghylch caethwasanaeth, o herwydd fod y pwnc yn rhy boenus iddi feddwl am dano; ond pan wnawd y gyfraith yn 1850, ac y clywyd Cristionogion, o ran proffes, yn dweyd mai dyledswydd pob dinesydd oedd gyru yn ol y sawl a ddiangasant o gaethiwed, meddyliodd nas gallai y bobl hyn wybod beth ydyw caeth-wasanaeth. Ac ymdrechodd ei ddangos yn deg, yn ei agwedd decaf a hacraf. Efallai iddi lwyddo yn ei agwedd *decaf*; ond pwy all ddweyd dyfnder ei hacrwch!

Atoch chwi y mae ei hapeliad—chwi wŷr a gwragedd haelfrydig y Dehau, y rhai y mae eich nodweddiad yn disgleirio mwy o herwydd y prawf tanbaid yr aeth trwyddo. A ydych chwi ddim wedi teimlo yn nirgeloedd eich calonau, fod drygau a gwaeau caeth-wasanaeth tu hwnt i allu neb eu gosod allan mewn berffeithrwydd? Sut y gall fod yn amgen? A ydyw *dyn* yn greadur ag y mae'n ddiogel gosod yn ei law y rhyddid i wneud fel y myno? Ac onid yw ein caeth-wasanaeth ni yn gwneud hyn? Os oes yn ein mysg, fel y mae'n ddiau fod, deimladau bonedd a dyn-garwch, mae yma hefyd greaduriaid anghenfilaidd, a gâd y gyfraith iddynt hwy yr un awdurdod ag i chwithau. Ai y da a'r anrhydeddus ydyw y nifer amlaf yn rhyw gwr o'r byd?

Mae cyfreithiau America yn galw caeth-fasnach dramor yn for-ladrad. Eto y mae yn ein mysg ni fasnach mor reolaidd mewn caethion ag a fu erioed ar gyffiniau Affrica. A phwy fedr draethu ei chreulondeb?

Nid yw'r ysgrifenydd ddim ond wedi rhoddi cysgod gwan o'r arteithiau sydd y mynyd yma yn rhwygo miloedd o galonau, yn ysgaru miloedd o deuluoedd, ac yn gyru pobl deimladwy a diniwed i anobaith a gwallgofrwydd. Mae digon o dystion o weled mamau yn cael eu gyru i lofruddio eu plant gan y fasnach felldigedig hon, yn gystal a rhuthro i angau eu hunain, er mwyn cael gwared o boenau mwy arswydus na marwolaeth. Nid oes dafod a fedr draethu, na dychymyg ddirnad, y camwri a wneir dan gysgod cyfreithiau America, ie, dan gysgod croes Crist!

Ac yn awr, chwi wŷr a gwragedd America, ai peth i gellwair âg ef ydyw hwn? Ffarmwyr Massachusetts, New Hampshire, Vermont, a Connecticut, y rhai a ddarllenwch y llyfr hwn wrth oleu'r tân ar hirnos gauaf,—a chwithau longwyr dewrion a chalonog Maine, ai peth teilwng o'ch cefnogaeth ydyw hwn? Chwi feibion gwrolwych New York, chwi ffarmwyr Ohio galon-lawen, a chwithau o dalaethau'r gwastadedd gorllewinol, ai peth i'w esgusodi ydyw'r erchyllwaith yma? Chwithau famau America, y rhai a ddysgasoch deimlo dros bob creadur o ddyn wrth siglo'r cryd i'ch plant eich hunain,—yr wyf yn eich tynghedu yn enw'r cariad sydd ynoch at eich maban anwyl, yn enw'r hoffder o'i dyfiad i faintioli, yn enw eich gofal dros ei addysgiad, ac yn enw'r gweddiau a ddyrchafant o'ch calon dros ei les tragwyddol,—yr wyf yn eich tynghedu, meddaf, i deimlo dros y fam sydd yn meddu yr un serch a chwithau, ac heb un hawl gyfreithlon i amddiffyn, na dysgu na chyfarwyddo plentyn ei mynwes! Yn enw awr claf-wely eich plentyn, yn enw'r golygon hyny y'mwlch angau na fedrwch byth eu hanghofio, yn enw'r uchenaid olaf a drywanodd eich calon, pan na fedrech estyn dim cymhorth, yn enw'r cryd bach a'r fagwrfa ddistaw, yr wyf yn erfyn arnoch dosturio wrth y mamau hyny a ddiblentir bob dydd gan gaethfasnach America! A dywedwch, chwi famau yn America, ai peth i'w amddiffyn, a'i gefnogi neu fyned heibio iddo yn ddistaw ydyw hyn?

A ydych yn dweyd nad oes gan bobl y talaethau rhyddion ddim i'w wneud âg ef? O na byddai hyny'n wir. Ond nid ydyw yn wir! Mae pobl y talaethau rhyddion yn ei amddiffyn, yn ei gefnogi, ac yn rhanog o hono; ac y maent yn fwy euog na'r Deheu ger bron Duw, am nad oes ganddynt yr esgus o ddygiad i fyny ac arferiad.

Pe buasai mamau yn y talaethau rhyddion yn teimlo fel y dylasent amser gynt, ni buasai eu meibion yn gaeth-feistriaid, ac yn ddihareb o galedrwydd calon; ni buasent yn cau eu llygaid ar ledaeniad caeth-fasnach; ac ni buasent yn marchnata, fel ag y maent, mewn cyrph ac eneidiau dynion.

Mae gan wŷr a gwragedd a Christionogion y Gogledd ragor i wneud na beio eu brodyr yn y Deheu; mae ganddynt waith i edrych ar y drwg yn eu mysg eu hunain.

Ond beth a all un dyn wneud? Y dyn ei hun all farnu hyny. Gall pob dyn *deimlo yn iawn.* Mae awyr o deimlad yn amgylchu pob dyn; ac y mae pob dyn a dynes sy'n teimlo yn iawn ar amgylchiadau pwysfawr dynoliaeth, yn llesâu dynoliaeth bob amser. A ydyw eich teimladau yn unol â chariad Crist, neu ynte yn unol â chyfleusderau a manteision daearol?

Chwi Gristionogion y Gogledd, gallwch wneud rhagor na hyn—gallwch *weddio.* A oes genych ffydd mewn gweddi? neu a ydyw wedi troi yn hen draddodiad apostolaidd genych? Yr ydych yn gweddio dros y paganiaid mewn gwledydd tramor, gweddiwch dros y paganiaid sydd gartref. A gweddiwch dros y Cristionogion tlodion sydd yn ymddibynu ar siawns eu gwerthiad, pa un a fedrant fyw fel Cristionogion neu ynte farw yn ferthyron.

Eto. Mae gweddillion o deuluoedd yn cyr-

haedd ein gororau, wedi dianc yn wyrthiol o ddyfnderoedd tywyll caethiwed, yn anwybodus, ac yn aml yn anfoesol,—maent yn dyfod atoch am noddfa, addysg, gwybodaeth, a'r Efengyl.

Chwi Gristionogion, pa faint yw eich dyled i'r trueiniaid tlodion hyn? Onid oes arnom oll ddyled i'r Affrican am y camwri a gafodd ar law America? A gauwn ni ddrysau ein heglwysi a'n hysgoldai yn eu herbyn? Ai cyfodi â'u hysgwyd ymaith a wna y gwahanol dalaethau? Ai sefyll yn ddistaw a wna Eglwys Crist, heb ganfod y dwylaw erfyniol a ddyrchefir ati, a gadael iddynt gael eu hymlid o'n gororau? Os felly fydd, bydd yn olygfa alarus. Os felly fydd, bydd yn bryd i'r wlad arswydo, pan gofio fod cenhedloedd y ddaear yn nwylaw Un trugarog a graslawn.

A ydych yn dweyd, "Nid oes arnom eu heisiau; aent i Affrica."

Mae yn deilwng o sylw, fod rhagluniaeth Duw wedi darparu lle iddynt yn Affrica; ond nid yw hyny yn un rheswm dros i Eglwys Dduw daflu ymaith eu chyfrifoldeb i'r bobl wrthodedig hyn.

Ni byddai llenwi Liberia â phobl anwybodus haner barbaraidd, newydd eu gollwng o lyffetheiriau caethiwed, ddim ond estyn tymhor eu darostyngiad, a gohirio awr eu gollyngdod. Boed i'r Eglwys yn y Gogledd dderbyn y tlodion hyn mewn yspryd Cristionogol, a'u dwyn i fyny yn ein hysgolion; ac yna, ar ol math o baratoad ac aeddfedrwydd meddyliol, anfoner hwynt i wlad fwy cysefin iddynt, lle y gallant osod mewn ymarferiad llesol yr hyn a ddysgasant yn America.

Mae yn y Gogledd rai pobl fuont yn gwneud hyn; ac fel canlyniad, y mae y wlad wedi cael esiamplau o ddynion, a fuant unwaith yn gaethion, yn dyfod yn mlaen yn y byd, yn ynill nodweddiad parchus, ac yn enwogi eu hunain mewn dysgeidiaeth. Dangoswyd talentau nodedig, ac ystyried yr amgylchiadau; a gwelwyd y rhinweddau moesol o onestrwydd, tiriondeb, tynerwch, llwyr-ymroddiad, a hunanymwadiad, yn eu hymdrech i ynill eu brodyr allan o gaethiwed, ag sydd yn syndod i'r byd, pan ystyriom eu dygiad i fyny.

Bu'r ysgrifenydd yn byw ar gyffiniau talaethau caethion am flynyddau, a chafodd gyfleusdra i weled ymddygiad llawer a fuant gynt yn gaethion. Bu rhai yn weinidogion yn ei theulu, ac o ddiffyg ysgolion eraill i'w derbyn, addysgodd hwynt yn fynych mewn ysgol deuluaidd gyda'i phlant ei hun. Mae ganddi hefyd dystiolaeth y cenhadwr o Canada, i brofi'r hyn a welodd ei hun; ac y mae ei chred am yr hyn a fedrid wneud o'r Affricaniaid yn hynod o galonog.

Dymuniad blaenaf y caethwas, pan ynillo ei ryddid, ydyw cael *addysg*. Rhoddant y cwbl a feddant am addysg iddynt hwy a'u plant; ac y maent yn dysgu yn rhwydd iawn hefyd. Profir hyn trwy'r ysgolion a sefydlwyd iddynt yn Cincinnati. Ac y mae fy mhriod, y Proffessor C. E. Stowe yn adnabod nifer o fasnachwyr a ffarmwyr cyfrifol, o bobl dduon, yn Cincinnati a'i hamgylchoedd.

Mae'r ysgrifenydd yn cofio un ddynes ddu, fyddai'n arfer golchi yn nhŷ ei thad. Priododd ei merch gaethwas. Dynes ifanc ddiwyd a chynil ydoedd, a thrwy lafurio'n galed, hi a gasglodd naw can dolar i brynu ei gwr, yr hyn a dalodd ar wahanol amserau i ddwylaw ei feistr. Ond yr oedd yn brin o gan' dolar i orphen y pryniad, pan fu ei gwr farw. Ni chafodd gymaint a cheiniog o'i harian yn ol.

Mae digonedd o dystiolaethau i'w cael o hunan-ymwadiad, amynedd, a gonestrwydd y caethwas, pan ynillo ei ryddid, a hyny dan bob anfantais, yn nghyfreithiau yn gystal ag yn nheimladau y wlad.

Ac os gwnaeth y bobl sathredig hyn gyfryw bethau yn ngwyneb pob anfantais, oni wnaent lawer mwy, pe yr ymddygai Eglwys Crist tuag atynt yn yspryd ei Harglwydd!

Mae hon yn oes pryd y mae dylanwadau grymus mewn gweithrediad, sydd yn siglo ac yn ysgwyd teyrnasoedd a galluoedd y ddaear fel daeargryn arswydus. Ai tybed fod America yn ddiogel? Mae hadau dinystr yn mhob gwlad a fynweso anghyfiawnder a thrais.

O Eglwys Crist! darllen arwyddion yr amserau! Onid yspryd yr Hwn sydd a'i deyrnas eto i ddyfod, a'r Hwn y gwneir ei ewyllys megys yn y nef, felly ar y ddaear hefyd, sydd fel hyn yn symud y byd ar ei sylfeini!

Ond pwy a oddef ddydd ei ddyfodiad? "Canys wele'r dydd yn dyfod yn llosgi megys ffwrn; ac Efe a nesa yn dyst cyflym yn erbyn camatalwyr cyflog y cyflogedig, a'r rhai sy'n gorthrymu y weddw, a'r amddifad, a'r *dyeithr*; ac Efe a ddryllia'r gorthrymydd."

Onid yw y rhai hyn yn eiriau arswydus i genedl yn mynwesu y fath drawsder ofnadwy? Gristionogion, bob tro y gweddïwch, "Deued dy deyrnas," a fedrwch chwi anghofio fod *dydd dialedd* yn nghyswllt â blwyddyn ei waredigion?

Mae eich dydd gras heb ddarfod eto. Mae Gogledd a Dehau wedi bod yn euog ger bron Duw; ac y mae gan *Eglwys Crist* gyfrif sobr i'w roddi. Nid trwy ymuno i amddiffyn creulondeb ac anghyfiawnder, a gwneud eu gilydd yn rhanog mewn pechod, y mae diogelu parhad yr Undeb—ond trwy edifeirwch, trwy dymheru cyfiawnder â thrugaredd; o herwydd nid mwy digyfnewyd y ddeddf dragwyddol sy'n suddo'r maen melin i ddyfnder y môr, na'r ddeddf gadarnach hono trwy ba un y mae annghyfiawnder a chreulondeb yn dwyn ar drigolion y ddaear ddigofaint yr Arglwydd Dduw Hollalluog!

Y DIWEDD.

